Anrheg i

William Powell

gan ei gyfaill

William Pueruwenydd Thomas

Awst 3. 1918

# PREGETHAU

Y

# PARCHEDIG OWEN THOMAS, D.D.

DAN OLYGIAD

JOSIAH THOMAS, M.A.

LIVERPOOL:

A. WYNNE THOMAS & CO., 67, LORD STREET.

1896.

I

# Goffadwriaeth

OWEN A MARY THOMAS

CYFLWYNIR

Y GYFROL HON O BREGETHAU EU MAB HYNAF.

# RHAGYMADRODD.

---

Nid heb ryw gymmaint o betrusder yr anturir cyhoeddi y gyfrol hon o bregethau,—nid oddiar unrhyw amheuaeth am eu teilyngdod, ond oddiar bryder rhag iddynt beidio cyfarfod â dysgwyliadau y darllenwyr hyny, yn enwedig, na chawsant gyfleusdra i glywed eu hawdwr yn pregethu. Pan y mae pregethwr wedi cyrhaedd i restr flaenaf pregethwyr ei genedl, ac wedi cadw ei le yn y rhestr hono am hanner can' mlynedd, naturiol ydyw i'r rhai sydd yn teimlo serch tuag ato ac eiddigedd dros ei goffadwriaeth, fod yn bryderus rhag i'w bregethau ysgrifenedig ddarostwng, yn hytrach na dyrchafu, syniad ei gydwladwyr am dano fel pregethwr. Mae pregethau pob gwir bregethwr, pan yn cael eu darllen yn unigedd yr ystafell, neu yn neillduedd a thawelwch y teulu, yn rhwym o fod yn llai eu dylanwad na phan yn cael eu traddodi i dyrfa fawr, mewn teimlad dwys, a chyda llais ac ystum ac yni a holl fanteision presennoldeb personol, ac yn enwedig gyda'r dylanwad rhyfedd a dirgeledig sydd yn deillio oddiwrth gyd-deimlad rhwng y gwrandawyr â'u gilydd a rhyngddynt oll â'r pregethwr, pan y mae ef yn un o feistriaid y gynnulleidfa. Dywedwyd cyn hyn, am rai pregethau, eu bod yn well wrth eu darllen na phan y traddodid hwynt; ond nis gall hyny fod yn wir am gynnyrchion un sydd i'w adwaen yn arbenig fel pregethwr. Gall un fod yn feddyliwr dwfn, yn ysgrifenydd medrus, yn fardd athrylithgar, heb fod yn bregethwr; a phan y mae pregethau yn well i'w darllen nag i'w gwrandaw, y mae yn sicr fod eu gwerth yn codi oddiar ryw ragoriaethau amgen na'r hyn sydd yn arbenig yn nodweddu pregeth fel y cyfryw.

Diau y bydd llawer o ddarllenwyr y pregethau hyn yn gallu galw yn fyw i'w cof ddull yr awdwr yn traddodi cenadwri yr Efengyl, ac i'r cyfryw bydd y mwynhad a deimlir wrth eu darllen yn dra thebyg i'r hyn a deimlent pan yn gwrandaw y pregethwr ei hunan. Bydd ereill yn eu darllen dan yr anfantais o fod heb allu sylweddoli i unrhyw radd pa beth yn y traddodiad oedd yn sicrhau sylw pob dosbarth o wrandawyr; ond, er hyny, credaf nas gall darlleniad ystyriol o'r pregethau lai na rhoddi i'r cyfryw bleser ac adeiladaeth.

Ysgrifenwyd y pregethau sydd yn y gyfrol hon ar wahanol adegau dros ystod mwy na deugain mlynedd. Er nad oes ar yr ysgrifau oddiar ba rai yr argraffwyd hwynt unrhyw ddyddiad i benderfynu amser eu cyfansoddiad, mae yn sicr fod rhai o honynt wedi eu hysgrifenu yn ystod arosiad yr awdwr yn Mhwllheli; amryw pan oedd yn Llundain; a'r lleill yn ystod ei weinidogaeth yn Liverpool,—yn gyntaf mewn cysylltiad â Netherfield Road, ac wedi hyny â Prince's Road. Priodol crybwyll mai ychydig iawn o'i bregethau a ysgrifenwyd gan fy mrawd. Nid oes yn mysg ei bapyrau un linell ysgrifenedig o rai o'r pregethau a draddodwyd ganddo ar achlysuron cyhoeddus iawn, a chydag arddeliad neillduol. Y mae yn sicr fod bron yr oll o'r rhai sydd yn y gyfrol hon wedi eu hysgrifenu ar ol iddynt gael eu pregethu amryw weithiau. Yn nechreu ei weinidogaeth ysgrifenai lawer mwy nag a draddodid ganddo, er y daeth yn fuan i bregethu yn fynych heb ysgrifenu bron ddim. Pan yn Mhwllheli (1843—1846) arferai bregethu ar noson waith unwaith bob wythnos. Yn ychwanegol at ystyriaethau ereill, yr oedd y ffaith fod y Parch. Michael Roberts yn un o'i wrandawyr cyson yn peri iddo deimlo dan rwymau i barotoi, gyda gofal neillduol, ar gyfer y gwasanaeth wythnosol hwn. Pan y symudodd i'r Drefnewydd, (Mawrth, 1846—Rhagfyr 31ain, 1851) lle y pregethai tua thri Sabboth o bob mis yn Saesneg, mae yn amlwg ei fod ar y cyntaf yn ysgrifenu ei bregethau

Saesneg yn dra chyflawn, ac y mae cryn nifer o honynt i'w cael yn mysg ei bapyrau, er nad ydynt mewn sefyllfa y buasai ef yn foddlawn iddynt gael eu cyhoeddi. Yn Llundain (1851—1865) arferai yn y blynyddoedd cyntaf bregethu, yn un o leiaf o'r capeli, ar noson waith bob wythnos, ac yn gyffredin cymmerai destyn y bwriadai bregethu arno y Sabboth dilynol, er y byddai y bregeth erbyn y Sabboth yn fynych wedi cymmeryd ffurf wahanol iawn i'r un oedd iddi ar y cyntaf. Os ceid fod y bregeth, wrth ei thraddodi yn nghapeli y cylch, yn rhoddi arwyddion o fywyd a nerth, dyrchefid hi i wasanaeth mwy cyhoeddus, a thraddodid hi yn ystod ymweliadau â Chymru mewn Cymdeithasfaoedd a chyfarfodydd pregethu. Ar gyfer defnydd felly o honi, weithiau ysgrifenid y rhagymadrodd yn lled ofalus, a'r sylwadau ar y pen cyntaf. Mae yn mysg y papyrau lawer o bregethau yn y sefyllfa anorphenol hon. Mae yn wybyddus fod fy mrawd yn nodedig am gryfder ei gof, ac eto byddai yn hynod o annghofus o rai pethau. Pan y byddai arno eisiau adgyfodi pregeth, oedd wedi cael ei throi heibio am adeg, byddai ar y cyntaf yn hollol annghofus pa beth a ddywedasai ar y testyn, ac er mwyn ei dwyn i'w gof, dechreuai ysgrifenu y bregeth, ac, wrth ei hysgrifenu, deuai i'w gof yn gwbl fel yr arferai ei thraddodi. Gwnai hyn, fwy nag unwaith, yn hollol anymwybodol ei fod wedi ei hysgrifenu yn flaenorol. Dyma yr unig esboniad ar y ffaith fod mwy nag un adysgrif o'r un bregeth i'w cael gyda'r fath debygrwydd rhyngddynt fel nad oedd dim i roddi cyfrif am dano, ond ei adgof o'r hyn a draddodasid neu a ysgrifenasid ganddo o'r blaen, a chyda'r fath wahaniaeth ag sydd yn dangos nas gallasai fod yn ysgrifenu oddiwrth gopi blaenorol. Yr oedd yn dra di-drefn gyda'i nodiadau. Gwyddai yn hawdd pa le i gael llyfr yn mysg rhai miloedd o lyfrau yn ei lyfrgell, ond ni wyddai pa le i gael ei nodiadau ysgrifenedig, ac y mae yn amlwg na wyddai yn fynych fod rhai yn bod o gwbl. Ceisiwyd ganddo

lawer gwaith ymroddi i ysgrifenu ei bregethau, a byddai yn penderfynu gwneyd felly. Prynai lyfr i'r pwrpas, ac ysgrifenai bregeth neu ddwy ynddo; ac yn mhen misoedd neu flynyddoedd, drachefn, prynai un arall, ac ysgrifenai hanner pregeth ynddo, ac felly un arall ac arall, nes bod hanner dwsin o lyfrau, heb fod yr ugeinfed ran o'r dalenau wedi eu defnyddio.

Barnwyd mai dyddorol fyddai gan lawer o dderbynwyr y gyfrol gael yr engreifftiau a roddir yn yr Attodiad o gynlluniau o bregethau. Cymmerwyd y rhai hyn bron ar antur o blith ugeiniau o rai sydd i'w cael, wedi eu hysgrifenu ar ddarnau o bapyrau a ddygwyddent fod wrth law yn fwyaf cyfleus ar y pryd. Gwelir fod un o'r rhai hyn yn cynnwys nodiadau,—yr unig nodiadau sydd i'w cael yn ysgrifen yr awdwr ei hunan,—o'i Bregeth Angladdol i'r Parch. John Jones, Talysarn, yn Nghymanfa Caernarfon. Ceir yn eu plith hefyd yr unig nodiadau sydd i'w cael o bregeth ar Luc x. 10, 11. Tueddir fi i roddi yma adgofion o eiddo y Parch. Griffith Ellis, M.A., Bootle, am y bregeth hon. Credaf mai wedi i Mr. Ellis grybwyll wrth fy mrawd ei adgofion am dani y ceisiodd, beth amser cyn ei farwolaeth, alw y bregeth i'w gof, ac yr ysgrifenodd y nodiadau a welir ar tudalen 465.

Fel y canlyn yr ysgrifena Mr. Ellis:—

"Yn Mehefin, 1862 (y 19eg a'r 20fed), y cynhelid y cyfarfod yn Nolgellau yr ymofynwch am dano. Y pregethwyr oeddynt y Parchedigion Henry Rees, Dr. Owen Thomas, a Dr. Saunders. Pregethodd Dr. Thomas y diwrnod olaf dair gwaith. Yr oedd ei bregeth yn y boreu yn hynod. Nid oedd ei bregeth yn y prydnawn lawn mor afaelgar, er ei fod yn pregethu yn egniol iawn. Teimlai Mr. Saunders yn y prydnawn yn rhy wael yn mron i bregethu o gwbl. Ond oedfa yr hwyr oedd, yn ddiau, yr oedfa nodedig. Nid yw ond y gwirionedd syml, na cynnyrchodd yr un bregeth a wrandewais erioed y fath effaith arnaf fi a phregeth Dr. Thomas y noson hono. Ac yr oedd dychryn y farn wedi dal yr holl gynnulleidfa. Pregethai Mr. Rees gyda difrifwch mawr ar ei ol; ond ni chafodd ddim tebyg i'r un afael ar y gynnulleidfa ag a gafodd Dr. Thomas. Yr oedd wyth neu ddeg o honom ni, o Aberllefenni, yn cychwyn adref gyda'n gilydd ar ol yr oedfa. Ac yr oeddym oll yn rhai wedi teimlo yn ddwys oddiwrth y diwygiad yn 1859-60. Llanwesid ni yn yr oedfa gan ryw ddifrifwch oedd yn

ofnadwy. Cychwynasom gyda'n gilydd oddiar y "Stryt Fawr;" ond wedi cyrhaedd i'r "Fron Serth," ychydig allan o'r dref, ymwahanasom oddiwrth ein gilydd, ac aethom adref bob un wrtho ei hun. Nid oeddym yn gallu dweyd gair y naill wrth y llall tra y buom gyda'n gilydd. Ac yn fuan cerddodd rhai yn gyflymach, a rhai yn arafach; a cherddasom adref—saith milltir o ffordd—fel y dywedais, bob un wrtho ei hun."

Yr ydwyf wedi rhoddi y manylion blaenorol am gyfansoddiad y pregethau o herwydd yr ymofynion lliosog a wnaed er pan hysbyswyd am y bwriad o gyhoeddi y gyfrol.

Deallaf, yn awr, nad fel Cynghor mewn cysylltiad â'r Cyfarfod Ordeinio yn Nghymdeithasfa Dowlais, yn Awst, 1881, y traddodwyd Pregeth XV. Traddodwyd hi yn nghapel Libanus, yn y prydnawn, yr un diwrnod a'r ordeiniad. Testyn y Cynghor yn Hermon, y boreu, oedd 2 Cor. v. 11; yr un testyn ag i'r Cynghor yn Llanfaircaereinion (Pregeth XIX.) Credaf mai Pregeth XV. oedd wedi ei bwriadu ganddo fel Cynghor, ond iddo, o herwydd ryw resymau ar y pryd, ddewis y testyn arall.

Cyhoeddwyd tair o'r pregethau o'r blaen, sef Rhif XII., XXII., a XXIV., a chawsant y fantais o arolygiaeth yr awdwr ei hunan cyn eu dwyn allan o'r wasg.

Diolchaf o'r galon i'r lliaws cyfeillion sydd wedi dangos y fath barodrwydd i gefnogi cyhoeddiad y gyfrol hon. Teimlaf yn lled hyderus na chânt eu siomi yn ei chynnwys. Dymunai amryw gyfeillion gael rhyw bregethau neillduol, ac, hyd y gellid, cydsyniwyd â'u cais, ond yr oedd y defnyddiau yn rhy brin i allu rhoddi rhai o'r pregethau mor gyflawn ag a fuasai yn cyfiawnhau eu cyhoeddiad. Nid oedd genyf ond gwneyd y goreu a allwn dan yr amgylchiadau.

Fy nymuniad diffuant ydyw ar i fendith gyffelyb ddilyn darlleniad y pregethau hyn ag a brofwyd yn fynych gan liaws mawr pan yn eu gwrandaw.

JOSIAH THOMAS.

28, BRECKFIELD ROAD SOUTH,
LIVERPOOL,
*Mai 8fed, 1896.*

# CYNNWYSIAD.

# PREGETH I.

## CADWEDIGAETH YN NHREFN YR EFENGYL YN HAWDD.

RHUF. x. 6—9.

"*Eithr y mae y cyfiawnder sydd o ffydd yn dywedyd fel hyn; Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? (hynny yw, dwyn Crist i waered oddi uchod:) neu, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder? (hynny yw, dwyn Crist drachefn i fynu oddi wrth y meirw). Eithr pa beth y mae efe yn ei ddywedyd? Mae y gair yn agos attat, yn dy enau, ac yn dy galon: hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu; mai os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi.*"

Y mae yr esgusodion a wneir gan ddynion yn erbyn ymroddi o ddifrif i grefydd, yn lliosog ac yn amrywiol, ac weithiau yn gwbl groes i'w gilydd. Yn fynych fe edrychir ganddynt ar grefydd yn beth mor fychan a hawdd, fel nad oes eisiau ond ychydig neu ddim trafferth gyda hi, ac y gallant yn gwbl ddiberygl ei hesgeuluso mewn bywyd ac iechyd a nerth, a'i gadael hyd nes y byddant yn annghymwys i bob peth arall, ac y cânt eu hunain yn ymyl byd tragywyddol. Heb un syniad am ysbrydolrwydd a manylrwydd ac eangder y gyfraith ddwyfol, ac heb un ddirnadaeth o'r drwg sydd mewn pechod, y maent yn coleddu rhyw wâg hyder yn nhrugaredd a gras Duw, ac felly o ddydd i ddydd yn oedi troi ato am faddeuant, gan addaw iddynt eu hunain y bydd hyny yn hollol hawdd iddynt yn eu dyddiau neu eu horiau diweddaf.

Y mae ereill, drachefn, yn ymesgusodi am reswm, neu oddiar dybiaeth, hollol wahanol. Edrychir ganddynt hwy ar grefydd yn beth mor fawr ac uchel ac anhawdd, fel na byddai un gobaith iddynt byth lwyddo

i'w chyrhaedd, ac felly mai cwbl ofer fyddai pob ymdrech gyda hi. Dichon, pan y mae dyn yn dechreu dyfod i ychydig bryder yn nghylch ei achos tragywyddol, mai dyna yr eithaf y mae yn fwyaf tueddol iddo. Y mae yn gweled ei bechodau mor aml ac mor fawr, ac yn teimlo fod ei euogrwydd mor drwm, fel mai ei berygl ydyw syrthio i anobaith hollol, dywedyd fel Cain, "Mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu"; ac felly rhoddi heibio bob ymdrech am gadwedigaeth. Y mae ystyr, yn sicr, yn mha un y mae iachawdwriaeth yn beth mawr ac anhawdd iawn, ïe, o ran y dyn ei hunan, yn gwbl anmhosibl byth. "A phan glybu ei ddisgyblion ef hyn, synu a wnaethant yn ddirfawr, gan ddywedyd, Pwy gan hyny a all fod yn gadwedig? A'r Iesu a edrychodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, gyda dynion anmhosibl yw hyn." Ond, o'r tu arall, "Gyda Duw pob peth sydd bosibl": ac o'i anfeidrol ras, yn haeddiant yr Arglwydd Iesu, y mae wedi darpar trefn i hyny, a hono sydd yn cael ei gosod allan yn yr Efengyl; ac er arddangosiad helaethach o'r graslonrwydd dwyfol, a chyfarfod yn llwyrach deimlad y pechadur pryderus yn nghylch achos ei enaid, y mae iachawdwriaeth, yn yr Efengyl, yn cael ei gosod allan nid yn unig fel peth posibl, ond fel peth hawdd; nid yn unig fel peth cyrhaeddadwy, ond fel peth agos. A dyna, mi dybygwn, y gwirionedd gwerthfawr a ddygir ger ein bron yn y testyn hwn: "Eithr y mae y cyfiawnder sydd o ffydd yn dywedyd fel hyn; Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef; neu, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder? Eithr pa beth y mae efe yn ei ddywedyd? Mae y gair yn agos attat, yn dy enau, ac yn dy galon: hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu; mai os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi."

Mae y geiriau yn cael eu dyfynu gan yr Apostol allan o Deut. xxx. 11—14. Yn y defnydd gwreiddiol o honynt gan Moses yno, y maent yn cael eu dwyn i mewn i osod allan eglurder y datguddiad a roddasai yr Arglwydd trwyddo ef o'i feddwl ac o'i ewyllys gyda golwg ar eu dyledswyddau tuag ato ef a thuag at eu gilydd yn y gyfraith a roddasid iddynt; nad oedd eisiau iddynt esgyn i'r nefoedd er cael gwybod yr hyn oedd iddynt i'w wneuthur, na theithio i'r tu hwnt i'r môr, i blith cenhedloedd pellenig, er dysgu ganddynt hwy yr hyn oedd orphwysedig arnynt; fod ffordd einioes a ffordd angeu wedi eu gosod ganddo ef yn amlwg o'u blaen,—fod y gair yn agos iawn atynt, "yn eu genau ac yn eu calon, i'w wneuthur ef." Yn awr, y mae yr Apostol yma yn cymhwyso yr hyn a ddywedir gan Moses yn nghylch y ddeddf, at ddatguddiad yr Efengyl am drefn cyfiawnhad pechaduriaid ger bron Duw, trwy ffydd yn Nghrist Iesu. Eithr nid yw yr esbonwyr goreu yn gallu cytuno â'u gilydd yn nghylch y modd y mae yn eu cymhwyso. Y mae amryw yn tybied fod yr Apostol yn deall y geiriau yn Deuteronomium fel wedi eu bwriadu yn wreiddiol yn cyfeirio at drefn rasol Duw am faddeuant a bywyd i bechaduriaid, ac felly ei fod ef yma yn eu cymmeryd yn yr ystyr briodol iddynt gan Moses, er cadarnhau yr hyn a ddysgid ganddo ei hunan am y drefn hono. Ac yn sicr y mae rhywbeth i'w ddywedyd yn mhlaid y golygiad yna. Yr oedd i'r ddeddf a roddwyd gan yr Arglwydd trwy Moses ddwy wedd, neu ddwy ran,—y foesol a'r seremoniol,—y gorchymyn a'r addewid. Yr oedd ynddi ddatguddiad aneglur o ffordd bywyd i bechaduriaid trwy faddeuant,—maddeuant trwy yr aberth mawr, ag yr oedd y poeth-offrymau a'r aberthau dan y gyfraith wedi eu bwriadu i'w gysgodi a'i rag-ddangos. Fe ellir dadleu, gan hyny, mai yn y

golygiad yna ar y ddeddf y llefarasid y geiriau gan Moses, ac felly y gallasai Paul, heb wneuthur dim cam â'u hystyr, eu defnyddio fel prawf ysgrythyrol o'r hyn y dadleuai yma drosto. Eithr y mae ystyr gyntaf a naturiol, a chysylltiad amlwg y geiriau, fel y cawn hwynt yn Deuteronomium; y dull neillduol a arferir gan yr Apostol yma i ddwyn y geiriau i mewn, mor wahanol i'r dulliau cyffredin a arfera yn rhagarweiniol i'r dyfyniadau a wneir ganddo o'r Hen Destament; yr amrywiadau a'r cyfnewidiadau a wneir ganddo ar ffurf a chynnwysiad y geiriau ragor y modd y cawn hwynt yn y testyn gwreiddiol, ac nghyfieithiad y Deg-a-Thriugain; a'r sylwadau o'i eiddo ei hunan a ychwanega atynt ac eto a ddodir i mewn ganddo ynddynt fel ag i beri iddynt ymddangos megis rhan wreiddiol o honynt; y mae hyn oll, dybygid, yn penderfynu mai gwneyd defnydd rhydd y mae yr Apostol o'r geiriau, gan edrych arnynt fel rhai cyfaddas i osod allan mor hawdd ydyw cadwedigaeth pechaduriaid yn nhrefn yr Efengyl, mewn gwrth-gyferbyniad i anmhosibilrwydd hollol cadwedigaeth trwy y ddeddf.

Ac at y mater yna y dymunwn yn awr gael eich sylw oddiwrth y geiriau:—

*Cadwedigaeth pechaduriaid, yn nhrefn yr Efengyl, yn beth hawdd.* Nid yn unig yn bosibl, ond *yn hawdd*; *yn agos*; *yn ymyl.*

Ac y mae yn cael ei dwyn felly ger ein bron yn y testyn mewn dau neu dri o bethau:

I. Y mae pob peth wedi ei wneuthur eisoes gan Iesu Grist, ag oedd angenrheidiol fel *sail* cadwedigaeth i'r pechaduriaid gwaethaf: "Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? Pwy a ddisgyn i'r dyfnder?" &c.

II. Y mae y datguddiad o'r drefn hon yn yr Efengyl mor eglur fel ag i fod yn nghyrhaedd y *deall gwanaf*: "Mae y gair yn agos attat, yn dy enau, ac yn dy galon."

III. Y mae cadwedigaeth yn nhrefn yr Efengyl ar yr ammodau isaf a hawddaf: "Os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi." Y mae iachawdwriaeth yn beth hawdd!

I. Y mae pob peth ag oedd yn angenrheidiol fel *sail* cadwedigaeth wedi ei wneuthur eisoes gan Iesu Grist.

Ni a allwn dybied am gadwedigaeth mewn un o ddwy ffordd; naill ai trwy y ddeddf, ai trwy ffydd; naill ai o weithredoedd, neu o ras. Y llwybr naturiol, yn ddiammeu, i ddyn am ei fywyd yw trwy ddeddf, trwy gydymffurfiad â deddf ei natur. Dyna fel y mae gyda chreadigaeth Duw i gyd. Y mae pob creadur ynddi yn ddedwydd yn ei gydymffurfiad â'i ddeddf, ac nis gall fod felly heb hyny. Dyna, y mae yn dra sicr, y modd y mae yr angylion, y rhai a gadwasant eu dechreuad, yn awr yn y nefoedd, yn gymmeradwy ger bron Duw, ac yn mwynhau dedwyddwch digymmysg. Dyna, yn ddiammeu, y tir yr oedd dyn arno yn ei greadigaeth, a thra y parhäodd yn ei berffeithrwydd. A phe buasai yn parhau yn ei gydymffurfiad â'r ddeddf, fe fuasai yn parhau yn ddedwydd. At y llwybr yna am fywyd y cyfeiria yr Apostol yn yr adnod o flaen y testyn: "Canys y mae Moses yn ysgrifenu am y cyfiawnder sydd o'r ddeddf," neu yn ol y darlleniad goreu, "y cyfiawnder sydd o ddeddf, mai y dyn a wnel y pethau hyny, a fydd byw trwyddynt." Nid ysgrifenu fel yna yr oedd Moses, ac nid oedd Paul yn adrodd yr hyn a ysgrifenasid ganddo er mwyn cymhell dynion i geisio dechreu ymaflyd mewn "gwneuthur y pethau," a dysgwyl bywyd felly; ond er

gosod i lawr, i amcan neillduol yr Efengyl, egwyddor fawr y llywodraeth ddwyfol i sicrhau bywyd i'w deiliaid, yn ol deddf y llywodraeth hono. Nid oes dim cyfiawnder o ddeddf,—dim cyfiawnder yn ngwyneb deddf,—dim cyfiawnder trwy ddeddf,—ond trwy gydymffurfiad perffaith â hi, trwy ufudd-dod hollol iddi: "Gwna hyn, a byw fyddi."

Eithr fe welir ar unwaith y rhaid, tuag at ddyfod i fyny â'r ddeddf ar y tir hwn, i'r ufudd-dod fod yn berffaith. Oblegyd pa beth y mae hi yn ofyn? "Ar garu o honot yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl nerth; a'th gymmydog fel ti dy hun." Y mae yn gofyn felly ufudd-dod hollol, nid rhanol; ufudd-dod cyson, gwastadol, parhaus, nid achlysurol neu ysbeidiol. Yr holl ddyn yn cydymffurfio â'r holl ddeddf, am yr oll o'i fodolaeth; o lewyrchiad cyntaf rheswm yn ei ysbryd, yn ddiball a difwlch, i dragywyddoldeb diddiwedd. "Canys pwy bynnag a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwngc, y mae efe yn euog o'r cwbl." Dyna un ffordd y gellwch dybied am dani i gael cyfiawnhad ger bron Duw, a dianc byth gan eich Barnwr. Eithr y mae yn eglur nad oes un gobaith ar y tir yna am gadwedigaeth neb o ddynolryw, oblegyd yr ydym ni oll wedi troseddu y gyfraith. "Yr Arglwydd a edrychodd i lawr o'r nefoedd ar feibion dynion, i weled a oedd neb deallgar yn ymgeisio â Duw. Ciliodd pawb; cyd-ymddifwynasant: nid oes a wnêl ddaioni, nac oes un." "Nid oes neb cyfiawn, nac oes un." "Pawb a bechasant, ac ydynt yn ôl am ogoniant Duw." Ac fel y cyfryw, ar dir noeth deddf, y mae cadwedigaeth yn hollol anmhosibl iddynt. Nid oes ganddi hi ddim i'w ddyweyd wrth y troseddwr ond "Melldigedig;" "Gan farw y byddi farw." "Am hyny, trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef." Nid

oes ond anobaith hollol ar dir deddf am gadwedigaeth neb.

Eithr pan y mae wedi darfod am danom yn hollol ac am byth yn ngwyneb deddf noeth, y mae yr Efengyl yn datguddio trefn ag addasrwydd perffaith ynddi i amgylchiad pechadur. "Crist yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder i bob un sydd yn credu." Y mae Iesu Grist trwy ei ufudd-dod perffaith i'r gyfraith yn ei fywyd, a'r boddlonrwydd hollol a thragywyddol a roddodd i feddwl yr Anfeidrol dros bechaduriaid yn ei angeu, wedi myned yn "diwedd i'r ddeddf er cyfiawnder i bob un sydd yn credu," neu a chymmeryd y geiriau yn hollol lythyrenol, "Crist yw diwedd deddf." Trwy ei ufudd-dod perffaith a'i Iawn mawr, y mae wedi gosod terfyn am byth i holl ofyniad deddf yn erbyn pob un sydd yn credu. Ac nid yn unig hyny, ond y mae wedi myned yn ddiwedd i allu y ddeddf i'w gondemnio, ac wedi ei droi yn allu i gyfiawnhau, i faddeu, i gadw, pob un sydd yn credu. Y mae Crist wedi ateb yn berffaith i bob gofyn oedd yn erbyn y pechadur, fel y mae cyfiawnder perffaith, cyfiawnder digonol, ynddo ef "i bob un a'r sydd yn credu."

Ac nid yn unig y mae cyfiawnder yn awr yn bosibl i bechadur, ond y mae yn hawdd iddo. Dyna yn wir y mae y cyfiawnder sydd o ffydd—y cynllun am fywyd tragywyddol trwy gredu,—yn ddyweyd wrth y pechadur pryderus, sydd yn ymdeimlo â'i euogrwydd ac â'i aflendid, â'i wendid ac â'i drueni, a braidd a myned yn anobeithiol fod yn bosibl byth ei gadw ef: "Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef?" "Pwy gâf fi i fyned i'r nef yn fy achos, ac i ddadleu yn fy mhlaid i yno ger bron gorsedd Duw? Yno, yr wyf yn gwybod, y mae fy achos i i gael ei benderfynu, ac fel y bydd yn troi arnaf yno y bydd arnaf byth. Yr ydwyf yn gwybod fod yno

eisoes gyfiawnder—hen gyfiawnder—yn fy erbyn, fel troseddwr euog, ac yr wyf yn gwybod fy mod, o'm rhan fy hunan, yn haeddu marw, a marw byth. Pwy a gâf fi a digon o ras ynddo, a digon o haeddiant ganddo, i fyned i'r nefoedd ar fy rhan, ac i gyfarfod y cyfiawnder sydd yno yn fy erbyn â boddlonrwydd llawn?" "Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef?" Paid a dywedyd peth fel yna—paid a dywedyd peth fel yna yn dy galon,—paid a meddwl am beth fel yna yn nirgel ddyn dy enaid; "hyny yw, dwyn Crist i waered oddi uchod." Y mae gofyn y fath gwestiwn yr un peth a gwadu ei fod ef eisoes wedi esgyn yno; neu, os aeth, nad aeth â digon gydag ef yn mhlaid pechadur, a bod eisiau, gan hyny, iddo ddisgyn i lawr eto i wneyd yr holl waith drachefn. Y mae efe wedi esgyn i'r nef, ac wedi myned yno trwy ei waed ei hun; y mae wedi myned yno â haeddiant anfeidrol ganddo; ac y mae yn ymddangos yno yn awr ger bron Duw drosom ni. Ond wrth i ti siarad fel yna, yr wyt cystal a gwadu ei fod wedi myned â digon gydag ef yn dy blaid di, ac felly fod eisiau iddo ddisgyn eto; cymmeryd ei eni mewn tlodi eto; rhodio y ddaear heb le i roddi ei ben i lawr eto; marw rhwng lladron eto; gwneyd drachefn yr hyn a wnaed ganddo eisoes: "dwyn Crist i waered oddi uchod." "Neu, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder?" "Pwy a ymgymmer â'm hachos, ac a ä o dan fy euogrwydd? Pwy a ddwg arno ei hunan fy nghospedigaeth? Yr wyf yn teimlo mai hyny wyf fi yn haeddu, ac nid oes genyf, o'm rhan fy hunan, obaith am ddim arall. Y mae y ddeddf yn gwaeddi, 'Melldigedig yw pob un nad ydyw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn ei llyfr, i'w gwneuthur hwynt.' Nid ydwyf finau wedi aros yn yr un o'r pethau, ac felly nid oes genyf ddim i'w ddysgwyl ond y felldith. Ac O! pa fodd y gallaf ei dioddef?

Pa beth a ddaw o honof? 'Pwy a ddisgyn i'r dyfnder' i gyfarfod y gofynion sydd yn fy erbyn, ac i ddwyn ymwared i mi? Nis gallaf fi wneyd fy hunan, ac nid oes genyf obaith am neb arall i wneyd droswyf." Aros, aros. "Na ddywed yn dy galon, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder? hynny yw, dwyn Crist drachefn i fynu oddiwrth y meirw." Ystyr cwestiwn fel yna ydyw, nad yw Iesu Grist wedi disgyn yno eisoes, a bod y gwaith oedd ganddo i'w wneuthur yno eto heb ei gyflawni, neu ynte na wnaed mo hono yn iawn. Fe ddisgynodd ef i'r dyfnder. Beth oedd ing Gethsemane? Beth oedd ystyr y llefain cryf a'r dagrau? Beth oedd y chwys fel defnynau gwaed? Yn mha le yr ydoedd pan yn llefain, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" Yn mha le ond yn y dyfnder; yn y pwll isaf; yn y tywyllwch; y digofaint dwyfol yn pwyso arno; y tonau a'r llifeiriant yn ei orchuddio; yno yn cyfarfod y gofynion oeddent yn erbyn pechaduriaid,—yn dioddef cospedigaeth ein heddwch ni,—yn cael ei wneuthur yn felldith drosom ni. A digon o brawf ei fod wedi gorphen yn llwyr yr hyn oedd ganddo mewn golwg wrth ddisgyn yno ydyw, ei fod wedi dyfod i fyny oddiyno. Dacw rwymau marwolaeth yn cael eu datod; dacw lwybr y bywyd yn ymagor o'i flaen, ac yntau, ar ol disgyn, yn esgyn eilwaith i'r nefoedd, ac yn cael ei ddyrchafu i eistedd "ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwch-leoedd"—"ar ddeheulaw gorsedd-faingc Duw."

Yn awr, wrth ofyn y fath gwestiwn a "Pwy a ddisgyn i'r dyfnder?" yr wyt ti cystal a dywedyd fod hyn oll heb ei wneyd; a bod eisiau iddo ddioddef eto; marw eto; cyfarfod holl ofynion cyfiawnder eto; myned dan y felldith eto; aberthu ei hunan drachefn drosom ni; "ei ddwyn ef drachefn i fynu oddiwrth y meirw." Ond y mae y gwaith eisoes wedi ei orphen, ac nid oes eisiau ei

wneuthur mwy. Yn wir, yr wyf yn credu, pe byddai eisiau, na byddai yn ormod ganddo ef ei wneyd eto: myned i Bethlehem eto; i'r tlodi eto; i'r ing a'r groes eto: ond nid oes eisiau: y mae digon byth ar lyfrau y nef dros bechadur. Y mae efe "wedi offrwm un aberth dros bechodau yn dragywydd," yn eistedd yn awr ar ddeheulaw Duw; ac y mae y derbyniad a gafodd efe yn y nefoedd yn sicrhau derbyniad i'r rhai oll a gredant ynddo. Y mae efe wedi myned yno yn rhag-flaenor drosom ni; nid fel person unigol; nid drosto ei hun, ond drosom ni; yn ein cynnrychioli ni; gyda'n hachos ni; ac yn wystl o'n mynediad ninau hefyd yno, ond i ni ymddiried ein hachos i'w ofal ef.

Beth yw y sicrwydd sydd i mi am gadwedigaeth ond i mi gredu yn Iesu Grist, a derbyn y cyfiawnder sydd o ffydd? Pa sicrwydd a fynit ti gael, enaid anwyl? A wna yr un sicrwydd dy foddloni ag sydd genyt am gadwedigaeth Iesu Grist ei hunan? Beth yw y sicrwydd sydd genyt ei fod ef wedi ei ddwyn i fyny oddiwrth y meirw, ac wedi esgyn i'r nefoedd, a'i fod yno yn awr ar ddeheulaw Duw? Beth yw y sicrwydd sydd genyt ei fod ef wedi boddloni y nefoedd, ac wedi cyflawni yr ammodau trymion yr aethai tanynt fel Meichnïydd ei bobl? Nid ydwyt yn ammeu hyny am dano ef. Yn awr, y mae yr un sicrwydd yn gwbl am gadwedigaeth pwy bynnag a gredo ynddo, ag sydd am ei gadwedigaeth ef ei hunan: "Eich bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw."

Y mae yn sicr genyf y gwelsit ti dy gadw yn beth hawdd iawn, pe buasit ti dy hunan wedi gwneyd yr hyn a wnaeth Iesu Grist. Tybia hyny am funud; dy fod wedi talu y ddyled dy hunan; anrhydeddu y gyfraith dy hunan; dioddef y felldith dy hunan; wedi gwneuthur *dy hunan* y cwbl a wnaeth efe. A fuasit ti yn ofni wedi hyny? O na; mi dybiwn na fuasai arnat fwy o ofn y

farn nag ofn dy wraig, pe wedi gwneyd dy hunan yr hyn a wnaeth Iesu Grist. Yn awr, gwrando, bechadur pryderus, y mae hyn oll wedi ei wneyd gan Iesu Grist; a'i wneyd nid drosto ei hunan, ond drosom ni; ac ond credu ynddo, ti ddeui ar unwaith i'r un fan yn ngolwg yr Anfeidrol a phe buasit ti wedi gwneyd y cwbl dy hunan: "Yn gyfiawnder Duw ynddo ef." "Os edrychwch arnaf yn fy mhregethu," meddai Christmas Evans wrth farw, "nid wyf yn well na darn o golledigaeth; ond edrychwch arnaf yn Nghrist, yr wyf yn nefoedd ac yn gadwedigaeth." Y mae cadwedigaeth, yn nhrefn yr Efengyl, yn beth hawdd: y mae pob peth angenrheidiol fel sail cadwedigaeth wedi ei wneyd eisoes gan Iesu Grist.

II. Y mae y datguddiad o'r drefn hon yn yr Efengyl mor eglur fel ag i fod yn nghyrhaedd y deall gwanaf: "Mae y gair yn agos attat, yn dy enau, ac yn dy galon."

Dyna, y mae yn ddiammeu, yr ystyr arbenig ac uniongyrchol oedd i eiriau Moses a ddefnyddir yma gan yr Apostol: "Y gorchymyn yma, yr ydwyf yn ei orchymyn i ti heddyw, nid yw guddiedig oddi wrthyt, ac nid yw bell. Nid yn y nefoedd y mae; . . . . . ac nid o'r tu hwnt i'r môr y mae; . . . . . y gair sydd agos iawn attat, yn dy enau, ac yn dy galon," ac y mae y Deg-a-Thriugain yn ychwanegu, "ac yn dy ddwylaw," "i'w wneuthur ef." Ond os oedd Moses yn gallu dywedyd fel yna am y datguddiad a roddasid trwyddo ef, pa faint mwy y gellir dywedyd felly am y datguddiad a roddir i ni yn yr Efengyl? Un o nodweddau amlycaf yr Efengyl ydyw yr eglurder a berthyn iddi. Nid cyfundrefn ddofn ddyrys ydyw, yn gofyn astudiaeth ddyfal am amser maith, er galluogi un i'w deall, fel ag i gael dim budd oddiwrthi, fel rhai o'r gwyddorion a'r

celfau cyffredin. Y mae yn wir fod iachawdwriaeth yn beth mor annhraethol bwysig fel y buasai yn ras mawr yn yr Anfeidrol pe buasai yn gyrhaeddadwy i ni er treulio blynyddoedd i geisio deall pa fodd i'w chael. Ond nid oes angenrheidrwydd yn yr Efengyl am hyny. Y mae yn wir fod ynddi hi wirioneddau â'r fath ddyfnderoedd rhyfeddodau yn perthyn iddynt, fel nas gall yr un deall meidrol dreiddio trwyddynt byth,—"dyfnion bethau Duw." "Ar yr hyn bethau y mae yr angylion yn chwennychu edrych." Ac y mae yn sicr mai un o brif elfenau gwynfyd y saint yn y nefoedd am dragywyddoldeb fydd yr amlygiadau newyddion a gânt yn barhaus yno o ystyr a gwerth a gogoniant y gwirioneddau mawrion a ddatguddir i ni yn yr Efengyl; y rhai hyny yn ymagor yn ddiddiwedd ger bron eu dirnadaeth, gyda'r fath eglurder a grym, fel ag i'w llanw â syndod sanctaidd byth. Ond am yr Efengyl fel datguddiad o drefn cadw, ac o'r cwbl sydd angenrheidiol tuag at hyny, y mae yn syml, eglur, hawdd ei ddeall, yn ymyl yr amgyffred gwanaf. "Mae y gair yn agos attat, yn dy enau, ac yn dy galon." Mae gradd o amrywiaeth golygiadau yn nghylch y modd yr amcanai yr Apostol i ni ddeall y geiriau hyn. Y mae Dr. Brown yn tybied fod math o goll-ymadrodd ynddynt, ac mai yr ystyr ydyw, "Mae y gair yn agos attat" i'w gymmeryd genyt "yn dy enau," ac i'w dderbyn genyt "yn dy galon." Ond y golygiad mwyaf cyffredin ydyw, fod y rhan olaf yn gyfystyr â'r rhan gyntaf, ac wedi ei bwriadu i'w hegluro: "Mae y gair yn agos attat," mor agos a bod ar dy dafod, "yn dy enau"; ac mor agos a bod yn dy gof ac yn dy ddeall,—"yn dy galon." Yn ol y naill olygiad a'r llall y mae y datguddiad o drefn cadw yn yr Efengyl yn hollol eglur. Nid traethawd maith dysgedig, dwfn ydyw, ond gair byr, amlwg. Nid

ymresymiad manwl, cywrain, cadwynog, ond gosodiad eglur syml. Nid casgliad i'w dynu oddiwrth nifer o ffeithiau, ond adroddiad hanesyddol o'r ffeithiau eu hunain, ac o'r ystyr athrawiaethol sydd iddynt. Ac y mae y cyhoeddiad hwn yn cael ei wneyd yn yr iaith symlaf, fel os oes rhyw un heb ei ddeall y mae yn rhaid fod y bai arno ef ei hunan: "Os cuddiedig yw ein hefengyl ni, yn y rhai colledig y mae yn guddiedig: yn y rhai y dallodd Duw y byd hwn feddyliau y rhai digred, fel na thywynai iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist, yr hwn yw delw Duw." Fe ellir dywedyd yn arbenig am yr Efengyl fel ag y dywedodd yr Arglwydd wrth y prophwyd Habaccuc gyda golwg ar y genadwri a ymddiriedasid iddo ef: "Ysgrifena y weledigaeth, a gwna hi yn eglur ar lechau, fel y rhedo yr hwn a'i darlleno." Nid y meddwl ydyw, "Fel y byddo i'r hwn a ddarlleno redeg"; y byddo i'r cynnwysiad effeithio cymmaint arno ag i beri iddo ar unwaith gymmeryd ei draed. Nage: ond mewn llythyrenau breision, mawrion, fel ag y gallo ddarllen tra yn rhedeg; darllen a rhedeg ar unwaith. Y mae yna gyfeiriad, y mae yn debyg, at y myneg-bost ar y ffordd i'r ddinas noddfa yn Israel gynt. Dyna y llofrudd druan yn dianc am ei fywyd rhag dialydd y gwaed. Y mae wedi dychymygu fwy nag unwaith fod y dialydd heb fod yn mhell oddiwrtho, ei fod wedi clywed swn ei draed, ac y mae yn arswydo yn ddirfawr rhag cael ei oddiweddyd ganddo. Ond pan yn arswydo felly dyna efe yn dyfod i ryw le y mae y ffordd yn rhanu, ac y mae yntau, yn ddieithr i'r ffordd, yn petruso pa un i'w chymmeryd. Ond dyna y myneg-bost; ac y mae yn ysgrifenedig neu gerfiedig arno NODDFA; NODDFA; ac y mae y cyfeiriad mewn llythyrenau mor fawrion ac amlwg fel nad rhaid iddo aros nac arafu dim yn ei rediad er gallu darllen yn

eglur pa un yw y ffordd iddo gymmeryd. Chwi a fuoch yn fynych yn y gerbydres, yn teithio mor gyflym fel yr oeddech yn methu gwneyd allan enw yr orsaf yr aethoch heibio iddi, er fod yr enw yn argraffedig arni â llythyrenau mawrion iawn. Yr ydych yn myned yn gyflymach tua thragywyddoldeb ; y mae y cerbyd yn eich cludo gyda'r fath fuandra fel nad ydych yn cael aros dim ; ond y mae y cyfarwyddyd am fywyd yn yr Efengyl mor eglur, fel y gellwch ei ddarllen yn hawdd er y cyflymdra i gyd.

Yn wir, y mae yn anmhosibl i chwi fethu yma ; nid oes neb yn methu. Y mae lliaws yn esgeuluso ymdrechu, neu yn rhoddi heibio ar ol dechreu ; ond nid oes neb yn methu,—nid oes modd methu. "Yna y bydd prif-ffordd a ffordd ; a ffordd sanctaidd y gelwir hi : yr halogedig nid ä ar hyd-ddi ; canys hi a fydd i'r rhai hynny : a rodio y ffordd, pe byddent ynfydion, ni chyfeiliornant." "Mae y gair yn agos attat." Pa mor wan bynnag yw dy ddeall ; pa mor fechan bynnag yw dy wybodaeth ; pa mor brin bynnag yw dy fanteision ; pa mor gyfyng bynnag yw dy amgylchiadau. Y mae yr Efengyl yn abl i wneuthur y gwirion yn ddoeth i iachawdwriaeth.

III. Y mae cadwedigaeth yn nhrefn yr Efengyl ar yr ammodau isaf a hawddaf : "Os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi."

Dyma y drefn wedi ei gorphen—yn barod,—a phob addasrwydd ynddi i gyfarfod amgylchiad y pechadur. Y mae y datguddiad o'r drefn hono, yn yr Efengyl, yn eglur a diammwys, yn yr iaith symlaf a hawddaf ei deall. Ond pa fodd y gallaf fi ddyfod i feddiant o honi ? Beth sydd raid i mi ei wneuthur, fel y byddwyf gadwedig drwyddi ? A ydyw yn nghyrhaedd fy amgylchiadau ?

A ydyw yn peidio a bod ar ryw ammodau nas gallaf fi obeithio byth dyfod i fyny â hwynt? Y mae yn digwydd yn fynych fod yr hyn sydd berffaith gyfaddas i anghenion dyn, yn gwbl annghyfaddas i'w amgylchiadau. Y mae y feddyginiaeth yn sicr,—yn anffaeledig, ond nis gall y tlawd, afiach yna byth obeithio am dani. Er fod y feddyginiaeth yn bod, ac fe allai yn agos ato, a'i fod yn gwybod am ereill wedi eu gwella drwyddi, eto y mae allan o'i gyrhaedd ef, y mae uwchlaw ei amgylchiadau. Ond y mae cadwedigaeth, yn nhrefn yr Efengyl, yn hawdd yn y golygiad yna eto,—y mae ar yr ammodau isaf ag y gallasai fod: "Os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi." Y mae y cyffesu â'r genau yn cael ei nodi yn gyntaf, er cyfateb i'r geiriau blaenorol, —"mae y gair yn agos attat, yn dy enau, ac yn dy galon." Y mae y cyffesu i fod yn ffrwyth y credu, a'r credu yn gyfryw ag a fyddo yn cynnyrchu cyffesu. Y mae credu fod Duw wedi cyfodi Crist o feirw, yn cael ei nodi fel y gwirionedd mawr ar yr hwn y mae yr holl Efengyl yn gorphwys, fel y mae credu hyn yn cynnwys credu yr holl Efengyl. Mor isel ydyw yr ammodau,—credu a chyffesu. Y mae yn anmhosibl meddwl am iachawdwriaeth ar delerau rhatach. Y mae yn amlwg na chydweddai âg amcan yr Arglwydd yn yr iachawdwriaeth iddo gymmeryd y pechadur i'r nefoedd yn ei wrthryfel. Nid iachawdwriaeth a fyddai felly. Nid yw yr Arglwydd yn ceisio dim ganddo ond cyfaddef ei bechodau a'u gadael,—y neb a'u haddefo ac a'u gadawo a gaiff drugaredd. "Dywedais, cyffesaf yn fy erbyn fy hun fy anwireddau i'r Arglwydd, a thi a faddeuaist anwiredd fy mhechod." Y mae Duw, o'i anfeidrol ras, wedi trefnu Gwaredwr addas, digonol. Nid yw yn ceisio dim gan y pechadur ond ei gydnabod yn gyfryw, ei

dderbyn yn Waredwr iddo ei hunan, ymddiried ei achos yn hollol i'w law. Nid oes yma ddim pererindodau maith; dim penydiau trymion; nid oes eisiau haeddiant; y mae hwnw yn Iesu Grist; nid oes eisiau esgyn i'r nef na disgyn i'r dyfnder. Mae yr iachawdwriaeth yn barod yn dy ymyl, fel yr ydwyt,—yn dlawd, yn euog, yn aflan, yn noeth, heb feddu dim, heb allu dim, heb haeddu dim. Dyma fywyd tragywyddol yn rhodd; nid oes eisiau ond ei dderbyn. Cytunwch â'r drefn, a chwi gewch eich bywyd. Nid oes modd i iachawdwriaeth fod wedi ei gosod ar lai. Y mae yn ymyl y pechadur yn ei dlodi, yn hawdd iddo yn ei wendid,—"os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi."

---

## PREGETH II.

### Saeth Weddi.

Nehemiah ii. 4, 5.

"*A'r brenhin a ddywedodd wrthyf, Pa beth yr wyt ti yn ei ddymuno? Yna y gweddïais ar Dduw y nefoedd. A mi a ddywedais wrth y brenhin, O rhynga bodd i'r brenhin, ac od yw dy was yn gymmeradwy ger dy fron di, ar i ti fy anfon i Judah, i ddinas beddrod fy nhadau, fel yr adeiladwyf hi.*"

Y Brenhin yma oedd Artaxerxes, brenhin Persia. Y mae yn amlwg, wrth gymharu yr hanes, fod mwy nag un o frenhinoedd y wlad hono o'r enw hwn yn cael cyfeirio atynt yn yr ysgrythyrau. Y mae yma ddau o leiaf. Y cyntaf y sonir am dano oedd yr Artaxerxes y crybwyllir am dano yn y bedwaredd bennod yn llyfr Ezra, yr hwn a rwystrodd i'r Iuddewon fyned rhagddynt gydag adeiladu yr ail deml yn Jerusalem, yn ol y caniatad a roddasid iddynt i hyny gan Cyrus fawr. Gormes-deyrn oedd hwnw; un wedi ennill yr orsedd trwy drais a thwyll, ac un yr oedd ei holl ymddygiadau tra ynddi yn ateb yn hollol i'r moddion a arferasid ganddo i esgyn iddi. Yn mhen tuag wyth mis fe gafwyd allan mai twyllwr ydoedd, ac fe'i diorseddwyd ac fe'i lladdwyd; ac fe ddaeth Darius—Darius Hystaspis—i'r orsedd yn ei le. Ac fe fu hyny yn ymwared mawr i'r holl ymerodraeth, ac nid i neb yn fwy nag i'r Iuddewon.

Yr Artaxerxes arall y cyfeirir ato yw yr un y crybwyllir am dano yn llyfr Ezra, yr hwn a roddes ganiatad i Ezra, ac i'r offeiriaid a'r Lefiaid, ac i bwy bynnag a ewyllysient o bobl Israel fyned gyda hwynt i

Jerusalem gyda phob cynnorthwy a geisid ganddynt tuag at wasanaeth eu Duw o drysordy y brenhin. Yr Artaxerxes hwnw, dybygid, oedd yr un a adnabyddir mewn hanesyddiaeth gyffredin fel Artaxerxes Longimanus, neu Law hir, am fod ei law ddehau yn hwy na'i law aswy. Yr oedd efe yn fab i Xerxes I. Bu yn frenhin Persia am tua deugain mlynedd; o'r flwyddyn 465 cyn Crist, hyd y flwyddyn 425 cyn Crist; a dywedir ei fod yn frenhin doeth a chymmedrol. Efe, dybygid, oedd y brenhin y cyfeirir ato yn y testyn hwn.

Y mae y brenhin yn aros y pryd hwn yn Susan. Tref fawr oedd hon yn Persia. Hwyrach mai yr un un ydoedd ag a elwir yn awr Shus,—pentref bychan, distadl, ond âg olion adeiladau mawrion yn gyfagos iddo, yn ymestyn am tua deuddeng milltir, yn agos i'r lle y dangosir yr hyn a elwir yn fedd y prophwyd Daniel. Yma y byddai brenhinoedd Persia yn arfer trigiannu yn misoedd y gauaf, fel y mae ein brenhines ni yn arfer byw y gauaf yn Windsor. Yr oedd Nehemiah yn aros yno gydag ef, yn was iddo,—yn drulliad, yn ei wasanaethu â gwin a diodydd ereill a arferid ganddo.

Nid oes genym ni ddim o hanes y Nehemiah hwn heblaw ei fod yn fab un Hachalïah, a bod iddo frawd o'r enw Hanani. Fe ellid meddwl wrth y swydd yr oedd ynddi yn llys Persia, ei fod o lwyth Judah, ac o deulu Dafydd, ac felly o'r hâd brenhinol. Pan ydoedd fel hyn yn gwasanaethu y brenhin yno, rywbryd yn mis Cisleu, tua'n Rhagfyr ni, yn yr ugeinfed flwyddyn o deyrnasiad Artaxerxes, fe ddaeth ei frawd Hanani, a gwyr ereill o Judah i Susan. Ac y mae Nehemiah, yn ngwladgarwch ei galon,—gwladgarwr hollol ydoedd,—yn ymofyn â hwynt am ansawdd pethau yn Judea. Ac y mae yn derbyn newyddion trymion iawn, tra thorcalonus:—fod a gweddillion a adewsid yno mewn blinder mawr a

gwaradwydd, mur Jerusalem hefyd wedi ei ddryllio, a'i phyrth wedi eu llosgi â thân. Nid dryllio diweddar oedd hyn, ond yr hen ddryllio er dyddiau Nebuchodonozor, a'r bobl, wedi eu dychweliad o'r caethiwed, bob un yn ymdrafferthu gyda'i amgylchiadau personol, ac yn esgeuluso yr hyn oedd gyffredin iddynt. Y mae y newyddion hyn, pa fodd bynnag, yn effeithio yn ddwys iawn ar feddwl Nehemiah. Y mae yn eistedd i lawr fel un wedi tori ei galon; yn wylo; yn galaru; yn ymprydio; ac yn gweddio yn achos ei genedl a'i wlad. Y mae yn parhau yn y pryder hwn am wythnosau a rhai misoedd,—hyd fis Nisan, tua Mawrth neu ein Hebrill ni. Y pryd hyny, un diwrnod, yr oedd gyda'i orchwyl arferol, yn rhoddi gwin i'r brenhin,—"Ond ni byddwn yn arferol," meddai, "o fod yn drist ger ei fron ef." Yr oedd hyny yn drosedd marwol yn erbyn brenhinoedd Persia, fel ag y mae eto yn erbyn rhai o frenhinoedd y Dwyrain. Yr oedd y gwyr hyny yn eu golygu eu hunain y fath ffynnonau o hapusrwydd i bawb o'u hamgylch, fel y dylasai pawb fod yn hollol siriol yn eu presennoldeb hwy. Pa fodd bynag, yr oedd teimlad Nehemiah dros ei wlad a'i bobl wedi cyfodi, erbyn hyn, i'r fath raddau nes effeithio ar ei wyneb-pryd. Y mae y brenhin yn y fan yn sylwi arno, ac yn gofyn iddo, "Paham y mae dy wyneb-pryd yn drist, a thithau heb fod yn glaf?" Nid oes dim ar dy iechyd, ac eto y mae tristwch ar dy wedd. "Nid yw hyn ond tristwch calon." A ydyw fy ngwasanaeth i yn faich arnat? A oes arnat ti eisiau ymadael â dy le? "Yna yr ofnais yn ddirfawr." Mae y truan yn arswydo trwyddo rhag i feddwl y brenhin yr oedd o'i flaen gymmeryd cyfeiriad a allai ddwyn ei fywyd ef oddiarno. Pa fodd bynnag, y mae yn yn ei feddiannu ei hunan, ac yn ateb y brenhin yn dra phriodol: "Byw fyddo y brenhin yn dragywydd."

Nid dim ynot ti sydd yn peri y tristwch hwn. Nid oes arnaf fi eisiau ymadael â'th wasanaeth, nac eisiau un brenhin arall yn dy le: "Byw fyddo y brenhin yn dragywydd."

Yr un pryd, gan dy fod wedi gofyn i mi,—Nid ydwyf fi yn drist heb achos; a phe byddit tithau yn fy lle, ni ellit tithau lai na bod yn drist:—"Paham na thristai fy wyneb, pan fyddai y ddinas, tŷ beddrod fy nhadau, wedi ei dinystrio, a'i phyrth wedi eu hysu â thân?" Iuddew, fel y gwyddost, ydwyf fi, ac nid oes modd i mi beidio cofio, yn nghanol holl lawnder a chysuron brenhin-llys Persia, am fy mrodyr sy' mewn cyfyngderau a thlodi, ac yn enwedig am yr hen ddinas lle preswyliai fy nhadau, a lle y mae eu hesgyrn yn gorwedd eto, sydd yn adfeiliedig; ei muriau wedi eu dryllio, a'i phyrth wedi eu llosgi, ac felly yn gwbl agored i ymosodiadau y gelynion lliosog sydd yn ei hamgylchynu. Dyna'r paham yr wyf fi yn drist. Nid dim yn dy erbyn di, na'th wasanaeth, na'th lywodraeth. "A'r brenhin a ddywedodd wrthyf, Pa beth yr wyt ti yn ei ddymuno?" Beth a allaf fi wneyd i'th gynnorthwyo? "Pa beth yr wyt ti yn ei ddymuno?" "Yna y gweddïais ar Dduw y nefoedd. A mi a ddywedais wrth y brenhin, O rhynga bodd i'r brenhin, ac od yw dy was yn gymmeradwy ger dy fron di, ar i ti fy anfon i Judah, i ddinas beddrod fy nhadau, fel yr adeiladwyf hi." Gan dy fod wedi rhoddi caniatad i mi i ofyn, dyna y peth a ddymunwn i uwchlaw pob peth. Nid oes arnaf fi eisiau dim lle anrhydeddusach, nid oes arnaf fi eisiau dim i mi fy hunan; y peth a ewyllysiwn i uwchlaw pob peth, fyddai cael caniatad i fyned am ychydig amser o'r llys i Jerusalem i'w hadgyweirio, i gadarnhau ei phyrth, i godi ei muriau, i'w gwneyd yn gref yn erbyn ymosodiadau ei gelynion, ac felly yn ddiogel i'w phreswylwyr. Ac fel yr oedd

daionus law ei Dduw arno, fe ganiatawyd iddo ei ddymuniad. Cafodd lythyrau oddiwrth y brenhin at y swyddogion o'r tu hwnt i'r afon, hyny yw, y tu gorllewinol i'r Euphrates, i erchi iddynt roddi pob cynnorthwy iddo yn ei daith, a digonedd o ddefnyddiau at y gwaith yr oedd ei fryd arno. Mewn gwirionedd, fe lwyddodd yn hollol yn ei amcan.

Ni a welwn yn yr hanes yma, yn gyntaf,—*Nad ydyw gwir grefydd mewn un modd yn milwrio yn erbyn y teimlad gwladgarol cryfaf, ond i'r gwrthwyneb, ei bod yn feithriniad iddo.* Y mae yn wir fod dyn dan ddylanwad crefydd yn cael eangu ei deimladau i'r fath raddau nes y maent yn ymestyn dros yr holl ddaear, yn cofleidio holl ddynolryw, ac yn peri iddo edrych ar holl drigolion y byd fel plant i'r un tad, yn meddiannu yr un natur, yn ddeiliaid yr un llywodraeth, ac i fyw byth yn yr un byd tragywyddol. Dan ddylanwad teimladau felly, y mae perchen crefydd dan angenrheidrwydd i ymdrechu, yn ol ei fanteision, tuag at leshad cyffredinol plant dynion, yn mhob gwlad, ac yn mhlith pob cenedl. Ond nid ydyw yr ymeangiad yna ar y galon, mewn un modd yn effeithio er dinystrio yr hyn sydd yn naturiol i ddyn, ond yn hytrach i'w dyneru a'i goethi. Yn wir y dyn duwiolaf yn y dref sydd yn caru ei wraig fwyaf; y bachgen ufuddaf i'w rieni yn y gymmydogaeth, ydyw y bachgen duwiolaf yn y gymmydogaeth. Fel hyn yr oedd Nehemiah, â'i galon yn ymddryllio wrth glywed am adfyd ei genedl, ac yn llawn awydd am ei lleshad.

2. Dyna beth arall a welwn ni yma,—*Y dylai ein teimladau tuag at ein gwlad a'n cenedl fod yn benaf gyda golwg ar achos crefydd yn eu mysg.* Dyma oedd wrth wraidd y teimlad gwresog hwn yn nghalon Nehemiah. Y mae yn wir ei fod, wrth ymddyddan â'r brenhin, yn appelio at beth oedd gyffredin iddo ef yn gystal ag

yntau, ac y gallasai, er mai pagan ydoedd, gydymdeimlo âg ef ynddo,—"y ddinas, tŷ beddrod fy nhadau;" ond erbyn darllen y llyfr drwyddo, y mae yn hawdd gweled mai yr hyn a barai yr hoffder mwyaf yn ei feddwl at Jerusalem oedd, mai hi oedd dinas crefydd y genedl. "Tegwch bro, llawenydd yr holl ddaear, yw mynydd Sion, dinas y Brenhin mawr." "Hynod yw Duw yn Judah, mawr yw ei enw ef yn Israel. Ei babell hefyd sydd yn Salem, a'i drigfa yn Sion." Yno, i Nehemiah, y buasai teml ardderchog unwaith, y cysegr sancteiddiolaf a'i ddodrefn, yr arch a'r drugareddfa, a'r gogoniant yn ymddisgleirio rhwng y cerubiaid. Yno y byddai y gwyliau arbenig yn cael eu cynnal, a'r tyrfaoedd o bob cwr i'r wlad yn cyrchu, a sain cân a moliant yn ymddyrchafu nes adsain yr holl fro. Yno eto yr oedd teml—nid mor ogoneddus a'r gyntaf—ond yn gorphwys ar ei hen seiliau, a gwasanaeth y Goruchaf beunydd yn cael ei ddwyn yn mlaen ynddi. Ac yr oedd y meddwl fod y ddinas hono oedd, yn ei chysylltiad â'i Dduw, mor anwyl ganddo, yn y fath wedd isel ac adfeiliedig, yn gwânu ei galon â llawer o ofidiau.

Y mae yr un peth eto yn perthyn i wir grefydd, pa le bynnag y byddo. Os bydd rhyw berygl ar arch Duw, y mae calon y duwiol yn dechreu ofni yn y fan. Y mae yn ymofidio o herwydd dryllio Joseph. "Os annghofiaf di, Jerusalem, annghofied fy neheulaw ganu. Glyned fy nhafod wrth daflod fy ngenau, oni chofiaf di; oni chodaf Jerusalem goruwch fy llawenydd penaf." Peth mwyaf Duw yn y byd ydyw peth mwyaf y duwiol; ac i'r graddau y byddo o dan ddylanwad crefydd ei hunan, y mae yn awyddu am ei llwyddiant dros y byd.

3. Dyna beth arall a welwn ni yma,—*Na ddylai ein teimladau tuag at ein cenedl a'n gwlad ddim bod yn deimladau llonydd, marw, diddylanwad, ond y dylent dori allan*

*mewn ymdrechiadau yn eu plaid, yn ol ein hamgylchiadau a'r manteision fyddo yn ein cyrhaedd.* Felly yr oedd Nehemiah. Yr oedd yn teimlo dros ei genedl a thros dinas beddrod ei dadau. Yr oedd yn wylo, yn galaru, yn ymprydio, yn gweddio; ond y mae yn amlwg fod yn ei fryd ef wneuthur a allai hefyd er gwella eu cyflwr. Y mae yn pryderu, yn meddwl;—"A oes rhywbeth a allaf fi wneyd tuag at gael gwedd arall ar eu hansawdd? Erbyn cofio, nid oes neb o'm cenedl i mewn cystal mantais i wneyd daioni iddynt â mi. Dyma fi yn was i'r brenhin,—y mae ei air yn ddeddf; a gallai, ond ewyllysio, beri y daioni mwyaf iddynt. Dyma fi yn dyfod i gyfarfyddiad âg ef bob dydd,—ac i gyfarfyddiad âg ef ar yr adeg fwyaf manteisiol i gael ffafr ganddo, pan y mae ei galon yn cael ei lloni gan win; pwy sydd yn gwybod nad er mwyn hyn y daethum i'r lle hwn; mi a ymdrechaf âg ef, pa fodd bynnag, mi a âf ato, mi a roddaf achos fy nghenedl ger ei fron." Ac y mae yn dwyn ei benderfyniad mewn gweddi at Dduw: "Llwydda hefyd, attolwg, dy was heddyw, a chaniata iddo gael trugaredd ger bron y gwr hwn." Yr un modd eto y dylai ein teimladau ninau fod. Y mae gwir gariad yn "llafurus gariad." Y mae "gwaith" yn perthyn i wir ffydd. "Ffydd heb weithredoedd, marw yw"; a chariad heb weithredoedd, rhagrith yw.

Ond y mater yr oeddwn i yn amcanu yn benaf galw eich sylw ato oddiwrth y geiriau ydyw,—Y fantais y mae y Duw mawr yn roddi i ni, yn yr amgylchiadau a allont ymddangos yn fwyaf anfanteisiol i gynnal cymundeb âg ef ar orseddfainc y gras.

Yr ydych yn ei weled, onid ydych, yn y geiriau? "A'r brenhin a ddywedodd wrthyf, Pa beth yr wyt ti yn ei ddymuno? Yna y gweddïais ar Dduw y nefoedd. A mi a ddywedais wrth y brenhin." Nid myned ar ei

liniau a wnaeth Nehemiah yn y fan hono, yn ngŵydd y brenhin a'r frenhines; nid ymneillduo a wnaeth i ryw ystafell gyfagos am ddeng munud neu chwarter awr; nid sefyll yn fud ger bron y brenhin ac ymddyddan â Duw. Ond nid cynt y mae y gofyniad o enau y brenhin, nad ydyw yr atebiad o enau Nehemiah; ac eto, rhwng y gofyniad a'r atebiad, y mae wedi bod can belled â'r Drydedd Nef, ac wedi dychwelyd â'i neges oddiwrth Dduw, heb i'r brenhin, na'r frenhines, na diafol na neb ei golli o'r ystafell. "Yna y gweddïais ar Dduw y nefoedd. A mi a ddywedais wrth y brenhin."

Nid oes odid ddim yn cael ei ddwyn yn mlaen yn amlach gan ddynion yn esgus dros beidio ymroddi o ddifrif i grefydd, na'u bod hwy heb ddim amser i hyny. Felly y bydd rhai o honoch chwi yn meddwl, onide? Ac felly y byddwch chwi yn siarad weithiau. "Pa bryd yr ydych chwi yn meddwl am grefydd, fy machgen i, fel pwnc mawr eich bywyd? Y mae yn dda iawn genyf eich gweled yn y capel ar y Sabbath yn lle bod yn y *park*, neu yn y cychod ar yr afon yna; ond chwi a wyddoch yn dda iawn, nad yw dyfod i'r capel yn unig yn ddigon, a bod eisiau rhywbeth mwy arnoch erbyn yr amgylchiadau sydd o'ch blaen; pa bryd yr ydych am ymroddi i grefydd o ddifrif?"

"Yn wir, ni wn i ddim pa fodd i'ch ateb chwi. Yr ydwyf fi yn gwybod fod arnaf ei heisiau, ac yr wyf yn meddwl, ryw bryd, ymroddi o ddifrif iddi. Ond ni welsoch chwi erioed ryw fodd leied o amser ydwyf fi yn awr yn gael i feddwl am ddim o'r fath. Yr ydwyf yn gorfod agor y *shop* cyn wyth bob boreu, ac yno bob nos bron hyd nes y bydd yn hwyr iawn, a phob nos Sadwrn nes y bydd yn agos i ddeuddeg ar y gloch; ac heb ddim hamdden trwy y dydd i feddwl am ddim ond am bethau y byd hwn. Yn y boreu mi a fyddaf ar lawn

gwaith, erbyn deffro i fod yn y *shop* mewn pryd ; yn y nos mi fyddaf wedi blino fel y byddaf bron yn cysgu cyn tynu fy nillad oddi am danaf. Nid oes genyf fi yn awr ddim amser i feddwl am dani. Yr wyf yn gobeithio y câf fi fwy o amser ryw bryd. 'Does bosibl na ddaw hi yn well na hyn; ac wedi hyny mi a'i ceisiaf hi o ddifrif: yr ydwyf fi yn gwybod y rhaid i mi ei chael."

"Pa bryd yr ydych chwi, fy ngeneth i, am ymroddi o ddifrif i'r grefydd yma? Yr ydych yn gwybod mai peth personol ydyw; peth y rhaid i chwi ar eich pen eich hun gael gafael arno, ac nid oes genych ddim amser i'w golli. Y mae einioes yn dra ansicr, a byddai yn beth ofnadwy i chwi gael eich galw o'r byd i dragywyddoldeb yn anmharod. Ai nid ydych yn meddwl bellach am ymgysegru iddi?"

"Yn wir nid wyf heb feddwl llawer am dani; a phob tro y byddaf yn dyfod i'r capel, mi fyddaf yn meddwl mai wrthyf fi y bydd pob gair yn cael ei ddyweyd, ac yn teimlo ofn mawr rhag marw yn annuwiol. Ond ni welsoch chwi erioed mor anhawdd ydyw i mi gael dim amser i feddwl am ddim yn y fan acw. Fe fydd hanner dwsin yn galw arnaf ar unwaith, a phe byddai genyf ugain o draed, fe fyddai genyf ddigon o waith i'r cwbl. Mi a fyddaf i fyny ac i lawr, yn ol ac yn mlaen, a chydâ rhywbeth ac yn rhywle trwy y dydd, heb hamdden i ddim braidd. Fe allai fy meistres yn siwr feddwl am grefydd; gobeithio y deuaf finau yn feistres ryw bryd; ond yn awr, yn sicr, nid oes dim modd i mi gael amser i ddim o'r fath."

Yn awr, fy ngyfeillion, nid wyf yn myned i wadu eich prysurdeb; yr wyf yn teimlo yn fawr drosoch ynddo, ac nid wyf am wadu nad oes, ar ryw gyfrif, lawer iawn o anfantais i grefydd ynddo. Y mae rhai o ordinhadau crefydd yn gofyn lleoedd pennodol,

ac amserau neillduol, ac y mae yn anmhosibl i un nad yw y Sabbath yn eiddo iddo ei hunan, sydd yn cael ei gaethiwo gan ei amgylchiadau fel nad all, ond yn anfynych, ddyfod i'r gwasanaeth cyhoeddus, ymarfer ond yn annghyson iawn âg ordinhadau cynnulleidfaol crefydd, ac y mae dan angenrheidrwydd felly o golli y budd a allasai gael trwy ymarfer â hwy yn fwy rheolaidd. Nid oes dim modd i'r gwr ieuanc fod yn y bregeth os ei dro ef fydd i fod gartref yn gwarchod y tŷ. Y mae yn anmhosibl i'r ferch ieuanc fod wrth Fwrdd yr Arglwydd gydâ'r gynnulleidfa, pan y mae yn gorfod bod gartref yn parotoi lluniaeth i'r teulu y mae yn gwasanaethu ynddo. Ac y mae ei habsennoldeb yn hollol esgusodol, os nad yw hi yn wirfoddol yn dewis lle fel yr hwn y mae ynddo, yn hytrach na lle y ca'i y Sabbath iddi ei hunan. Ond nid yw gwasanaeth cynnulleidfäol ond peth neillduol; nid yw yn cymmeryd i fyny ond ychydig oriau o bob wythnos; y mae yn benaf yn cael ei gynnal ar y Sabbath, tra y mae crefydd yn gofyn ein holl amser, i'w harfer gyda phob peth ac yn mhob man, ac y mae pob peth a wnelom i'w wneyd dan ei dylanwad. Yn awr, y mae y testyn, dybygwn i, yn ein harwain yn naturiol at osodiad crefyddol, y gallwn ymarfer âg ef yn nghanol y goruchwylion mwyaf trafferthus, ac yn yr amgylchiadau a allant ymddangos i ni, ac sydd hefyd ynddynt eu hunain, yn fwyaf anffafriol i grefydd. SAETH-WEDDI y mae yr hen dduwinyddion yn arfer ei alw: gweddi y *shop*; gweddi y *warehouse*; gweddi yr *office*; gweddi y farchnad; gweddi goruchwylion cyffredin bywyd: gweddi y gyfeillach gyffredin: "Yna y gweddïais ar Dduw y nefoedd. A mi a ddywedais wrth y brenhin." Ac at rai ystyriaethau a allant fod yn foddion i'ch cymhell at yr ymarferiad hwn yr oeddwn i am geisio eich arwain heddyw.

I. Y mae un cymhelliad i'r ymarferiad hwn yn codi yn naturiol oddiwrth *hanfod a natur gweddi ei hunan.*

Yr ydych oll, mi a obeithiaf, yn ceisio gweddio. Yr ydych chwi sydd mor drafferthus, wedi y cwbl, onid ydych, yn ceisio gweddio rhyw ychydig bob dydd? Yr ydych wedi bod yn gweddio heddyw; yr ydych yn meddwl myned at yr un gorchwyl heno eto. Ni wnaiff yr un o honoch ymollwng i'r hyn sydd mor debyg i angeu â chwsg, heb geisio eich rhoddi eich hunain i ofal ac amddiffyn rhyw un cadarnach na chwi eich hunain,— y Ceidwad na huna ac na chwsg. Yn awr, Pa beth ydyw gweddio? Yr ydych yn gwybod i gyd mai nid rhoddi y gliniau ar lawr a myned dros ryw rês o eiriau ger bron Duw ydyw gweddio. Y mae hyny yn angenrheidiol mewn gweddi gyhoeddus, gynnulleidfäol, lle y byddo un yn enau gyda Duw dros ereill. Ni buasai yn weddus o gwbl yn ol ein ffurf ni, i ni ddechreu y cyfarfod hwn heb arfer geiriau i wneyd ein deisyfiadau yn hysbys ger bron Duw; am fod y weddi wedi ei bwriadu nid i un ond i'r gynnulleidfa. Ac y mae yn gweddu i'r rhai sydd yn cael eu galw i gyflawni y gwasanaeth hwn yn gyhoeddus, fod yn wir ofalus am i'r geiriau fod yn briodol, yr iaith yn weddus, gan gofio eu bod yn ymwneyd â Duw o burdeb anfeidrol. Ac nid oes dim niwed o gwbl i chwi ddefnyddio geiriau yn eich gweddiau personol, yn ddigon uchel ag i fod yn glywadwy i chwi eich hunain, os cewch chwi hyny yn rhyw fantais i gymundeb ysbryd â Duw. Yr oedd Mr. Robert Hall yn arfer hyny, ac yn tystio ei fod ef, trwy hyny, yn cael cymhorth i gadw ei feddwl yn fwy sefydlog yn y gwasanaeth iddo ei hunan rhyngddo â Duw. Ond, wedi y cwbl, nid dyna ydyw gweddio, onide ni byddai yn bosibl i'r mudan yna weddio byth. Nid ydyw geiriau ar y goreu ond y wisg;

rhyw beth arall ydyw y corph. Nid yw y geiriau ond y corph; rhywbeth arall ydyw yr ysbryd sydd yn rhoddi bywyd ynddo.

Yn awr beth ydyw hwnw? Beth ydyw y peth hwnw sydd yn gwneyd y geiriau yna yn weddi? Beth ydyw hwnw, pan y gwel y Duw mawr bechadur ar y ddaear yn ei feddiannu, y mae yn dywedyd am dano, "Wele y mae efe yn gweddio"? Beth ydyw? Beth hefyd, ond nesâd enaid at Dduw. Tywalltiad y galon ger ei fron ef. Y creadur bychan, eiddil, euog, tlawd, yn myned heibio i bawb, nes cael ei hunan o ran ei feddwl yn mhresennoldeb un mor fawr, nes y mae yn plygu ger ei fron; un mor sanctaidd, nes y mae yn ffieiddio ei hunan yn ei ŵydd; ac eto un mor raslawn, nes y mae yn ceisio ymddiried ynddo, a gofyn ganddo am ei fywyd, er teimlo ei fod, o'i ran ei hunan, yn haeddu marw byth. Dyna ydyw gweddio: dau feddwl wedi dyfod i gyfarfyddiad â'u gilydd; meddwl y creadur a meddwl y Creawdwr; meddwl y pechadur a meddwl y Barnwr, wedi dyfod i gydgyfarfyddiad â'u gilydd yn y Cyfryngwr mawr. Dyna ydyw gweddio,—angen yn dyweyd ei hanes o flaen y Cyflawnder mawr; eisiau yn ymagor o flaen yr Anchwiliadwy Olud; y pechadur euog, tlawd heb ddim wedi cael ei hunan am unwaith mewn cyfarfyddiad â'r Holl-gyfoethog, ac yn gwneyd ei oreu o'r fantais. Fel y dywedodd un ferch led ffraeth yn Llundain mewn cyfarfod eglwysig: yr oedd y blaenor yn gofyn iddi, "A fyddwch chwi yn gweddio, Jane Evans?" "O byddaf" ebe hithau, "byddaf yn gweddio." "A fyddwch chwi yn gweddio bob dydd?" ebe yntau. "Byddaf, byddaf," ebe hithau, "yn trwblan tipyn arno bob dydd." "A fyddwch chwi yn gweddio yn daer?" meddai yntau. "Byddaf fi," meddai hithau, "yn ceisio meddwl pa beth y byddaf yn ei gylch." "A fuoch

chwi," ebe yntau, yn dra annghall, "a fuoch chwi yn gweddio am awr o amser erioed?" "Sana'i yn siwr," ebe hithau, "sana'i yn gwybod; chwaith nid wrth y *clock* y byddaf fi yn gweddio, ond wrth fy angen."

Yn awr os dyna ydyw gweddio, fe eill y meddwl fod gyda'r gorchwyl pan y byddo y dwylaw gyda phethau ereill,—yn mesur y brethyn, yn pwyso y *siwgr*, yn dal yr aradr, yn bwrw yr hâd i'r ddaear, yn llyfnu y tir,—pan y byddo y dyn o ran ei gorph gydag unrhyw orchwyl arall. Wele Nehemiah ar ganol ymddyddan â'r brenhin, yn ddiarwybod hollol iddo ef yn ymddyddan â Duw: "Yna y gweddïais ar Dduw y nefoedd. A mi a ddywedais wrth y brenhin."

II. Chwi a gewch gymhelliad cryf iawn eto i hyn, *yn nghyfaddasrwydd y gosodiad, i gyflymder gweithrediadau y meddwl dynol.* Gorchwyl y *meddwl* ydyw gweddio. Yn awr, y mae y meddwl hwnw wedi ei gynnysgaeddu â rhyw fywiogrwydd ag sydd yn rhoddi mantais ddirfawr iddo i gymdeithasu â Duw yn nghanol y trafferthion mwyaf. Y mae bywiogrwydd y meddwl yn rhywbeth annghydmarol, a thu hwnt i unrhyw ddirnadaeth a all dyn ffurfio am dano. Yr ydych oll yn ymwybodol o hyn. Y mae eich meddyliau, er pan y daethom yma heddyw, wedi bod yn ymwibio, onid ydynt, yn nghyrau y byd? Nid ydych wedi aros yn y capel gyda'r canu, y darllen, y gweddio, a'r bregeth hyd yma. O! na: yr ydych wedi bod yma a thraw, yn mhellderoedd byd, o bosibl. Y mae rhai o honoch wedi bod yn ymdroi yn Australia; wedi croesi y Pacific oddiyno i California; wedi cylchynu y Cape Horn, a chroesi yr Atlantic oddiyno yma; myned i Gymru i ymweled â'ch perthynasau yno; heb i neb o honom ni wybod eich colli o'r cyfarfod. Yn wir, y mae llaw dyn

wedi cyrhaedd rhyw fedrusrwydd rhyfedd yn ein dyddiau ni, i'w alluogi i drosglwyddo ei feddyliau i ereill. Bob boreu yr ydych yn darllen yn eich newyddiaduron hanesion am yr hyn a ddigwyddasent y dydd o'r blaen, ac yn hwyr yn y dydd yn New York, yn St. Petersburgh, neu yn India,—yn un o'r dinasoedd yn mhellder byd. Yr ydych wedi sylwi ar y gwïail yna gydag ochr y gledrffordd ; rhyw lwybrau ydyw y rhai yna a wnaed gan ddyn i'r mellt redeg ar hyd-ddynt a chludo gyda hwynt ei eiriau ef i ereill gyda chyflymedd anamgyffredadwy. Ond eled celfyddyd can brysured ag y myno, fe fydd yn hir cyn sodli meddwl dyn. Ah ! y mae rhyw gyflymedd rhyfedd yn ngweithrediadau hwn. Y mae yn amgylchu y ddaear ar darawiad amrant ; ac wedi cylchu y ddaear, esgyna i'r haul, ac o'r haul i'r holl blanedau, a hyny heb i neb wybod ei fod wedi bod yn un man o'r gymdeithas y mae yn cymmeryd rhan ynddi. Ac oh! y mae yn resyni gymmaint o *feddwl* sydd fel hyn bob dydd yn rhedeg yn ofer. Y mae y bachgen yn adeiladu cestyll mawrion, uchel hyd y nefoedd ; yn myned i'w sefydlu ei hunan mewn masnach, ennill cyfoeth lawer, ymddyrchafu i barch ac anrhydedd, gwneyd rhyw orchestion y bydd sôn am danynt yn ei wlad am oesoedd lawer, a hyny ar ganol bargeinio gyda'r wraig yna am bris y *calico*. Pwy ydyw hwna? Y bachgen oedd yn dywedyd wrthych nad oedd ganddo ef ddim amser i feddwl am grefydd ; ac eto y mae yn cael digon o amser i feddwl am fyrdd o bethau na wnant un llesâd i na chorph nac enaid.

Yn nghanol yr holl anfanteision yr ydych yn eich cael eich hunain i feddwl am grefydd, syrthiwch ar ymadferthoedd eich natur, gwnewch fel y gwnaeth Nehemiah. Fe welodd ef fod ganddo allu y gallesid ei droi i wasanaethu cymdeithas â Duw, yn nghanol

trafferthion y llys, ac o dan lygad y brenhin,—brenhin a fuasai yn ei ystyried ei hunan yn cael ei ddiystyru ganddo pe tybiasai ei fod yn beiddio siarad â neb yn ei bresennoldeb. Ond y mae efe yn cydio yn nghyflymedd gweithrediad ei feddwl, ac yn ei rym y mae yn myned can belled â'r Drydedd Nef, yn cynnal cymundeb â'i Dduw, heb i'r brenhin unwaith ei golli o'r ystafell. "Yna y gweddïais ar Dduw y nefoedd, a mi a ddywedais wrth y brenhin."

III. Ni a gawn gymhelliad cryf iawn eto i hyn yn *anfeidrol wybodaeth gwrthddrych gweddi*. Nid Duw ydyw ein Duw ni ag y mae yn angenrheidiol i chwi wneyd rhyw gytundeb âg ef yn mlaen llaw am yr amser i nesâu ato, neu roddi rhybudd blaenorol iddo eich bod yn bwriadu, os bydd yn gyfleus iddo, ddyfod ato ar y pryd neu y pryd, i gyflwyno eich dymuniadau ger ei fron. Un felly, dybygid, oedd Baal, o leiaf, felly y mae Elias yn gwawdio ei addolwyr,—"Gwaeddwch â llef uchel, canys duw yw efe; naill ai ymddyddan y mae,"—feallai fod rhyw rai ereill wedi cael y blaen arnoch, a'i fod heb ddarfod â'r rhai hyny. "Neu erlid,"—hwyrach ei fod wedi cael buddugoliaeth ar ei elynion, a'i fod yn erlyn ar ol y rhai hyny, fel na all gymmeryd hamdden i wrandaw arnoch chwi. "Neu ymdeithio y mae efe,"—hwyrach na wyddai efe ddim eich bod yn bwriadu dyfod ato heddyw, a'i fod wedi myned ar ryw neges, neu er mwyn difyrwch i le arall. "Feallai ei fod yn cysgu, ac mai rhaid ei ddeffro ef,"—hwyrach ei fod wedi cael diwrnod caled iawn ddoe, a'i fod wedi blino yn annghyffredin, fod yn hwyr iawn arno yn myned i orphwys neithiwr; "Gwaeddwch." Ond nid Duw fel yna ydyw ein Duw ni; O nagê. "Duw gwybodaeth yw yr Arglwydd." "Y mae yn gweled dan yr holl nefoedd." "Y mae yn gweled y diwedd o'r dechreuad." "Nid oes

dô ar ddistryw rhagddo ef." Y mae ei wybodaeth yn anfeidrol—y mae yn holl-wybodol. Nid oes dim cuddiedig oddiwrtho. Dyna un o'r syniadau cyntaf sydd genym am Dduw. Pe teimlai y meddwl unwaith fod rhyw ball neu ddiffyg yn ei wybodaeth, fe syrthiai yn y fan islaw bod yn wrthddrych addoliad iddo. Y mae yn adnabod dyn trwyddo; nid yn unig ei eiriau, ond ei feddwl, ac nid yn unig y meddwl,—y syniad sydd yn y meddwl yn awr,—ond y mae yn adwaen y meddwl o bell—yn gweled beth fydd yn y meddwl fyrddiynau o oesoedd wedi i ddydd y farn basio; ar ryw gyfnod draw, draw, yn y tragywyddoldeb diddiwedd, y mae yn gweled i berffeithrwydd yn awr pa syniad a fydd yn myned trwy dy feddwl di y pryd hwnw—"dealli fy meddwl o bell."

Yn awr, onid yw hyn yn cynnwys cymhelliad nerthol iawn i fyned ato pan y mynoch, ar bob achos? Y mae yn ymddangos fod y Psalmydd yn tynu cysur mawr o'r syniad hwn. Beth a all ystyr y gair hwnw fod?—"Efe a edrych ar weddi y gwael, ac ni ddiystyrodd eu dymuniad." Y mae yn ei chlywed hi? Nagê. Nid oes yna ddim i'w glywed; y mae yn rhy wan i siarad, ond y mae efe yn ei gweled. Y mae yn canfod ei hanelwig ddefnydd pan yn dechreu ymysgwyd i fod—yn dechreu ymffurfio yn y teimlad. Y mae yn clywed yr ochenaid. Yn nhwrf y dref, yn sŵn y drafferth, pryd nad oedd un dyn yn ei chlywed, pan nad oedd y dyn yn ei chlywed ei hunan, hi darawodd ar glust y nefoedd. Nid rhaid i ti ond gollwng saeth fechan tua gorsedd Duw, yn y niwl, pan y bydd yn rhy dywyll i ti ei gweled dy hunan; pan y byddi di yn ofni y bydd wedi disgyn oddiar fŵa dy deimlad wrth dy droed, fe'i gwel hi yn cychwyn, y mae yn canfod ei chyfeiriad, y mae yn agor ei fynwes i'w derbyn.

IV. Dyna beth arall sydd yn ymddangos yn gymhelliad cryf i hyn, *y mae y gosodiad hwn yn ateb yn hollol i amgylchiad dyn gyda golwg ar y peryglon ysbrydol y mae yn agored iddynt yn y byd hwn.* Y mae dyn yn y byd hwn yn agored i beryglon naturiol heb rifedi. Saeth y dydd, haint y nos,—niweidiau ar bob llaw, nad oes ond gofal Rhagluniaeth fawr y nef a ddichon ein cadw am gymmaint â munud yn ddiogel. Ond nid ydyw y peryglon naturiol hyn ond arlun gwan o'r drygau ysbrydol sydd yn ein hamgylchynu. Y mae y "llew rhuadwy yn rhodio oddiamgylch gan geisio y neb a allo ei lyncu." "Y mae ein hymdrech ni nid yn unig yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd." Nis gwyddom pa funud yr ymosodir arnom gan y gelynion hyn: wrth fyned adref heddyw; yn nhymer rhyw un wrth y bwrdd ar swper heno; ar ganol y drafferth gydâ'r fasnach. Nid oes wybod pa bryd, nac yn mha fodd. Ni fydd dim amser i fyned at y Bibl; dim hamdden i fyned at y Gweinidog neu y Blaenor i ofyn cynghor; dim cyfle i ymneillduo i roddi y gliniau ar lawr i weddio; rhaid gweithredu ar y foment yn iawn, neu bechu. Wel, beth a wneir? Beth hefyd ond gwneyd fel Nehemiah, "yna y gweddiais ar Dduw y nefoedd, a mi a ddywedais wrth y brenhin." Felly yr ydym yn cael y byddai yr hen dduwiolion yn arfer gwneyd. Welwch chwi Dafydd yn ei brofedigaeth. Edrychwch ar yr hen frenhin yn ffoi rhag Absalom ei fab. Yn wir y mae golwg resynus iawn arno yn dringo ochr yr Olewydd yn droednoeth, a'i ben wedi ei orchuddio, ac yn wylo yn hidl. Y mae rhyw un yn dywedyd wrtho, Y mae Ahitophel hefyd gydag Absalom,—y cynghorwr penaf yn y deyrnas, yr un yr oedd ei gynghor fel gair

Duw. Y mae yntau hefyd gyda y mab gwrthryfelgar. Beth a wnai di, attolwg, Dafydd? Beth hefyd? "O Arglwydd, tro gynghor Ahitophel yn ffolineb." Fe ddaeth y weddi allan yn hyglyw i ereill. Edrychwch ar Moses ar lan y môr. Y mae y cyfyngder yn fawr—y môr o'u blaen, Pharaoh a'i luoedd yn ymlid ar eu hol—peryglon dirfawr ar bob llaw, ac y mae y bobl hefyd wedi troi yn ei erbyn,—"Ai am nad oedd beddau yn yr Aipht y dygaist ni i farw yn yr anialwch? Paham y gwnaethost fel hyn â ni, gan ein dwyn allan o'r Aipht? Onid dyma y peth a lefarasom wrthyt yn yr Aipht, Paid â ni fel y gwasanaethom yr Aiphtiaid? Canys gwell a fuasai i ni wasanaethu yr Aiphtiaid, na marw yn yr anialwch." "Nac ofnwch;" pediwch terfysgu; "sefwch;" ymlonyddwch, arafwch, pwyllwch; "edrychwch ar iachawdwriaeth yr Arglwydd, yr hon a wna efe i chwi heddyw; oblegyd yr Aiphtiaid a welsoch chwi heddyw, ni chewch eu gweled byth ond hyny. Yr Arglwydd a ymladd drosoch; tewch chwi a sôn." "*Paham y gweiddi arnaf?*" meddai yr Arglwydd wrth Moses. Siarad â ni y mae e', O Arglwydd, yn awr. "*Paham y gweiddi arnaf?*" Peri i ni bwyllo ac arafu y mae. "*Paham y gweiddi arnaf?*" Dim un gair ar y ddaear, a *gwaedd* yn nefoedd. Y gloch aur yn canu nes oedd nen y nefoedd yn adsain gan ei sŵn.

V. Dyna gymhelliad arall, a'r olaf a enwaf fi, y mae y gosodiad hwn *yn ateb yn berffaith i'r gwahanol sefyllfaoedd ac amgylchiadau y mae dynion yn cael eu cyfleuynddynt yn nhrefn Rhagluniaeth Duw yn y byd.* Yr un Duw yw Duw Rhagluniaeth ag sydd wedi cyfodi gorseddfainc y gras. Y mae creadigaeth ac iachawdwriaeth wedi deilliaw oddiwrth yr un awdwr. Y mae y byd naturiol yn rhyw arddrych o'r byd ysbrydol. Pe byddem ni yn fwy duwiol fe fyddai pob peth o'n ham-

gylch yn cael ei ddefnyddio genym yn gyfrwng cymundeb â Duw. Fe fyddai pob pryd o fwyd yn sacrament; pob dydd yn ddydd Sabbath; fe wnai y meddwl ysbrydol gymanfa o'r ffair, cyfarfod eglwysig o *vestry* y plwyf. Fe effeithiai er dwyn pob peth i'r meddwl yn fantais cymundeb â Duw. Felly yr oedd Iesu Grist. Yr oedd ei feddwl ef mor ysbrydol,—yr oedd yn gweled pob peth â llygad ysbrydol, yn clywed pob peth â chlust ysbrydol, ac yn defnyddio pob peth yn gyfrwng cymundeb â'i Dad. Yr haul yn codi, y gwlaw yn disgyn, yr adar yn ehedeg, pob peth yn dangos ei Dad iddo ef. Pe byddem ninau yn debycach iddo, ni deimlem ninau yr un fath. Fel y mae yr hen Williams yn darlunio Mrs. Price yn mhalas Watford. Y mae yn gwahodd y bardd gyda hi i'r ardd, ac yn dangos iddo y llysiau a'r blodau yno :—

"Dyma'r *pink*, a thraw'r *carnation*,
  Dyma'r *tulip* hardd ei liw,
On'd yw rhai'n, fy mrawd, yn debyg
  I rasusau pur fy Nuw?
Dacw'r lili beraroglaidd,
  On'd yw hona megis gras,
Ag sy'n perarogli'r ardal
  Ddedwydd hono tor e' maes?
Ysbrydoli pob blodeuyn,
  Wrth ei liw ac wrth ei flas;
Nes gwneyd gardd heb wybod i mi
  Yn blanhigion dwyfol ras."

Yr un fath y gwna crefydd eto. Y mae y meddwl ysbrydol yn cymmeryd mantais ar holl ddyledswyddau a gorchwylion bywyd, ac yn eu troi yn gynnorthwyon ac yn gyfryngau iddo ei hunan i gynnal cymdeithas â Duw. Wrth y bwrdd, y mae yn gweled Duw yn yr ymborth, yn gofyn ei fendith arno, ac yn troi i weddio, "Portha fi â bara y bywyd; gâd i mi gael bwyta cnawd

ac yfed gwaed Mab y dyn." Yr eneth â'r meddwl yna yn gwneyd gorchwylion y tŷ,—yn golchi y llawr, *dustio* yr ystafell—yn troi i weddio :—

"Tyred Ysbryd Sancteiddiolaf,
Llwyr lanhâ dy dŷ dy hun;
Lladd y beiau yn fy natur,
O'r boreuddydd sydd yn nglyn;
Gwna' nghydwybod ynw'i'n danllwyth,
Nas dioddefwyf unrhyw fai,
Ag sy'n gwnethur oriau 'mywyd
Fel rhyw oes o 'difarhau."

Pan y mae yn ymwisgo i fyned i'r cyfarfod, ac yn myned i'r drych i edrych a yw yn weddaidd i fyned i olwg pobl, glywch chwi hi yn gweddio ar gân :—

"Rho dy wisg ddysglaerwen oleu,
Guddia'm noethni hyd y llawr;
Fel nad ofnwyf mwy ymddangos
Fyth o flaen dy orsedd fawr."

Wel, dyma bethau i chwi i'w cymmeryd gyda chwi gartref. Cymmerwch hwynt gyda chwi, a cheisiwch eu hymarfer. Yr ydych yn fuan yn myned o flaen y Duw hwn ar orseddfainc barn. Ond pa bryd bynnag y gelwir y dyn fu yn y cymundeb hwn âg ef i roddi y cyfrif i fyny iddo, nid rhaid iddo ddychrynu. Ni bydd ond cyfarfod âg un hollol gynnefin iddo. Bydd yn sicr mai yr un un a fydd ag y bu yn dal cymundeb âg ef ganwaith. Nid ar yr un fainc y bydd yn eistedd,—nid yr un wisg sydd am dano; ond nid oes amheuaeth nad yr un un ydyw,—yr un galon sydd ganddo, a gall yr hwn sydd wedi arfer dal cymdeithas âg ef ymddangos yn ei bresennoldeb gyda hyder a llawenydd. Galluoged chwi oll i ymddangos felly trwy Iesu Grist. Amen.

# PREGETH III.

## Anmhosibilrwydd Dianc ac Esgeuluso Iachawdwriaeth.

Hebreaid ii. 3.

"*Pa fodd y dïangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?*"

Un nodwedd neillduol a berthyn i'r Epistol hwn yw, fod yr ysgrifenydd sanctaidd, gyda golwg ar bob gwirionedd a gyflwynir ganddo ger bron ei ddarllenwyr, fel y mae yn myned rhagddo, yn troi yn uniongyrchol i'w gymhwyso at eu cydwybodau a'u calonau, i'r amcan mawr ac arbenig oedd ganddo yn yr holl Epistol. Yr amcan hwnw, y mae yn amlwg, oedd cadarnhau meddyliau yr Hebreaid yn ffydd yr Efengyl yn ngwyneb yr ymosodiadau a wnelid arnynt i'w gadael ac i ddychwelyd eilwaith at Iuddewiaeth,—ymosodiadau gan erlidwyr Iuddewig ar y naill law, a chan athrawon Iuddewig ar y llaw arall. Er mwyn cyrhaedd yr amcan hwn, y mae yr awdwr yn gosod allan yn helaeth ac yn eglur ragoriaeth Cristionogaeth ar Iuddewiaeth, ac y mae yn cael hanfod y rhagoriaeth hwnw yn rhagoriaeth yr Arglwydd Iesu Grist, yn mhob ystyr, ar bawb a berthynent i'r oruchwyliaeth hono; ei ragoriaeth fel Cyfryngwr ar yr angylion, y rhai a wasanaethent ryw fodd fel cyfryngau yn rhoddiad y gyfraith,—ei ragoriaeth fel Pen ar Moses, sylfaenydd yr oruchwyliaeth hono,—a'i ragoriaeth fel offeiriad ar yr offeiriaid Iuddewig, ac yn neillduol ar Aaron, yr hwn a gymmerir ganddo fel yn cynnrychioli yr urdd hono. Y cyntaf o'r pynciau yna, rhagoriaeth Crist Iesu, trwy yr hwn y rhoddwyd yr Efengyl a Chyfryngwr y cyfammod newydd, ar yr angylion,

y rhai a wasanaethent ryw fodd fel cyfryngwyr yn rhoddiad y gyfraith sydd ganddo yn y bennod gyntaf. Ac y mae yn dangos fod ei ragoriaeth ef ar yr angylion y fath ag ydyw rhagoriaeth gwrthddrych addoliad ar y rhai sydd yn addoli,—rhagoriaeth y Creawdwr ar ei greaduriaid,—a rhagoriaeth y Llywodraethwr a'r Brenhin ar y rhai sydd yn gwasanaethu. Ond wedi gosod hyn allan, y mae yn yr adnodau cyntaf o'r bennod hon, yn ol y nodwedd y cyfeiriasom ato a berthyn i'r Epistol, yn troi i wasgu at feddyliau yr Hebreaid y pwys o wrando ar a derbyn dysgeidiaeth un a'r fath fawredd a gogoniant yn perthyn iddo, gan fod yn sicr fod y perygl o'i gwrthod yn cyfateb i fawredd y Person sydd yn ei chyhoeddi. "Am hyny,"—am fod y fath fawredd a gogoniant yn perthyn i'r Person yr ydym wedi cael y datguddiad hwn trwyddo, ac sydd yn Waredwr i ni,—"y mae yn rhaid i ni ddal yn well ar y pethau a glywsom";—y mae yn ddyledus arnom, y mae yn gweddu i ni, nis gall dim ein hesgusodi rhag peidio, y mae y rhwymedigaeth uchaf arnom, i "ddal yn well,"—ymroddi o ran ein meddyliau i sylw ac ystyriaeth ar,—"yn well," yn helaethach, yn fanylach, yn fwy gofalus, "ar y pethau a glywsom"—y pethau a draddodwyd i ni ac a wrandawyd genym; "rhag un amser i ni eu gollwng hwy i golli,"—fe allai, yn hytrach, "rhag mewn un modd i ni gael ein hysgubo neu ein cludo heibio," hyny yw, heibio i'r pethau a glywsom, a cholli y cyfleusdra am byth i osod y meddwl arnynt a chyrhaedd iachawdwriaeth trwyddynt. "Canys os bu gadarn y gair a lefarwyd trwy angylion": wrth "y gair a lefarwyd trwy angylion," y mae i ni ddeall y gyfraith a roddwyd i Israel. Y mae yr awdwr yn amlwg yn cymmeryd yn ganiataol fod rhyw wasanaeth neillduol yn eiddo i'r "angylion"

yn rhoddiad y gyfraith hono. Y mae rhai yn tybied mai syrthio i mewn y mae yr awdwr yn hyn â'r traddodiad oedd yn mhlith y genedl Iuddewig, heb fod un sail neillduol i'r traddodiad hwnw, yn gymmaint ag nad oes un crybwylliad yn yr hanes a gawn yn llyfr Exodus am roddiad y gyfraith am unrhyw wasanaeth o eiddo yr "angylion" ar yr achlysur hwnw. Ond y mae awgrymiadau digon pendant o'r un peth yn yr Hen Destament, megis yn Deut. xxxiii. 2: "Yr Arglwydd a ddaeth allan o Sinai, ac a gododd o Seir iddynt; ymlewyrchodd o fynydd Paran, ac efe a ddaeth gyda myrddiwn o saint, a thanllyd gyfraith o'i ddeheulaw iddynt." A thrachefn yn Psalm lxviii. 17: "Cerbydau Duw ydynt ugain mil, sef miloedd o angylion: yr Arglwydd sydd yn eu plith megis yn Sinai yn y cysegr." Ac yr ydym yn cael Stephan yn llyfr yr Actau (vii. 53) yn cyfarch yr Iuddewon fel rhai wedi derbyn y gyfraith "trwy drefniad angylion"; a'r Apostol Paul yn ei lythyr at y Galatiaid (iii. 19) yn dywedyd am y ddeddf,—"a hi a drefnwyd trwy angylion yn llaw cyfryngwr." Felly y mae yn eglur fod rhyw wasanaeth neillduol yn eiddo i'r angylion ar roddiad y gyfraith i Israel. Nid ydym yn gwybod yn hollol pa wasanaeth oedd hwnw. A oeddent yn cael eu defnyddio gan y Duw mawr yn offerynau y mellt, a'r taranau, a'r tywyllwch, a sain yr udgorn? Neu a oeddent yn cael eu defnyddio yn offerynau y llef geiriau a glybuwyd o ganol y tân? Mae yn wir y dywedir gan yr hanesydd sanctaidd mai Duw a lefarodd holl eiriau y gyfraith, ac nid ydyw awdwr y llythyr hwn yn gwadu hyny. Caniateir ganddo mai Duw sydd yn llefaru yn y gyfraith yn gystal ag yn yr Efengyl. Y cwestiwn yw, *cyfrwng* y lleferydd. Ac, yn ol ei ddysgeidiaeth ef, cyfrwng cyflwyniad y gyfraith oedd yr angylion; a chyfrwng cyflwyniad yr Efengyl yw y Mab. Y mae

hefyd yn cymmeryd yn ganiatäol fod y "gair" yma "a lefarwyd trwy angylion" yn gadarn—hyny yw, fod awdurdod yn perthyn i'r gyfraith hono i gospi y rhai a'i troseddent neu a annghydffurfient â hi—"ac os derbyniodd pob trosedd ac anufudd-dod gyfiawn daledigaeth." Wrth "drosedd" yr ydym i ddeall, pechod gweithredol,—y dyn yn myned ar draws llinell uniawn a osodir i lawr yn y gyfraith,—yn gwneyd yr hyn a waherddir ganddi; wrth "anufudd-dod" yr ydym i ddeall, cam-wrando,—peidio gwrando ar yr hyn a geisia genym fel ag i ufuddau. Y mae y ddau air yn cynnwys pob math o bechod,—o droseddiad ac o omeddiad. Yn awr, yr oedd y "gair a lefarwyd trwy angylion" mor gadarn, y fath awdurdod yn perthyn iddo, fel yr oedd pob pechod yn "derbyn cyfiawn daledigaeth"—yn derbyn y gospedigaeth ddyledus iddo. Y ddeddf oedd,—"Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt." "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." Yr oedd rhai pechodau na dderbynid aberth na phoeth-offrwm drostynt,—"yr enaid hwnw a dorir ymaith o blith ei bobl"; "lladder yn farw"; "llabyddier fel y byddo marw." Derbynid aberth yn sicr dros rai pechodau, ond yr oedd offrymiad yr aberth yn tybied eu bod ynddynt eu hunain yn haeddu marwolaeth. Ond os felly, "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?" "*Os esgeuluswn*,"—os peidiwn â defnyddio, os gwrthodwn,—a gwrthod trwy ddirmygu; yr un gair ag a gawn yn yr adnod "A hwy yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fasnach,"—edrych i lawr ar,—dibrisio, peidio gwneyd un sylw o,—"esgeuluso, iachawdwriaeth gymmaint,"—"y fath iachawdwriaeth â hon." Wrth iachawdwriaeth yma y mae lliaws o'r esbonwyr galluocaf yn deall yr Efengyl, neu

yr iachawdwriaeth yn ei gweinidogaeth, mewn cyferbyniad i'r ddeddf, neu "y gair a lefarwyd trwy angylion." Ond nid wyf yn gweled fod eisiau ymadael âg ystyr gyffredin a phriodol y gair yn y fan yma,—yn wir, fe ellid meddwl fod yr awdwr yn fwriadol yn ei ddefnyddio er gosod allan gyferbyniad ychwanegol rhwng "y gair a lefarwyd trwy angylion" â'r datguddiad a roddwyd i ni. Deddf, cyfraith, oedd y gair hwnw; y mae yn wir fod iachawdwriaeth ynddo,—ond iachawdwriaeth yn yr angen am dani, gan gau dyn i fyny i drueni a cholledigaeth hebddi, ac felly eu parotoi i wneyd derbyniad o honi;—ond yn awr i ni, iachawdwriaeth,—cynllun gwaredigaeth dragywyddol oddiwrth bechod, ac i'n dwyn i feddiannu bywyd tragywyddol,—y fath iachawdwriaeth.

"Yr hon wedi dechreu ei thraethu trwy yr Arglwydd," —nid trwy yr angylion—ond trwy y Person mawr y soniais eisoes am dano, y mae yr holl angylion yn cael eu gorchymyn i'w addoli, ac sydd Greawdydd a Llywodraethwr pob peth. Yn y gair yma, dybygid, y mae y cyferbyniad i'r "gair a lefarwyd trwy angylion." Y mae yr "iachawdwriaeth" wedi ei datguddio yn eglur i ni trwy yr Arglwydd, "ac wedi ei sicrhau i ninau gan y rhai a'i clywsant ef: a Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu," yn dwyn y profion cryfaf i ddwyfoldeb y drefn a ddygir yn yr Efengyl ger ein bron—"trwy arwyddion a rhyfeddodau ac amryw nerthoedd a doniau yr Ysbryd Glân, yn ol ei ewyllys ei hun"—trwy wyrthiau naturiol ac ysbrydol, ar gyrph ac ar feddyliau dynion. "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?"

Dull cyffredin yn yr Ysgrythyrau i ddangos pwysigrwydd neu anmhosibilrwydd unrhyw beth, ydyw, taflu y syniad i ffurf cwestiwn,—nid i'w ateb, neu gan

ddysgwyl am atebiad, ond i rwymo ystyriaeth y darllenwyr ar y mater. "Daeth yr amser i ddechreu o'r farn o dŷ Dduw; ac os dechreu hi yn gyntaf arnom ni, beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i Efengyl Duw? Os braidd y mae y cyfiawn yn gadwedig, pa le yr ymddengys yr annuwiol a'r pechadur?" Y mae yr un dull mewn lliaws o fanau ereill, ac yn fynych yn yr Epistol hwn; ac felly, y mae yn amlwg, y gwneir yma: "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?

Y gwirionedd mawr a ddygir yma o flaen ein sylw yw, *Yr anmhosibilrwydd i ni ddianc ac esgeuluso y drefn a ddygir ger ein bron yn yr Efengyl am ein hiachawdwriaeth.* Ond y mae y dull y cyflwynir y gwirionedd yna o'n blaen yn amlwg wedi ei fwriadu i ddwyn y rhai y mae yr iachawdwriaeth yma yn cael ei chynnyg iddynt, eu hunain i geisio ystyried a meddwl pa fodd y gallant ddianc a'i hesgeuluso hi. Ac felly y dymunwn inau ei ddwyn ger eich bron yn bresennol.

Yr wyf yn ofni fod yma lawer sydd hyd yma wedi esgeuluso iachawdwriaeth. Yr ydych wedi gwrando am dani er pan ydych yn cofio dim,—wedi eich dysgu er yn blant am eich angen am dani a'r addasrwydd perffaith sydd ynddi ar eich cyfer, ac wedi eich cymhell yn y modd mwyaf taer a thyner ac effeithiol i wneyd derbyniad o honi,—ac eto hyd yma heb wneuthur hyny. Mae pob cynnygiad wedi ei wrthod,—pob rhybudd wedi ei ddiystyru,—pob cymhelliad wedi ei droi draw. Mae yma rai sydd yn parhau i anufuddhau i'r weledigaeth nefol ac i droi ymaith oddiwrth yr hwn sydd yn llefaru o'r nef—yn esgeuluso iachawdwriaeth. Nid ydwyf fi yn myned i gyfeirio yn fwy pendant; ar yr un pryd mi a ddymunwn i bob un wrando ar dystiolaeth ei gydwybod ei hun.

Ond nid oes neb sydd felly yn esgeuluso iachawdwriaeth nad ydyw yn rhyw feddwl am ddianc. Nid oes neb o honoch wedi penderfynu bod am byth yn golledig. Yr ydych yn rhyw ddirgel ddysgwyl yr arbedir chwi, er cydnabod eich bod yn esgeuluso iachawdwriaeth. Ond y peth y dymunwn yn awr gael eich sylw mwyaf difrifol ato yw hyn,—Pa fodd y diengwch? Ystyriwch, ceisiwch feddwl, pa fodd y diengwch ac esgeuluso iachawdwriaeth.

I. Fe fyddai i chwi ddianc ac esgeuluso iachawdwriaeth yn cynnwys fod rhyw lwybr—rhyw drefn arall i ddianc—heblaw drwyddi hi.

Nid oes dim sydd eglurach yn ngwyneb yr Ysgrythyrau Sanctaidd na bod dynolryw wrth naturiaeth yn bechaduriaid, ac yn golledig. "Pawb a bechasant ac ydynt yn ol am ogoniant Duw." "Nid oes neb cyfiawn, nac oes un; nid oes neb yn deall; nid oes neb yn ceisio Duw. Gŵyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, nac oes un." Y mae pob genau wedi ei gau, a'r holl fyd dan farn Duw. Nid oes gan neb un ddadl am arbediad; nid oes gan neb ddim i'w ddywedyd i rwystro cyhoeddiad y ddedfryd gan y Barnwr. Y mae "yr holl fyd dan farn Duw,"—yn euog ger bron Duw. "Cyflog pechod yw marwolaeth." "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." Dyma gyflwr y byd. Yn awr, nis gall neb gadw ei hunan; nis gall y naill gadw y llall. Fel y dywedir yn y Psalm gyda golwg ar y bywyd naturiol, gellir yn fwy priodol ddywedyd gyda golwg ar hyn, "Gan waredu ni wared neb ei frawd, ac nis gall efe roddi iawn drosto i Dduw. Gwerthfawr yw pryniad eu henaid, a hyny a baid byth," (Psalm xlix. 7, 8). "A pha beth y deuaf ger bron yr Arglwydd, ac yr ymgrymaf ger bron yr uchel Dduw? A ddeuaf fi ger ei fron ef â phoeth-offrymau ac a dyniewaid? A foddlonir yr Arglwydd â miloedd o feheryn,

neu á myrddiwn o ffrydiau olew? a roddaf fi fy nghyntaf-anedig dros fy anwiredd, ffrwyth fy nghroth (fy nghorph) dros bechod fy enaid?" (Michah vi. 6, 7). "Trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef." Dyma gyflwr truenus ac anobeithiol dynolryw, o'u rhan eu hunain, byth. Ond y mae yr Arglwydd o'i ras wedi meddwl am danom, ac wedi darpar trefn i'n gwaredu. "Yn ein hisel-radd fe'n cofiodd ni, o herwydd ei drugaredd yr hon sydd yn dragywydd." Pan oeddym yn gorwedd ar wyneb y maes, ac heb lygad yn tosturio wrthym, yn ymdrybaeddu yn ein gwaed, fe ddaeth y Goruchaf heibio mewn cariad, fe dosturiodd wrthym, fe feddyliodd am danom, ac fe luniodd ac fe ddarparodd drefn i'n gwaredu. Dyna yw yr Efengyl, cyhoeddiad fod gan Dduw drefn i'n cadw,—"Felly y carodd Duw y byd fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Dyma drefn Duw. Ond y mae yn eglur, yn ngwyneb y Bibl, nad oes un drefn arall. "Canys un Duw sydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu." "Sylfaen arall nis gall neb ei gosod, heblaw yr un a osodwyd, yr hon yw Iesu Grist." "Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall; canys nid oes enw arall dan y nef, wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig." "Myfi yw y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd; nid oes neb yn dyfod at y Tad ond trwof fi." "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol; a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wêl fywyd, eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef." "Edifarhewch a dychwelwch, fel y dileer eich pechodau." "Onid edifarhewch, chwi a ddifethir oll." "Y neb sydd yn gwrando fy ngair i, ac yn credu i'r hwn a'm danfonodd i, a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn;

eithr efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." "Oni chredwch chwi mai myfi yw efe, chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau." Mae yr Ysgrythyrau yn gyflawn o dystiolaethau i'r un ystyr. Nid oes dim amlycach na mwy pendant yn eu dysgeidiaeth nag mai trwy Iesu Grist yn unig y mae cadw, ac nad oes cadwedigaeth trwyddo ef ond trwy gredu ynddo.

Tuag at gyrhaedd llawer o bethau cysylltiedig â'r byd a'r bywyd presennol, y mae amrywiol lwybrau y gall dynion gymmeryd eu dewis o honynt, tra gyda golwg ar bethau eraill, nad oes ond un ffordd. Tybiwch fod arnoch eisiau myned oddiyma i Fangor, wel, chwi a gewch eich dewis naill ai cymmeryd y *steamer* a myned yno gyda'r môr; neu ynte gymmeryd y *train* a myned yno yn hollol ar hyd y tir; neu ynte croesi y Mersey yn y *steamer*, a'r *train* drachefn; neu chwi a allech *bostio* yno yr holl ffordd; neu ynte, os mynech, chwi allech gerdded yno ar eich traed. Y mae i chwi eich dewis o amrywiol ffyrdd. Ond os ydych am fyned drosodd i'r America, rhaid i chwi gymmeryd y llong, a myned dros y môr. Ofer i chwi ddywedyd, "nis gallaf fi feddwl am y môr,—nid âf fi byth dros y môr." Nid oes dim America ynte. Nid oes yr un *tunnel* dan y Werydd. Y maent heb bontio yr Atlantic. Rhaid cymmeryd y môr neu fethu yr America. Ond y mae i chwi eich dewis drachefn yma o amrywiol *lines*, ac o amrywiol longau. Ond yma nid oes ond un llestr, ac un Cadben i groesi drosodd i gyfandir mawr bywyd tragywyddol, a rhaid i chwi roddi eich hunain yn ei ofal ef, neu fethu byth.

Pan oedd Paris yn cael ei hamgylchu gan y Germaniaid, a phrinder a newyn a marwolaeth yn y ddinas, nid oedd modd i neb fyned allan oddiyno heb iddo weithio ei ffordd drwy fyddinoedd y Germaniaid, y rhai oeddent yn gwarchae ac yn gwylio o'i hamgylch. Ond edrych-

wch! dacw awyren yn esgyn i fyny, i fyny, ac yn rhy uchel i fagnelau y Germaniaid ei chyrhaedd, a Gambetta ynddi, a dyna fo yn cael ei gludo tu hwnt i gyrhaedd y byddinoedd gelynol, i ryw le tua Bordeaux. Ond, enaid anwyl, y mae y sefyllfa yr wyt ti ynddi yn anobeithiol. Nid oes modd byth i ti trwy un ddyfais esgyn uwchlaw saethau yr Hollalluog, a dianc o afael yr Anfeidrol.

Mewn amrywiol glefydau, y mae gan y meddyg amryw gyfferiau y gall eu defnyddio er ceisio gwella'r claf; a'i brofiad ef ei hunan, yn gysylltiedig â'r adnabyddiaeth a all feddiannu o neillduolrwydd cyfansoddiad y claf, sydd yn penderfynu ei feddwl pa un o amryw i'w treio, ac os gwel un yn methu, gall ddefnyddio un arall, ac un arall, ac un arall, nes disgyn yn y diwedd, fe ddichon, ar un effeithiol i'w amcan. Eneidiau anwyl, yr ydych chwi yn ngafael clefyd angeuol sydd yn lladd pawb—yn lladd byth. Ond y mae Meddyg a ddichon yn gwbl iachau—un anffaeledig, un na fethodd erioed, un na bu neb erioed farw dan ei ddwylaw. Ond nid oes Iachawdwr ond efe; yr unig feddyg ydyw. Os gwrthodwch chwi hwn, nid oes yr un arall i'w gael,—dyna bob gobaith yn darfod,—nid oes dim i'w ddysgwyl ond marwolaeth. "Canys nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach, ond rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth."

Wyt ti am ddianc? Pa ffordd? Wyt ti yn dysgwyl rhywbeth wrth drugaredd Duw? Y mae cynllun trugaredd—a'r amlygiad uchaf o drugaredd,—yn cael ei esgeuluso, ei wrthod, ei ddiystyru. A oes Mab arall gan Dduw i'w anfon i'r byd i farw? Wyt ti yn dysgwyl i Iesu Grist farw eto? "Pa fodd y diangwn ni?" Fe fyddai i chwi ddianc ac esgeuluso iachawdwriaeth, yn cynnwys fod rhyw drefn arall i hyny.

II. "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?" Fe fyddai i chwi ddianc a'i hesgeuluso ar unwaith yn tybied fod yr holl draul a gymmerwyd i'w darpar yn gwbl afreidiol.

Y mae yn amlwg mai nid gwaith bychan oedd darpar iachawdwriaeth, ac mai nid â swm bychan y dygwyd hi oddiamgylch. Yn wir, y mae yn cael ei gosod allan yn yr Ysgrythyrau fel yr hyn sydd, hyd y mae yn ymddangos i ni, yn brif waith Duw—yr amlygiad uchaf a mwyaf gogoneddus a roddwyd ganddo erioed o hono ei hunan. Mae y meddwl dwyfol wedi bod arno er tragywyddoldeb. Draw, draw, draw, cyn gosod sylfeini y ddaear, cyn taenu y gogledd ar y gwagle, na chrogi y ddaear ar ddiddym, yn y rhagolygiad ar ddyn yn myned i lawr, fe osodwyd ei gymhorth ar un cadarn. Dacw ras yn cael ei roddi i ni yn Nghrist Iesu cyn dechreu'r byd. Dacw y Mab tragywyddol yn ymrwymo ar ran pechaduriaid, yn cymmeryd eu hachos arno ei hunan, ac yn dyfod yn Waredwr iddynt. "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Ac edrychwch yr holl wneyd a fu ar y Mab er cyrhaedd yr amcan hwn. Ei wneuthur o wraig, ei wneuthur yn gnawd, ei wneuthur dan y ddeddf, ei wneuthur yn bechod, ei wneuthur yn felldith, ei wneuthur yn ddoethineb, yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth—a hyn oll er mwyn ei wneuthur yn Awdwr Iachawdwriaeth i ni. Gwelwch y darostyngiad mawr o fynwes y Tad i barthau isaf y ddaear—y felldith, y marw. Dyma y draul yr aethpwyd iddi i ddarpar iachawdwriaeth. "Nid arbedodd ei briod-fab, ond a'i traddododd drosom ni oll." "Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tuag atom ni." "Yn hyn y mae cariad." "Cariad mwy na hwn nid oes gan neb, sef bod

i un roi ei einioes dros ei gyfeillion,"—"rhoddi ei einioes yn bridwerth dros lawer." Amcan hyn oll oedd darpar iachawdwriaeth—gweithio allan drefn i bechadur gael byw. A phwy a all ddirnad y draul? Pwy all amgyffred mawredd yr aberth? Yr oedd rhywbeth yn y dioddefiadau fel yr oedd Mab Duw yn dychryn rhagddynt. "Os yw bosibl eled y cwpan hwn heibio oddiwrthyf, fel nad yfwyf ef; er hyny nid fy ewyllys i ond yr eiddot ti a wneler."

Ond os gellwch chwi ddianc ac esgeuluso iachawdwriaeth, yr oedd yr holl draul yna yn gwbl afreidiol. I ba beth y bu y golled hon? Paham y bu yr holl wastraff hwn? Os gellwch ddianc ac esgeuluso iachawdwriaeth, yr oedd y cynllunio tragywyddol yn afreidiol; y darostyngiad dwfn a'r marw poenus yn gwbl ofer. Wedi y draul fawr i agor ffordd i bechadur gael dianc, os cei di ddianc sydd yn ei hesguluso, fel yr hwn sydd yn ei defnyddio, pa fudd oedd myned i'r fath draul i'w chael?

Ac nid darpar y drefn yn unig y mae Duw yn wneyd. Y mae yn arfer pob moddion i gael dynion i ddefnyddio y drefn hon. "Anfon atoch air yr iachawdwriaeth hon." "Mynegi i chwi ffordd iachawdwriaeth." Y mae Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun. Ac y mae wedi gosod ynom ni air y cymmod—wedi rhoddi i ni weinidogaeth y cymmod. "Am hyny yr ydym ni yn genhadau dros Grist, megis pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni, yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw." A chofiwch, Duw sydd yn gwneyd hyn. Nid y pregethwr. Nid ydwyf fi neb. Duw "yn cymhell," yn annog, gwahodd, galw, deisyf, erfyn, attolwg,—dysgwyl i drugarhau. Mewn gwirionedd y mae pob peth arall i chwi er mwyn hyn. Y mae eich amser ar y ddaear yn "amser i geisio yr Arglwydd," yn "amser i edifarhau," "yn amser cymmeradwy," a "dydd

iachawdwriaeth." "Cyfrifwch hir amynedd ein Harglwydd yn iachawdwriaeth." Ac nid yn unig hyny, ond y mae yn nesâu atoch trwy ei Ysbryd, yn ymryson â'ch meddyliau, yn eich cymmell yn ddistaw yn y gydwybod. Derbyn hi, syrthia i mewn â hi, paid a'i gwrthod hi, nid gair ofer yw hwn i ti, dy einioes yw efe; ti gei nefoedd byth o'i dderbyn; rhaid i ti fyned i uffern os gwrthodi di hi; derbyn hi yn awr—derbyn hi heb oedi yn hwy.

Wel, os gelli di ddianc, yn y diwedd, ac esgeuluso iachawdwriaeth, onid yw yr holl drafferth yma yn gwbl afreidiol? Onid yw y cynghor dwyfol yn troi yn ffolineb? Y cariad tragywyddol yn gwbl ofer,—gwahoddiadau gras ac ymrysoniadau yr Ysbryd yn bethau nad oes ar y byd ddim o'u heisiau,—yr iachawdwriaeth drwyddi yn gwbl ddianghenraid. "Pa fodd y diangwn ni?"

III. "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?" Fe fyddai i chwi ddianc ac esgeuluso iachawdwriaeth yn dinystrio yn gwbl y pwysigrwydd o gydymffurfio neu beidio â threfniadau y Llywodraethwr mawr.

Ni allasem yn mlaen llaw gasglu mai nid dibwys i ddynion ydyw cydymffurfio â threfniadau y Goruchaf, ac y mae ein holl sylw ar y byd yn dwyn tystiolaeth fod dynion yn gyffredin yn teimlo hyny. Y mae yn eglur fod gan yr Arglwydd ei ordeiniadau gyda golwg ar y byd a'r bywyd presennol, a bod y pwys mwyaf mewn cydymffurfio â hwynt. Oferedd hollol yw i neb a esgeuluso wneyd hyny, ddysgwyl osgoi y canlyniadau. Y mae yn amlwg fod llafurio y ddaear yn drefniad o eiddo Duw i ddynion tuag at iddynt gael cnwd ar ei gwyneb. Fe allasai yr Arglwydd drefnu yn wahanol; gallasai beri i'r ddaear bob blwyddyn ddwyn ffrwyth o

honi ei hun, megis ag y gwnaeth ar y cyntaf, heb fod gan ddynion ddim llaw tuag at hyny. Ond fel arall y mae wedi ordeinio; rhaid i ddynion ddiwyllio y tir, aredig, hau, llyfnu, chwynu, gwylio,—cyn y gallant ddysgwyl ffrwyth. Ac nid oes neb yn meddwl y gall esgeuluso yr ordeiniad hwn ac osgoi y canlyniad. Y mae holl bwys cael defnydd ymborth ac ymwared rhag newyn mewn ymgadw at y trefniad. Y mae deddfau neillduol o sefydliad yr Anfeidrol gyda golwg ar einioes ac iechyd. Rhaid i ddynion fwyta ymborth iachus; yfed diod felly; anadlu awyr bur; gofalu am lanweithdra priodol; cwsg rheolaidd a chymmedrol; ymarferiad cyson; cadw y meddwl yn dawel, a phethau cyffelyb. Ofer i neb ddysgwyl iechyd a thori y deddfau hyn. Mae yn wir fod dynion yn eu tori yn fynych, ond nid ydym byth yn gwneyd hyny heb orfod talu y costau.

Yr ordeiniad naturiol dwyfol tuag at einioes ac iechyd a thyfiant a nerth y plentyn ydyw magwraeth a meithriniad priodol, ac nid oes yr un fam yn dysgwyl y gall ei baban ddyfod rhagddo ac esgeuluso gofalu am hyny iddo. Ordeiniad y Llywodraethwr mawr tuag at iachâd y claf ydyw defnyddio y feddyginaeth briodol,—ac ynfydrwydd fyddai i ddyn ddywedyd,—"Mi a wellaf o honof fy hunan,—nid âf, pa fodd bynnag, byth at un meddyg, ac ni chymmeraf byth ddim o'i gyfferi."

Y mae y mîn yn archolli; y tân yn llosgi; y dwfr yn boddi; yr ergyd yn lladd. Y mae deddfau natur yn rhy gryfion i ddynion ymladd yn eu herbyn. Pa bryd y gwelsoch chwi neb yn esgeuluso yr ordeiniadau hyn, ac yn osgoi y canlyniadau? Yn ganlynol, er fod dynion yn fynych heb gydymffurfio â hwynt, ni chewch chwi neb yn dadleu nac yn tybied mai peth dibwys ydyw hyny. Na: y mae pawb yn cydnabod eu bod mor gedyrn a sefydlog ac awdurdodol fel mai dinystr

hollol, mewn lliaws o amgychiadau, ydyw i'r dyn eu cael yn ei erbyn. Yn awr, y mae yr Anfeidrol wedi ordeinio trefn i bechadur gael byw,—yr iachawdwriaeth hon. Ac heb fyned yn awr i'r cwestiwn am y posibilrwydd neu yr anmhosibilrwydd, yn ol natur pethau, bod trefn arall am ymwared, dyma y cynllun a ordeiniodd Duw. "Hwn a osododd Duw yn iawn." "Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw, yn Dywysog ac yn Iachawdwr; i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau." Hwn etholodd Duw; hwn a wnaethpwyd i ni gan Dduw; hwn y mae Duw yn gynnyg i chwi; hwn y mae efe yn gymhell arnoch. Dyma drefn Duw. Dyma yr arch rhag boddi; yr unig fynydd rhag llosgi; yr unig noddfa i gael byw. Gallasai dinas arall yn Israel gynt fod yn nes at y llofrudd, ei thyrau yn gadarnach, a'i muriau yn uwch, a'i sefyllfa yn fwy dymunol. Ond ofer fuasai ffoi yno; yn y ddinas a ordeiniodd Duw yn unig yr oedd gobaith iddo ef gael byw. Y cwestiwn, gan hyny, i chwithau yw, Pa beth yw y drefn ddwyfol? "Fe welodd Duw yn dda, trwy ffolineb pregethu, gadw y rhai sydd yn credu." Y mae cadw o gwbl o "weled yn dda Duw"; meddwl gras ydyw; gras rhydd a rhad a phenarglwyddiaethol. Rhaid gadael iddo, gan hyny, gadw fel y myno yn dda ei hunan, fel mae efe wedi trefnu cadw: ac y mae efe yn "gweled yn dda" "gadw y rhai sydd yn credu." Yn awr, fe fyddai i chwi ddianc ac esgeuluso iachawdwriaeth yn gwneyd yr ordeiniad dwyfol yn ddibwys. A ydyw hyny yn debyg? A ellwch chwi orchfygu yr Hollalluog? A ellwch chwi ddianc rhag yr Hollbresennol? A ellwch chwi ddyrysu yr Holl-wybodol a'r anfeidrol Ddoeth? "Pwy a ymgaledodd yn ei erbyn ef, ac a lwyddodd?" Fe ymgaledodd llawer, ond pwy a lwyddodd? "Un gosodwr cyfraith sydd, yr hwn

a ddichon gadw a cholli." Y mae hwnw wedi trefnu ffordd o ymwared. Nid yw wedi trefnu onid un. Pa fodd y gellwch chwi ddianc ac esgeuluso y ffordd hono, heb wneyd yn hollol ddibwys, pa un ai cyd-ffurfio ai peidio a wnawn â'r trefniadau dwyfol?

IV. "Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?" Fe fyddai i chwi ddianc, ac esgeuluso iachawdwriaeth, yn hollol annghydweddol âg ymddygiadau yr Arglwydd tuag at ereill.

Dyna yn uniongyrchol, fe ddichon, yr ystyriaeth a ddygir ger ein bron yn y testyn,—"Canys os bu gadarn y gair a lefarwyd trwy angylion, ac os derbyniodd pob trosedd ac anufudd-dod gyfiawn daledigaeth, Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint?" Y ddadl neu yr ymresymiad, fel y gwelwch, ydyw, os cospwyd y rhai a bechasant yn ngwyneb manteision llai, pa fodd y gallwn ni ddysgwyl ein harbed a phechu yn ngwyneb manteision mwy? Ni a wyddom fod y gair a lefarwyd trwy angylion yn gadarn. Dacw gyrph miloedd ar filoedd yn cwympo yn y diffaethwch,—heb gyrhaedd Canaan byth, oblegyd digio Duw. Dacw dair mil ar hugain yn syrthio yn yr un dydd oblegyd eu godineb. Dacw y seirph tanllyd yn dinystrio y rhai a demtient yr Arglwydd—y dinystrydd yn distrywio y grwgnachwyr,—ac felly yn holl hanes y rhai y rhoddwyd y gyfraith iddynt. "Os byddwch ewyllysgar ac ufudd, daioni y tir a fwytewch. Ond os gwrthodwch, ac os anufuddhewch, â chleddyf y'ch hysir; canys genau yr Arglwydd a'i llefarodd." Ond gwrthod ac anufuddhau a wnaethant—tori cyfammod eu Duw, gwatwar cenhadau Duw, tremygu ei eiriau ef, a gwawdio ei brophwydi ef—pobl ac offeiriaid yn cam-fucheddu yn ol holl ffieidd-dra'r cenhedloedd, ac yn halogi cysegr Duw ei hun. Ond dacw y Babiloniaid yn

dyfod i'r wlad; dyna y ddinas sanctaidd yn cael gwarchae arni; dyna y newyn mawr yn dechreu—gwragedd tosturiol yn bwyta eu plant eu hunain. Dacw y ddinas yn cael ei chymmeryd a'i dinystrio; y deml yn cael ei rhoddi ar dân, a'r genedl yn cael ei chaeth-gludo i dir estronol, ac yn cael arglwyddiaethu arnynt yn ol ewyllys y rhai a'u gorchfygasant. Beth yw hyn oll ond prawf fod y gair a lefarwyd trwy angylion yn gadarn?

Yn wir, y mae yr un egwyddor yn dyfod i'r golwg yn yr holl farnau a ddisgynasant ar y byd trwy yr holl oesoedd. Yr oedd y datguddiad a roddasid i'r hen fyd, pa mor fychan bynnag ydoedd, eto mor gadarn fel y mae y rhai sydd yn ei droseddu ac yn anufuddhau iddo yn cael eu damnio â dymchweliad. A'r un modd, drachefn, y mae dinasoedd y gwastadedd yn cael eu llosgi â thân a brwmstan o'r nef—am fod eu gwaedd yn ddirfawr a'u pechod yn drwm iawn yn erbyn yr amlygiadau a roddasid iddynt hwy o'r ewyllys ddwyfol.

Yn awr, os ydyw yr Arglwydd bob amser wedi arfer cospi y rhai a bechasant yn ngwyneb manteision llai, pa fodd y gellwch chwi ddianc, a phechu yn ngwyneb manteision mwy? "Yr un a ddirmygai gyfraith Moses, a fyddai farw heb drugaredd, dan ddau neu dri o dystion; pa faint mwy cospedigaeth, dybygwch chwi, y bernir haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod, trwy yr hwn y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd ysbryd y gras?" "Edrychwch na wrthodoch yr hwn sydd yn llefaru. Oblegyd oni ddiangodd y rhai a wrthodasant yr hwn oedd yn llefaru ar y ddaear, mwy o lawer nis diangwn ni, y rhai ydym yn troi ymaith oddiwrth yr hwn sydd yn llefaru o'r nef."

Nid oes yr un egwyddor amlycach yn yr Ysgrythyrau, nac yr un y mae ein cydwybodau yn dwyn tystiolaeth fwy pendant i'w huniondeb, nag y bydd cyfrifoldeb pob dyn yn

cyfateb i'r manteision a fyddont ganddo. "A'r gwas hwnw yr hwn a wybu ewyllys ei Arglwydd, ac nid ymbarotôdd, ac ni wnaeth yn ol ei ewyllys ef, a gurir â llawer ffonod. Eithr yr hwn ni wybu, ac a wnaeth bethau yn haeddu ffonodiau, a gurir âg ychydig ffonodiau. Ac i bwy bynnag y rhoddwyd llawer, llawer a ofynir ganddo; a chyda'r neb y gadawsant lawer, ychwaneg a ofynant ganddo." Yn ganlynol, yn lle cael dianc oblegyd cael manteision mwy, y maent yn syrthio dan gospedigaeth drymach. Clywch eiriau ein Harglwydd, yn ymliw á ac yn bygwth y rhai a'i gwrthodent ef,—"Gwae di, Chorazin," &c. "A thydi, Capernaum, yr hon a ddyrchafwyd hyd y nef, a dynnir i lawr hyd yn uffern: canys pe gwnaethid yn Sodom y gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd ynot ti, hi a fuasai yn aros hyd heddyw."

Yn awr, fe fyddai i chwi ddianc, ac esgeuluso iachawdwriaeth, yn hollol annghydweddol â'r modd y mae yr Arglwydd wedi ymddwyn tuag at ereill. Cyn y gallwch chwi ddianc, rhaid i'r Goruchaf amrywio oddiwrth egwyddorion cyffredinol ei lywodraeth, ac arbed rhai wedi pechu yn ngwyneb y manteision mwyaf, tra yn cospi rhai wedi troseddu yn ngwyneb manteision llai. Byddai i chwi ddianc ac esgeuluso iachawdwriaeth yn gwmmwl ar gyfiawnder tragywyddol.

Nid wyf yn gwybod i ba raddau y llwyddais yn eich teimladau chwi, ond fy amcan oedd taflu cylch hollol am danoch, er dangos nad oes modd i chwi ddianc ac esgeuluso iachawdwriaeth. Y mae yr anmhosibilrwydd yn hollol. Nid oes dim yn eich aros ond cyfiawn daledigaeth.

Ond y mae modd dianc heddyw trwy dderbyn yr iachawdwriaeth. Y mae un wedi ei ddal, wedi ei rwymo, wedi ei ladd, ac er ei fwyn ef—trwyddo ef—y gellwch ddianc, a dianc byth.

# PREGETH IV.

## Tystiolaeth yr Apostolion i Adgyfodiad Crist.

Actau iv. 33.

"*A'r apostolion trwy nerth mawr a roddasant dystiolaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu.*"

Y ffaith bwysicaf, yn ddiammeu, mewn cysylltiad â'r prawf o wirionedd ein crefydd, ydyw adgyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist oddiwrth y meirw. Dyma yr arwydd mawr a roddir i ni ei fod wedi dyfod oddiwrth Dduw, fod ei athrawiaeth yn haeddu derbyniad gan y byd, a bod ei farwolaeth wedi boddloni y meddwl dwyfol yn y fath fodd ag i osod i lawr sail i'r pechaduriaid mwyaf a gredont ynddo obeithio am faddeuant ac iachawdwriaeth. "Os Crist ni chyfodwyd, ofer yn wir yw ein pregeth ni, ac ofer hefyd yw eich ffydd chwithau." Od yw eto yn y bedd, nid yw yr holl honiadau a wnaed ganddo ond gau, nid yw y cyhoeddiad o hono yn yr Efengyl fel Ceidwad ond twyll, ac y mae gobaith pawb a ymddiriedant ynddo yn sicr o droi allan yn siomedigaeth dragywyddol. Dyma, ar ryw ystyr, faen-clo y bŵa Cristionogol. Pe tynid y maen hwn ymaith, fe syrthiai y bŵa i lawr i gyd. Y mae ein crefydd mewn gwirionedd yn sefyll neu yn syrthio gyda'r ffaith hon.

Gan fod y fath bwysigrwydd yn perthyn iddi, naturiol i ni fuasai dysgwyl lle mawr iddi yn yr Efengyl; ac yn ol fel y buasem yn dysgwyl, felly yn amlwg yr ydym yn cael. Y mae y pedwar Efengylwr yn rhoddi lle arbenig

iddi; y mae yn rhedeg yn un llinyn trwy yr holl Epistolau; ac y mae yn amlwg wrth Lyfr yr Actau, fod arbenigrwydd neillduol yn cael ei osod arni yn ngweinidogaeth yr Apostolion. Ac felly y cawn yn y testyn eu bod, yn ddioed wedi gollwng Pedr ac Ioan yn rhydd o'r carchar, ac er bygythion yr awdurdodau gwladol, heb allu ymattal rhag dywedyd y pethau a welsent ac a glywsent, ond "trwy nerth mawr yn rhoddi tystiolaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu."

Yn awr, yn gymmaint ag mai ffaith hanesyddol ydyw ei adgyfodiad ef, hyny yw, peth a ddygwyddodd mewn amser a lle, ac o fewn cyrhaedd prawf rhai cymhwys i ddwyn tystiolaeth o'i gwirionedd, fy amcan i yn awr ydyw ceisio olrhain y prawf a gyflwynir ger ein bron yn eu tystiolaeth hwy, yn sail i'n ffydd yn ngwirionedd yr hyn a dystiolaethir ganddynt. Rhaid i ni gael boddlonrwydd yn hyny. Byddai yn gwbl annghydweddol â'r cymeriad Dwyfol, yn ddiraddiad ar ein galluoedd meddyliol, ac yn ddinystr ar natur ffydd ei hunan, i'r fath ffaith gael ei chymmell arnom, na'i derbyn genym, ond yn ngwyneb y dystiolaeth fwyaf boddlonol o'i gwirionedd.

Y tystion, yn yr amgylchiad hwn, fe welir, ydyw yr Apostolion. A byddai yn dda genyf i chwi sylwi mai felly yn neillduol yr edrychid ar ac y gelwid yr Apostolion ar y cyntaf. "Yr ydych chwi," meddai Iesu Grist wrthynt, pan yn eu hawdurdodi i bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw, yn seiliedig ar ei farwolaeth a'i adgyfodiad y trydydd dydd, "Yr ydych chwi yn *dystion* o'r pethau hyn" (Luc xxiv. 48). Pan yn eu gadael ar ei esgyniad i'r nefoedd, dywedai wrthynt, "Chwi a fyddwch *dystion* i mi yn Jerusalem, ac yn holl Judea, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaear" (Act. i. 8). "Yr Iesu hwn," meddent hwythau, "a gyfododd Duw i

fyny; o'r hyn yr ydym ni oll yn *dystion*" (Act. ii. 32). Pan yn ethol Apostol yn lle Judas, yr oeddent yn ethol un i fod gyda hwynt "yn *dyst* o'i adgyfodiad ef" (Act. i. 22). "Hwn a gyfododd Duw," meddai Petr yn nhŷ Cornelius, "y trydydd dydd, ac a'i rhoddes ef i'w wneuthur yn amlwg; nid i'r bobl oll, eithr i'r *tystion* etholedig o'r blaen gan Dduw, sef i ni y rhai a fwytasom ac a yfasom gydag ef wedi ei adgyfodi ef o feirw" (Act. x. 40, 41). "Eithr Duw," meddai Paul yn Antiochia yn Pisidia, "a'i cyfododd ef oddiwrth y meirw: yr hwn a welwyd dros ddyddiau lawer gan y rhai a ddaethant i fyny gydag ef o Galilea i Jerusalem, y rhai sydd *dystion* iddo wrth y bobl" (Act xiii. 30, 31). Ac fe geir yr un dynodiad mewn amryw fanau ereill.

Y mae eu tystiolaeth hwy i'w chael yn y Testament Newydd—yn y pedair Efengyl; yn Llyfr Actau yr Apostolion; ac yn Epistolau Paul, a Pedr, ac Ioan. Ac, yn ein hymdriniaeth â'r mater hwn, y mae yn amlwg y rhaid i ni gymmeryd yn ganiatäol ddilysedd yr ysgrifeniadau hyn, neu, mewn geiriau ereill, eu bod yn cynnwys adroddiad cywir o'r hyn a honid gan yr Apostolion gyda golwg arno. Nid ydyw hyny, ynddo ei hunan, yn golygu ein bod yn ein rhwymo ein hunain i dderbyn eu tystiolaeth fel gwirionedd; ond y mae yn golygu ein bod yn ein rhwymo ein hunain i ymgynghori â hwynt, rhoddi gwrandawiad arnynt, pwyso yn deg ac yn gywir y profion a ddygir ganddynt ger ein bron; caniatau, yn fyr, iddynt yr holl degwch a deilynga tystion yn ymddangos yn ddifrifol a diragrith, ac yn proffesu eu hunain yn gwbl gydnabyddus â'r hyn y tystiolaethir ganddynt am dano.

Gan mai ar eu tystiolaeth hwy y mae y prawf sydd genym o wirionedd y ffaith yn dibynu, a bod y ffaith

hono yn un mor bwysig, y mae yn dyfod yn gwestiwn, a ydyw y prawf sydd genym drosti yn un digonol? A allwn ni ddibynu ar y dystiolaeth, er rhoddi sicrwydd boddlonol i ni o wirionedd y ffaith? Yn ein hymchwiliad i hyn, ni a ddymunem sylwi:

1. Mai ffaith hanesyddol ydyw, neu yr honir ei bod, ac felly nad ydym i ddysgwyl ond prawf hanesyddol drosti. Nid ffaith mewn Rhifyddiaeth neu Fesuroneg, ac felly nid ydym i ddysgwyl prawf o'r un natur drosti ag a ofynir genym mewn Rhifyddiaeth neu Fesuroniaeth. Nid arbrawf nas gellir ei wadu na'i ammeu ac nas gall teimlad y galon ddim yn ei erbyn, fel sydd genym yn y gwyddonau pur; ond prawf hanesyddol; prawf felly yn cyfodi oddiar gymhariaeth o'r tystiolaethau, oddiar gymeriad y tystion; eu cydnabyddiaeth â'r amgylchiadau; eu dull yn tystio; yr amser y maent yn tystio; y lle y maent yn tystio; cysondeb eu hymddygiadau eu hunain âg ystyr a chynnwysiad eu tystiolaeth; y profion, od oes rhai, o'r tu allan iddynt hwy, o wirionedd y ffaith y maent yn tystio drosti; pob peth, yn fyr, a olygir yn angenrheidiol ac yn ddigonol er sefydlu y prawf o wirionedd unrhyw ffaith hanesyddol arall.

2. Ni a ddylem gofio, nad ydyw pa amrywiaeth bynnag a ddichon fod yn eu tystiolaethau gyda golwg ar *amgylchiadau y ffaith*, mewn un modd i'w gymmeryd yn milwrio yn erbyn grym eu tystiolaeth gyda golwg ar *wirionedd y ffaith ei hunan*, os ceir eu bod yn cytuno ar hyny. Yn wir, y mae rhyw gymmaint o amrywiaeth yn eu tystiolaethau gyda golwg ar yr amgylchiadau, yn ychwanegu at werth eu tystiolaethau dros y ffaith, gan y buasai cyd-eiriad manwl hollol yn mhob peth gyda golwg ar yr amgylchiadau, yn tueddu i daflu amheuaeth ar eu hannibyniaeth ar eu gilydd, ac i greu tybiaeth o'u bod wedi rhagfwriadu a rhag-gytuno â'u gilydd pa beth

a pha fodd i ddywedyd. Y mae yr amrywiaeth, felly, yn lle dirymu, yn cadarnhau eu cymeriad fel tystion.

3. Y mae yn amlwg nad oes genym unrhyw hawl i dderbyn eu tystiolaeth yn fympwyol, hyny yw, eu credu ar un peth a'u hannghredu ar beth arall, yn ol ein hewyllys ein hunain, oddieithr i ni eu cael yn eu gwrthddywedyd eu hunain, neu yn arddangos y fath annghysondeb â'u gilydd yn yr hyn a wrthoder genym, fel na byddai un casgliad arall yn deg, ond eu bod naill ai wedi camgymmeryd, neu ynte yn amcanu camarwain gyda golwg ar hyny.

Gan gadw mewn golwg yr egwyddorion hyn, mi a ddymunwn gael eich sylw at y gosodiadau canlynol, er prawf o wirionedd eu tystiolaeth i'r ffaith fawr o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu oddiwrth y meirw:—

I. Y mae testyn eu tystiolaeth yn gyfryw ag yr oeddent yn hollol gymhwys i roddi barn arno, ac i roddi hawl iddynt, yn ngwyneb profion boddlonol o'u didwylledd, i'n ffydd ninau yn ei gwirionedd.

Ac y mae hyn o bwys mawr. Nid rhoddi eu golygiadau yr oeddent ar ryw bwnc dyrys mewn hanesiaeth neu athroniaeth, neu gwestiwn cywrain mewn beirniadaeth, na buasai neb yn gymhwys i dystio arno heb fod yn meddiannu gwybodaeth neillduol ac arbenig yn y peth hwnw, yn ffrwyth ymchwil manwl i'r mater yn ei holl gysylltiadau, a hyny, fe ddichon, am flynyddoedd lawer. Nid dyna destyn eu tystiolaeth hwy; ond ffaith syml ac amlwg, nad oedd eisiau mwy er profi ei gwirionedd, i'r rhai oeddent wedi cael y fantais i hyny, na gweithrediad teg a chywir eu synwyrau cyffredin naturiol. Yr oedd yn ffaith, felly, ag yr oedd pysgodwyr môr Galilea, er heb gael dim manteision neillduol mewn dysgeidiaeth, ac yn cael eu hystyried yn anllythyrenog gan rai a gawsent y fath fanteision, yr oedd yn gyfryw ffaith,

meddaf, ag yr oeddent hwy yn llawn mor gymhwys i ffurfio barn ar ei gwirionedd a'r dynion mwyaf dysgedig yn y byd. Nid oeddent ond tystio fod un a adweinid yn dda ganddynt hwy, ond a roddesid i farwolaeth gyhoeddus ac a gladdesid mewn bedd adnabyddus, wedi adgyfodi; wedi ymddangos iddynt hwy; wedi ymddyddan â hwynt; wedi bwyta ac yfed gyda hwynt—wedi gwneuthur hyny laweroedd o weithiau, ac felly wedi rhoddi boddlonrwydd hollol i'w meddyliau hwy ei fod yn fyw drachefn.

Y mae yn wir fod rhai* yn dadleu nas gall unrhyw dystiolaeth gyrhaedd y goruwchnaturiol, nas gall ymestyn tu hwnt i ymddangosiadau neu deimladau; nas gall dyn dystio ond yr hyn a welodd, neu a glywodd, neu a deimlodd; a phan y dechreuo nodi achosion yr ymddangosiadau hyny, ac esbonio yr effeithiau naturiol trwy achosion goruwchnaturiol, ei fod yn gadael yr hyn sydd briodol i dyst, ac yn troi yn ddysgawdwr, ac felly yn colli pob hawl ar ein hymddiried fel *tyst*. Ond nid ydyw yr Apostolion mewn un modd yn gwneuthur hyny, yn ddim pellach nag y mae y ffaith ei hunan yn oruwchnaturiol, neu yn beth y tu allan i gylch cyffredin natur, ac felly, o angenrheidrwydd, yn ddwyfol. Tystiolaethu y maent hwy i'r ffaith—i'r hyn a welsent ac a glywsent,—fod yr hwn a laddesid ac a gladdesid yn fyw. Peth arall hollol oedd eu dysgeidiaeth hwy pa fodd y cymmerodd hyny le, yn gystal ag athrawiaeth y ffaith. Ac yn hyny, yn wir, nid oeddent hwy ond tystion, yn adrodd ac yn dysgu yr hyn a ddysgasid iddynt gan Grist ei hun.

II. Y mae holl hanes y tystion yn dangos fod yr annhebygolrwydd mwyaf,—heb ddywedyd yn awr

---

* Megis Mr. Baden Powell (*Essays and Reviews*, p. 107, 6th edition).

anmhosibilrwydd,—y gallasent lunio cydfradwriaeth er twyllo y byd yn y fath dystiolaeth, pe buasent yn amcanu at hyny.

Nid oes angenrheidrwydd ymhelaethu er prawf o hyn. Nid oedd yr Apostolion, oddigerth ychydig eithriadau, ond dynion o alluoedd naturiol cyffredin; yr oeddent, gan mwyaf, yn gwbl ddiddysg; yr oeddent yn perthyn i'r dosbarth isaf braidd, o ran eu hamgylchiadau, yn y wlad; yr oeddent wedi eu dwyn i fyny mewn syniadau hollol wahanol i'r syniadau ag yr oedd y ffaith ag y tystient drosti yn eu cadarnhau, ac yr oeddent yn nifer rhy fawr i gadw cyfrinach dwyllodrus heb ei datguddio. Y mae cynnifer o bethau yn milwrio yn erbyn y dybiaeth y gallasent fod mewn cydfwriad i dwyllo, trwy honi yrhyn y gwyddent nad oedd dim sail iddo, fel y mae yn ymddangos i ni, ni a ddywedwn yn awr, yn anmhosibl.

III. Yr oedd gan y tystion neillduol hyn y manteision goreu er eu diogelu rhag cael eu hunain eu twyllo yn yr hyn y tystiolaethid ganddynt am dano.

Nid ydym yn dywedyd hyn yn awr i brofi mai nid twyllo yr oeddynt; ond yn hytrach er dangos, os nad yw eu tystiolaeth yn haeddu derbyniad, nad ydym yn gweled pa fodd i'w rhyddhau hwy oddiwrth fod yn amcanu twyllo. Yr oeddent wedi gweled Iesu yn marw; yr oeddent wedi ei weled yn cael ei gladdu; gwyddent fod maen wedi ei ddodi ar enau y bedd, a bod sêl y Rhaglaw arno; a gwyddent fod y milwyr Rhufeinig wedi eu dwyn yno i wylio y bedd. Yr oeddent, heblaw hyny, yn hollol adnabyddus o'r Iesu; yr oeddent wedi bod yn ganlynwyr iddo, ac wedi byw gydag ef dros ystod ei weinidogaeth gyhoeddus; yr oedd ei holl ymddangosiad yn gwbl adnabyddus iddynt—ffurf ei ben, lliw ei wallt, lliw ei lygad, gwedd ei wyneb-pryd, tôn ei lais, maint

ei gorpholaeth, ei daldra, ei osgo yn cerdded,—pob peth a allasai fod yn fantais i'w sicrhau ai efe ei hunan ai rhyw un arall a ymddangosasai iddynt.

Heblaw hyny, yr oedd y profion a gawsent, yn ol eu tystiolaeth hwy, o'i adgyfodiad yn gyfryw ag nad oedd modd iddynt gael eu twyllo ynddynt. Yr oeddent wedi ei weled nid unwaith ond lawer gwaith; nid un o honynt a'i gwelsai, ond llawer o honynt, a'r llawer hyny gyda'u gilydd, ac yn ei weled yr un pryd; yr oeddent wedi ei weled nid o bell, ond yn eu hymyl; yr oeddent wedi ei weled nid yn y nos yn unig, ond yn y dydd hefyd; nid mewn un lle, ond mewn amrywiol leoedd,—yn y tŷ, ar y ffordd, wrth y môr, ar y mynydd; yr oeddent nid yn unig wedi ei weled, ond yr ydoedd wedi bod yn ymddyddan llawer â hwynt; teimlwyd ef ganddynt; yr oedd wedi bod yn bwyta ac yfed yn eu gŵydd; yr oedd wedi bod yn eu ceryddu oblegyd eu hwyrfrydigrwydd i gredu mai efe ydoedd; yr oedd wedi esbonio yr Ysgrythyrau iddynt, a dysgu iddynt wirioneddau mawrion ei grefydd; ac yr oedd wedi eu hawdurdodi hwy i fod yn dystion drosto yn mhlith yr holl genhedloedd ac hyd eithaf y ddaear; a chan ddodi ei ddwylaw arnynt a'u bendithio, yr ymadawodd oddiwrthynt, ac yr esgynodd i fyny i'r nef. Cawsant fel hyn bob mantais a allesid ddymuno er eu diogelu rhag twyll, ac er boddloni eu meddyliau yn gwbl yn ngwirionedd y ffaith a dystiolaethid ganddynt ei fod ef wedi adgyfodi. Nis gallasent gael profion cryfach.

IV. Yr oedd yr hyn a dystiolaethid ganddynt yn ymddangos, ar y cyntaf, iddynt hwy eu hunain, mor ddieithriol ac anhygoel, fel mai yn ngwyneb yr hwyrfrydigrwydd mwyaf, ac oddiar yr hyn a honid ganddynt hwy yn argyhoeddiad trwyadl yr ennillwyd hwynt i'w gofleidio.

Y mae hyn ar wyneb yr hanes sydd genym ni am danynt. Y mae anffyddiaid yn awr, gan mwyaf, yn addef fod yr Apostolion a'r dysgyblion cyntaf yn credu yn adgyfodiad yr Iesu, ond ar yr un pryd y maent yn annghredu y ffaith ei hunan. A'r modd y maent hwy yn ceisio cyfrif am grediniaeth yr Apostolion o honi ydyw, trwy ddywedyd eu bod yn gobeithio mor gryf ac yn dysgwyl mor ddyfal am ei adgyfodiad ef, nes, yn y teimladau yr oeddynt danynt, iddynt ddychymygu eu bod yn ei weled, ac yn raddol i gredu yn ddiysgog ei fod wedi ymddangos iddynt. Eithr y mae y dybiaeth hon yn hollol groes i'r hyn a ddywedir yn bendant gan y tystion eu hunain. Nid oeddent hwy yn dysgwyl iddo adgyfodi. Y mae hyny, yr ydym yn addef, yn hynod iawn, pan y cofiwn mor fynych yr oedd Iesu Grist wedi rhag-ddywedyd am ei farwolaeth a'i adgyfodiad, a hyny mewn geiriau mor eglur fel ag y gallesid tybied na buasai yn bosibl iddynt eu cam-ddeall: "O hyny allan y dechreuodd yr Iesu ddangos i'w ddysgyblion, fod yn rhaid iddo fyned i Jerusalem, a dioddef llawer gan yr henuriaid, a'r arch-offeiriaid, a'r ysgrifenyddion, a'i ladd, a chyfodi y trydydd dydd" (Matt. xvi. 21). A phan ydoedd yn myned i fyny gyda hwynt i Jerusalem y pryd y croeshoeliwyd ef, efe a lefarodd yr un mor eglur: "Wele yr ydym ni yn myned i fyny i Jerusalem; a Mab y dyn a draddodir i'r arch-offeiriaid a'r ysgrifenyddion, a hwy a'i condemniant ef i farwolaeth, ac a'i traddodant ef i'r cenhedloedd, i'w watwar, ac i'w fflangellu, ac i'w groeshoelio: a'r trydydd dydd efe a adgyfyd" (Matt. xx. 18, 19). (Marc x. 33; Luc xviii. 31.) Ac hyd yn nod y nos y bradychwyd ef, ar eu ffordd i Gethsemane, efe a ddywedodd wrthynt, "Chwychwi oll a rwystrir heno o'm plegid i; canys ysgrifenedig yw, Tarawaf y bugail, a defaid y praidd a

wasgerir. Eithr wedi fy adgyfodi, mi a âf o'ch blaen chwi i Galilea" (Matt. xxvi. 31, 32; Marc xiv. 27, 28). Yr oedd wedi rhag-ddywedyd ei adgyfodiad amrywiol weithiau wrthynt. Eithr y mae yn hynod y cawn yn gysylltiedig â'r adroddiad am y cyfryw rag-fynegiadau, eiriau felly: "A hwy ni ddeallasant ddim o'r pethau hyn; a'r gair hwn oedd guddiedig oddiwrthynt, ac ni wybuant y pethau a ddywedwyd" (Luc xviii. 34). Yr oeddent yn credu ynddo fel y Messiah a addawsid i'w tadau, ond nid oedd ganddynt un syniad am natur ei deyrnas, ac yn neillduol ei fod i esgyn i'w orsedd trwy farwolaeth. Yr oeddent hwy yn ei ddysgwyl yn frenhin daearol, i eistedd ar orseddfa Dafydd ei dad, i ddinystrio iau y Rhufeiniaid, a'u codi hwy yn ben-cenedl y byd; ac yr oedd y camsyniad yna yn nghylch natur ei deyrnas, yn myned rhwng eu meddyliau hwy âg ystyr amlwg ei eiriau gyda golwg ar ei farwolaeth a'i adgyfodiad. "Hyd yn hyn," meddai yr Efengylwr Ioan, wrth adrodd am dano ei hunan a'r Apostol Pedr, yn myned ac yn edrych y bedd, ac yn ei gael yn wag o'i gorph ef,—"Hyd yn hyn ni wyddent yr ysgrythyr, fod yn rhaid iddo gyfodi o feirw" (Ioan xx. 9). Yn ganlynol yr ydym yn cael ein Harglwydd, wedi ei adgyfodiad, yn eu ceryddu oblegyd eu hwyrfrydigrwydd i ddeall a derbyn y ffaith: "O ynfydion a hwyrfrydig o galon i gredu yr holl bethau a ddywedodd y prophwydi! Onid oedd raid i'r Crist ddioddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?" (Luc xxiv. 25, 26). "Felly yr ysgrifenwyd, ac felly yr oedd raid i'r Crist ddioddef a chyfodi o feirw y trydydd dydd" (Luc xxiv. 46). Ond nid oeddent hwy yn meddwl am ddim o'r fath. Wedi ei ddodi yn y bedd, yr oedd eu holl ddysgwyliadau wedi eu siomi. "Yr oeddem ni yn gobeithio mai efe oedd yr hwn a waredai yr Israel" (Luc xxiv. 21). Er clywed

gan y gwragedd ddywedyd o'r angylion wrthynt ei fod ef yn fyw, "Eu geiriau a welid yn eu golwg hwynt fel gwegi, ac ni chredasant iddynt" (Luc xxiv. 11). Er clywed ymddangos o hono i ddau o honynt, a hwy yn ymdeithio, ac yn myned i'r wlad, eto "ni chredent iddynt hwythau" (Marc xvi. 13). Ac wedi ymddangos o hono iddynt gyda'u gilydd, y maent yn brawychu, yn ofni, yn tybied weled o honynt ysbryd; ac er dangos o hono iddynt ei ddwylaw a'i draed, eto y maent heb gredu gan lawenydd (Luc xxiv. 37—41). Ac yr ydym yn cael fod un o honynt, Thomas, oedd yn absennol pan yr ymddangosodd, wedi clywed o hono gan y dysgyblion ereill eu bod wedi ei weled, oblegyd anhygoeledd y peth iddo ef, yn gwrthod eu tystiolaeth unfrydol, gan haeru na wnai dim ond prawf gweledig a theimladwy iddo ei hunan ei argyhoeddi ef (Ioan xx. 24, 25).

Y mae yr holl hanes yn dangos nad oedd dim rhagfwriad ynddynt i dwyllo; nad oedd dim yn yr hyn y tystiolaethid ganddynt am dano yn cyfarfod unrhyw rag-benderfyniad ynddynt, a'i tueddent i roddi pwys gormodol ar unrhyw ymddangosiad, nac i lunio chwedl gelwyddog er twyllo y byd; ond fod y dystiolaeth a ddygid ganddynt yn ffrwyth argyhoeddiad trwyadl eu meddyliau eu hunain o'i gwirionedd.

V. Y mae y fath wahaniaeth yn ymddygiadau y tystion eu hunain, wedi derbyn o honynt yr argyhoeddiad hwn, ag nas gellir cyfrif am dano ond trwy gydnabod ei ddidwylledd.

Y mae hyn yn amlwg i bawb a ddarlleno yr hanes. Yn ol cymmaint ag sydd yn ymddangos i ni am danynt cyn hyn, nid oeddent ond dynion llwfr, ofnus, ac anffyddlawn. Wedi dal eu hathraw, y maent hwy yn cael eu gwasgar,—"Yna yr holl ddysgyblion a'i gadawsant ef, ac a ffoisant" (Matt. xxvi. 56; Marc xiv. 50). Dacw un

o'r rhai dewraf o honynt, a'r hwn a'i canlynasai hyd yn llys yr arch-offeiriad, yn troi i'w wadu, gan dyngu a rhegi nad adwaenai mo hono. Ac wedi clywed hyd yn nod am ei adgyfodiad, y maent mor weiniaid fel y maent yn ymddangos â chywilydd arnynt i ddangos eu gwynebau. Y maent yn ymgynnull gyda'u gilydd mewn rhyw ystafell â'r "drysau yn gauad," rhag ofn yr Iuddewon, fel pe buasent yn teimlo, er eu holl barch iddo a gafael eu calonau ynddo, eu bod wedi ei golli am byth, ac nad oedd dim iddynt i'w ddysgwyl mwyach oddiwrtho ef. Eithr wedi ei adgyfodiad, ac yn enwedig wedi eu gwisgo ar ol ei esgyniad â nerth o'r uchelder—y mae y cyfnewidiad rhyfeddaf wedi cymmeryd lle ynddynt. Y mae yr hwn oedd yn rhy wan i'w arddel ger bron rhyw lances fechan, yn ei arddel ger bron yr holl ddinas; yn pregethu ei ddiniweidrwydd; yn honi ei Fessiaeth; yn cyhuddo y penaethiaid a'r llywodraethwyr o'i lofruddio, a hyny yn y modd mwyaf bradwrus ac ysgeler; a chyda'i gyfaill a'i gyd-apostol, Ioan, yn tystio yn ngŵydd y Cynghor Iuddewig, fod yn rhaid ufuddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion, ac yn llawen am eu cyfrif yn deilwng i ddioddef dirmyg er mwyn ei enw ef. Ac y mae yr holl Apostolion, yn ol geiriau ein testyn, "gyda nerth mawr yn dwyn tystiolaeth o adgyfodiad yr Arglwydd Iesu." Nid oedd werthfawr ganddynt eu heinioes eu hunain mewn cymhariaeth i ffyddlondeb iddo ef. Er fod holl alluoedd gwladol y byd yn eu herbyn, nid oeddent yn tycio dim er eu hattal yn eu tystiolaeth. Nid oedd bygythion yn eu dychrynu, nac addewidion yn eu llygru. Er eu cau mewn carcharau, eu rhwymo â chadwynau, eu fflangellu â gwïail, pentyru pob math o erlidiau arnynt, ac yn y diwedd eu lladd yn y modd mwyaf arteithiol a gwaradwyddus,—er y cwbl, nid oeddent yn newid dim, nac yn rhoddi un wedd newydd ar eu tystiolaeth, nac yn

addef unrhyw gam-gymmeriad. Y cwbl ellir dynu oddiwrthynt yw,—"Nis gallwn ni na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom" (Act. iv. 20).

Yn awr, onid yw yn hollol annheg ac yn hollol anathronaidd i ni fyned i ymofyn am unrhyw achos arall, dan yr amgylchiadau, i'r fath gyfnewidiad rhyfedd a thrwyadl yn eu hymddygiadau, ond yr achos a gyflwynir ganddynt hwy eu hunain, ac y tystiolaethent mor bendant drosto, fod eu Harglwydd wedi adgyfodi ac wedi ymddangos iddynt?

VI. Y maent yn dwyn y dystiolaeth hon dan yr amgylchiadau mwyaf manteisiol a allesid ddymuno i'w gelynion i'w gwrthbrofi, pe buasai yn ddisail.

Y mae yn amlwg fod yr amgylchiadau yn y rhai y byddo rhywbeth yn cael ei honi i'w hystyried o'r pwys mwyaf pan yn penderfynu y grediniaeth a deilynga yr honiad hwnw. Yn awr, edrycher ar y dystiolaeth hon am adgyfodiad yr Arglwydd Iesu, yn ngwyneb hyn:—

1. Y mae yn cael ei dwyn yn mlaen yn y *lle*, pe buasai yn dwyll, mwyaf manteisiol o bob lle yn y byd i'w gwrthbrofi. Pe buasai yr Apostolion wedi myned i ryw wlad ddieithr i gyhoeddi yr un mor bendant yr un ffaith, buasai eu tystiolaeth yr un mor eirwir, ond buasai yn anmhosibl byth i ni gael yr un prawf o'i gwirionedd ag sydd genym yn awr. Gallesid dadleu nad oeddent wedi son am y fath beth yn y lle y dywedent ddygwyddo o hono, a hyny am y rheswm goreu, y buasai y fath honiad yno yn cael ar unwaith ei wrthbrofi. Yn wir, pe buasent yn *dechreu* tystio fel hyn, hyd yn nod yn Galilea, y lle,—pe na buasai eu hadroddiad ond ffrwyth eu dychymyg eu hunain, neu amcan i dwyllo ereill,—y buasai yn fwyaf naturiol iddynt ddechreu, gallesid dwyn yr un wrthddadl yn eu herbyn. Ond yr oeddent hwy yn dechreu dwyn tystiolaeth o'i adgyfodiad yn nghyrhaedd ei fedd,

yn honi ei fod yn fyw yn ngolwg y bryn y lladdwyd ef arno, ac yn nghlyw y bobl a'u gwelsent ef yn farw; fel gwyr gonest, perffaith ymwybodol o'u diragrithrwydd eu hunain, ac o wirionedd yr hyn a dystiolaethid ganddynt, y maent yn eu gosod eu hunain yn agored i'r ymchwil manylaf, yn y lle mwyaf manteisiol i hyny, i gywirdeb eu tystiolaeth.

2. Y maent yn tystio hyn hefyd yn yr *amser* mwyaf manteisiol i wrthbrofi eu tystiolaeth os ydoedd yn ddisail.

Nid wedi i flynyddoedd lawer fyned heibio y dechreuasant honi adgyfodiad eu Harglwydd, wedi bod yn hollol ddistaw yn ei gylch o'r dechreu hyd hyny. Nid fel yr ydym yn cael Eglwys Rhufain yn honi, gyda golwg ar wyrthiau Francis Xavier, y cenhadwr pabaidd enwog. Nid yw hanesydd cyntaf ei fywyd ef yn son dim am danynt; ond yn mhen blynyddoedd lawer, pan oedd eisiau ei seintio gan yr eglwys, yr oedd y gwyrthiau wedi lliosogi yn gannoedd lawer. Eithr nid felly y cawn ni yr Apostolion yn ymddwyn gyda golwg ar y ffaith hon. Y maent yn dechreu ei chyhoeddi yn ddioedi, y naill i'r llall; ac yn mhen deng niwrnod a deugain wedi ei farwolaeth, y maent yn ei phregethu yn gyhoeddus ger bron holl ddinas Jerusalem, pryd yr oedd yr holl amgylchiadau cysylltiedig â'i angeu ef ar gôf gan yr holl bobl, a'r cyfleusderau goreu i chwilio i mewn i wirionedd y dystiolaeth, ac i'w gwrthbrofi os nad oedd sail iddi. Buasai dwyn ei gorph marw yn mlaen y pryd hwnw ar unwaith yn rhoddi terfyn ar honiadau yr Apostolion; ac ni buasai anhawsder gwneyd hyny, ac ystyried y lle y claddesid ef, os nad oedd eu tystiolaeth hwy yn wirionedd.

VII. Yr oeddent yn dwyn y dystiolaeth hon yn mlaen yn y fath fodd ag i osod yr arch-offeiriaid a'r llywodraeth-

wyr Iuddewig dan angenrheidrwydd hollol, mewn amddiffyniad i'w cymeriad eu hunain, i'w gwrthbrofi, od oedd yn bosibl gwneyd hyny.

Yr oedd eu tystiolaeth hwy yn cynnwys cyhuddiad yn erbyn y llywodraethwyr Iuddewig o lofruddiaeth hollol, —o roddi i farwolaeth, a hyny yn y modd mwyaf gwarthus a chreulawn, un o gymeriad sanctaidd a difeius, ac un ag yr oedd y profion cryfaf wedi eu cyflwyno ganddo ei fod wedi dyfod oddiwrth Dduw. Ac nid yn unig hyny, ond yr oedd eu tystiolaeth yn cynnwys nad oedd yr hwn a roddasid i farwolaeth ganddynt yn neb llai na'r Messiah a addawsid i'w tadau, ac yr oeddent trwy yr oesoedd wedi bod yn dysgwyl am dano, ac felly fod ei farwolaeth ef y drwg mwyaf a gyflawnwyd erioed. Yr oedd yr Apostolion yn tystio hyn yn y modd mwyaf pendant a difloesgni. Yr oedd y llywodraethwyr a phenaethiaid y bobl yn deall hyny, ac yn cydnabod eu bod yn cael eu cyhuddo felly ganddynt. "Yr ydych," meddent, "yn ewyllysio dwyn arnom ni waed y dyn hwn." Ond nid yw yr Apostolion yn lliniaru dim ar y cyhuddiad. "Duw ein tadau ni a gyfododd i fyny Iesu, yr hwn a laddasoch chwi, ac a groeshoeliasoch ar bren." "Chwi a wadasoch y Sanct a'r Cyfiawn, ac a ddeisyfasoch roddi i chwi ŵr llofruddiog; a Thywysog y bywyd a laddasoch, yr hwn a gododd Duw o feirw, o'r hyn yr ydym ni yn dystion." Yr oeddent fel hyn yn cael eu gosod dan angenrheidrwydd i wneyd pob ymdrech a allent er gwrthbrofi cyhuddiadau yr Apostolion od oedd bosibl iddynt, a buasai hyny yn hawdd iddynt pe gallasent wrthbrofi eu tystiolaeth am ei adgyfodiad. A gallasent wneuthur hyny yn eithaf hawdd trwy ddwyn ei gorph marw yn mlaen a'i ddangos i'r bobl. Buasai hyny ar unwaith yn profi fod yr Apostolion yn eu cam-gyhuddo gyda golwg

ar y rhan oedd ganddynt hwy yn ei farwolaeth, ac yn effeithio er bwrw i lawr yn hollol y dychymyg a gymhellid gan yr Apostolion ar y bobl, ei fod ef wedi adgyfodi.

Yr oedd y dystiolaeth, fe welir, am ei adgyfodiad yn cael ei gwneyd yn y fath fodd ag i osod angenrheidrwydd ar y llywodraethwyr Iuddewig i'w gwrthbrofi pe buasai yn ddisail. Ond nid oeddent yn amcanu gwneuthur un math o amddiffyniad iddynt eu hunain, heblaw cyhuddo yr Apostolion o'u bod yn eu cyhuddo hwy o lofruddiaeth, tra, ar yr un pryd, y maent yn cydnabod eu bod wedi "llenwi Jerusalem â'u hathrawiaeth."

VIII. Yr oedd yr Apostolion yn dwyn y dystiolaeth hon yn mlaen mewn cysylltiad â chyfundraeth hollol annghydweddol â thwyll.

Nid oeddent yn honi adgyfodiad Crist fel ffaith arni ei hunan yn annibynol ar unrhyw addysg, ond fel cadarnhad o'r eiddynt i'w hawdurdod yn yr athrawiaeth a bregethid ganddynt, ac fel y cymhelliad cryfaf i'r rhinweddau dysgleiriaf a mwyaf dyrchafedig. Tystio yr oeddent i wirionedd ffaith, ond yr oedd yn gysylltiedig â hi, ac yn seiliedig arni, athrawiaethau ac addysgiadau oeddent yn cynnwys y condemniad cryfaf ar bob peth croes i burdeb a gwirionedd. Yr oedd eu Harglwydd, yn ol eu tystiolaeth hwy eu hunain, yn gyfryw un na chafodd neb ynddo ddim bai,—"ni wnaeth bechod ac ni chaed twyll yn ei enau;" ac yn ei weinidogaeth cyhoeddai y bygythion trymaf yn erbyn geuder a rhagrith. Ac felly hwythau, yn eu haddysgiadau yn ddilynol iddo; cymhellent onestrwydd a geirwiredd, a chondemnient dwyll a chelwydd gyda'r difrifwch mwyaf. Ac yr oedd eu buchedd gyffredin y fath fel yr oeddent yn gallu apelio yn ëon at y rhai y llafurient yn eu plith,

mor ddihocced a dichlynaidd oedd eu holl ymarweddiad. "Tystion ydych chwi a Duw hefyd, mor sanctaidd ac mor gyfiawn a diargyhoedd yr ymddygasom yn eich mysg chwi y rhai ydych yn credu." Gellid dychymygu, fe allai, am y posibilrwydd i rai, am ryw gymmaint o amser, ddioddef erledigaethau a gwaradwydd, gan haeru fel ffaith y peth y gwyddent nad oedd ond celwydd, pe buasai ganddynt ryw sail i gredu fod sicrwydd y derbynient at-daliad am y twyll trwy hapusrwydd diddarfod mewn byd arall; ond yma, yn ol eu haddysg hwy eu hunain, yr oedd twyll yn arwain yn sicr i drueni. Dysgent y byddai "rhan yr holl gelwyddwyr yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan," ac nad elai i mewn i'r Jerusalem sanctaidd "ddim yn gwneuthur ffieidd-dra na chelwydd." Mae yn eglur oddiwrth adroddiadau rhai o honynt hwy eu hunain, ac oddiwrth dystiolaethau eu cyd-oeswyr, fod y tystion cyntaf wedi dioddef pob anmharch, cymmeryd eu hysbeilio o'u meddiannau, cael eu herlid o ddinas i ddinas, eu carcharu, a'u fflangellu, o herwydd eu hymlyniad wrth eu tystiolaeth am Adgyfodiad Crist,—tystiolaeth, cofier, nid o blaid nifer o opiniynau neu syniadau, ond er cadarnhad ffaith yr oedd ganddynt bob cyfleusdra a phob cymhwysder i farnu am ei gwirionedd neu ei geuder. Os oeddent yn tystio yr hyn y gwyddent nad oedd wir, truanaf, yn sicr, o'r holl ddynion oeddent—truanaf yn y byd hwn, ac, yn ol eu dysgeidiaeth hwy am ran twyllwyr, truanaf o bawb mewn sefyllfa ddyfodol. I ba bwrpas y buasent yn tystio, pan na fuasent ond yn dwyn iddynt eu hunain bob anfantais ac annghysur yn y byd hwn, a sicrwydd o drueni digymmysg yn y byd a ddaw? Onid afresymol hollol ydyw meddwl am ddynion yn twyllo er mwyn sefydlu cyfundraeth sydd yn condemnio twyll fel y drygioni penaf?

Fe gofir nad ydym yn y sylwadau hyn yn edrych ar Adgyfodiad Crist ond yn ngoleuni tystiolaeth yr Apostolion, heb gymmeryd i ystyriaeth yn awr y profion lliosog sydd yn cadarnhau eu tystiolaeth,—megis y derbyniad cyffredinol a roddwyd iddi, hyd yn nod yn y gymmydogaeth lle yr honid fod yr Iesu wedi adgyfodi; sefydliad a pharhad Sacramentau yr Eglwys a'r Sabbath Cristionogol, sydd yn anesboniadwy heb eu holrhain i addefiad a derbyniad o wirionedd yr Adgyfodiad. Erbyn cymmeryd yr holl brofion gyda'u gilydd, gosodir sicrwydd Adgyfodiad ein Harglwydd o'r bedd, fel ffaith hanesyddol, ar seiliau cadarnach nag sydd i unrhyw amgylchiad arall a goffeir o fewn holl gylch hanesiaeth; ac anmhosibl, dybygem, ydyw osgoi y casgliad nad oes un rheswm dros waith yr Apostolion yn dwyn tystiolaeth iddi ond yr un a roddwyd ganddynt hwy eu hunain, "Ni allwn ni na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom."

---

## PREGETH V.

### Yr Apostol Paul yn Esiampl o Ras Duw.

1 Cor. xv. 10.

"*Eithr trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf.*"

Mae yr Apostol yn cael ei arwain i'r datganiad hwn oddiar yr ystyriaeth o'r anrhydedd mawr a osodasid arno yn ei neillduad i'r swydd apostolaidd, a'r dewisiad a wnaethid o hono fel y cyfryw i fod yn un o'r tystion arbenig, yn ol ordeiniad Duw, o adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw. Mae yn dwyn hyny i mewn yn y lle hwn er cyfarfod syniadau rhyw rai yn Corinth a wadent adgyfodiad y meirw. Nid ydyw yn hollol sicr pwy a allai y rhai hyny fod, ond y mae yn dra thebygol mai rhai o'r dychweledigion o blith y cenhedloedd oeddent,—y rhai, er eu bod wedi eu hennill i gofleidio Cristionogaeth, oeddent yn parhau i fesur dan ddylanwad yr ysbryd, oedd gyffredin i'r meddwl Groegaidd, o beidio credu dim ond y gallasid rhoddi cyfrif rhesymol am dano. Mae yr Apostol yn cyfarfod y gwadwyr hyn mewn dull annghyffredin o gampus, rhywbeth sydd yn ymddangos yn wir yn cyfranogi o ysbryd athroniaeth oreu y dyddiau presennol. Mae yn seilio y prawf o bosibilrwydd yr adgyfodiad ar y ffaith fawr fod Iesu Grist wedi adgyfodi; ac y mae yn seilio y sicrwydd o wirionedd y ffaith ar dystiolaethau y rhai a'i gwelsent ef wedi iddo adgyfodi,—Cephas—y deuddeg—pum' cant brodyr ar unwaith—Iago—yr holl Apostolion—"Ac yn ddiweddaf oll y gwelwyd ef genyf finau hefyd." Nid ydyw yn sicr at ba amgylchiad y cyfeiria yr Apostol yma—pa adeg y gwelsai efe Iesu Grist, pa un ai ar

y ffordd i Damascus, ai yn y weledigaeth yn y deml yn Jerusalem, a'i ynte pan y cipiwyd ef i baradwys; pa fodd bynnag fe'i gwelwyd ganddo. "Oni welais i," meddai, mewn lle arall, "Iesu Grist?" "Fe'i gwelwyd ef genyf finau hefyd, megis gan un annhymmig"—fel un wedi ei eni allan o'r amser priodol. Felly yr ydwyf fi yn fy ystyried fy hun yn mhlith yr Apostolion. "Canys myfi yw y lleiaf o'r Apostolion," o ran fy nheimlad a'm profiad a'm teilyngdod fy hunan, "yr hwn nid wyf addas i'm galw yn Apostol, am i mi erlid eglwys Dduw." Y mae adgofio yr hyn a fûm, yr ysbryd erlidgar a'm llywodraethai, a'r blinderau a berais i'r saint, yn fy narostwng, yn fy llethu,—nes peri i mi gywilyddio o honwyf fy hunan yn yr anrhydedd mawr sydd wedi ei osod arnaf.

"Eithr trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf"—pa gyfnewidiad bynnag sydd wedi ei effeithio arnaf, y mae i'w briodoli, nid i mi, ond yn gwbl i ras dwyfol,—daioni rhydd anhaeddianol yr Anfeidrol, heb ddim ynof fi i'w ryglyddu. Ond fel cydnabyddiaeth o'i rwymau i ras, a rhag i'w wrthwynebwyr yn Corinth, y rhai oeddent mor awyddus am ei ddarostwng, gymmeryd achlysur i hyny oddiwrth y datganiad hwn o'i deimlad, y mae yn ychwanegu: "A'i ras ef, yr hwn a roddwyd i mi," a amlygwyd tuag ataf fi, "ni bu yn ofer,"—yn wâg, yn ddieffaith, yn ddiddylanwad, "ond mi a lafuriais yn helaethach na hwynt oll,"—naill ar wahan neu gyda'u gilydd,—plennais fwy o eglwysi, dychwelwyd mwy trwof i'r ffydd, y mae genyf fwy o blant yn Nghrist; "mi a lafuriais yn helaethach na hwynt oll"; ond, gan gofio eilwaith ei rwymau i ras, y mae yn ychwanegu: "Ac nid myfi chwaith, ond gras Duw, yr hwn oedd gyda mi,"—yn cydfyned â'm llafur, ac yn unig yn peri fod llwyddiant arno.

Y mater sydd yn awr yn dyfod dan ein sylw oddiwrth y geiriau ydyw, YR APOSTOL PAUL YN ESIAMPL O RAS DUW.—"Trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf." Ac ni allwn gymmeryd hyn mewn tri golygiad: "Trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf":—

I. O ran fy nghymeriad personol.

II. O ran fy nghymhwysderau swyddol.

III. O ran fy llwyddiant gweinidogaethol.

I. O ran fy nghymeriad personol. Y mae yn amlwg fod hyn o flaen ei lygaid yma, oblegyd yn y geiriau blaenorol i'r testyn, fel y sylwasom mewn rhan eisoes, y mae yr ystyriaeth o'r anrhydedd a osodasid arno yn ei swydd fel Apostol yn cynnyrchu teimlad o'r annheilyngdod mwyaf, oddiar adgof o'r hyn a fuasai unwaith: "Nid wyf addas i'm galw yn Apostol, am i mi erlid eglwys Dduw." A hyn yn ddiammeu, wedi ei droedigaeth, oedd ei deimlad cyffredin. Yr ydym yn fynych yn ei gael yn cyfeirio at yr hyn ydoedd cyn ei ddychweliad, ac yn defnyddio yr ymadroddion cryfaf er gosod allan nerth yr elyniaeth oedd ynddo y pryd hyny tuag at Iesu Grist a'i achos; ac y mae gan amlaf, os nad bob amser, yn gwneuthur hyny er canmol a dyrchafu y gras oedd wedi effeithio cyfnewidiad mor fawr arno. "Yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, yn erlidiwr, yn drahaus"; "yr hwn oedd gynt yn eu herlid hwynt." "Y ffydd, yr hon gynt a anrheithiasai." "O Arglwydd, hwy a wyddant fy mod i yn carcharu ac yn baeddu yn mhob synagog, y rhai a gredant ynot ti; a phan dywalltwyd gwaed Stephan, dy ferthyr di, yr oeddwn i hefyd yn sefyll gerllaw, ac yn cydsynio i'w ladd ef, ac yn cadw dillad y rhai a'i lladdent ef." "Mi a erlidiais y ffordd hon hyd angeu, gan rwymo a dodi yn ngharchar wŷr a gwragedd hefyd." "Minau yn wir a dybiais ynof fy hun fod yn rhaid i mi wneuthur llawer o bethau yn

erbyn enw Iesu o Nazareth: yr hyn hefyd a wnaethum yn Jerusalem: a llawer o'r saint a geuais i mewn carcharau, wedi derbyn awdurdod gan yr arch-offeiriaid; ac wrth eu difetha, mi a roddais farn yn eu herbyn";—ac a hwy wedi eu dwyn gerbron i'w difetha, mi a roddais fy mhleidlais i'w herbyn,—naill ai fel aelod ei hunan o'r Senedd, neu ynte trwy gydsynio â, a chymmeradwyo dedfryd y Senedd. "Ac yn mhob synagog yn fynych mi a'u cospais hwy, ac a'u cymhellais i gablu; a chan ynfydu yn fwy yn eu herbyn, mi a'u herlidiais hyd ddinasoedd dieithr hefyd." Fel hyn y mae efe yn ei ddarlunio ei hunan. Nid yw mewn un modd yn ceisio lleihau ei ddrwg; y mae yn amlwg yn canfod ynddo yr ysgelerder mwyaf; ac yn yr adgof o'i ymddygiadau gynt y mae yn ei deimlo ei hunan "y penaf o bechaduriaid," "y lleiaf o'r Apostolion," a'r "llai na'r lleiaf o'r holl saint." Yr un modd y mae Luc, yn Llyfr yr Actau, yn ei ddarlunio, ac y mae bron yn ddiddadl fod darluniad Luc wedi ei godi o'r adroddiad a gawsai gan yr Apostol ei hunan. Pan y llabyddiwyd Stephan, "Saul oedd yn cytuno i'w ladd ef." "Bu erlid mawr ar yr eglwys oedd yn Jerusalem," "Saul oedd yn anrheithio yr eglwys, gan fyned i mewn i bob tŷ, a chan lusgo allan wŷr a gwragedd, efe a'u rhoddes yn ngharchar." "A Saul eto yn chwythu bygythion a chelanedd yn erbyn dysgyblion yr Arglwydd." "Chwythu," fel hen sarph wenwynig; neu anadlu i mewn, fel pe mai bygythion a chelanedd, llid a malais, at ddysgyblion yr Arglwydd oedd yr awyr yn yr hon yr ydoedd yn byw. Dan ddylanwad yr elyniaeth a'i llywodraethai "efe a aeth at yr arch-offeiriad," o hono ei hunan, heb neb yn ei gymmell, yn gwbl wir foddol,—"ac a ddeisyfodd," erfyniodd, taer erfyniodd, ni fynai ei omedd, "ganddo lythyrau i Damascus at y synagogau, fel os cai efe neb o'r ffordd hon, na gwŷr na

gwragedd, y gallai efe eu dwyn hwy yn rhwym i Jerusalem." Dyma y llun oedd arno ef unwaith. Yn awr, nid oes dim amlycach na bod yr Apostol yn priodoli y cyfnewidiad a wnaed arno ef yn hollol i'r Arglwydd, ac i'r Arglwydd o'i ras. Yr oedd adeg ac amgylchiadau a dull ei droedigaeth yn ei arwain ef yn arbenig i deimlo ac i synio felly. Yr oedd y troedigaeth a gawsai ar ganol yr erlid; yr awdurdod ganddo oddiwrth yr archoffeiriad i hyny; pan yn agos i Damascus, pan oedd ar warthaf ei ysglyfaeth, yn edrych rhagddo am foddhad buan i'w falais a'i lid at achos Iesu o Nazareth, ac yn addaw iddo ei hunan ddyrchafiad mawr yn meddwl ei gyd-genedl fel un o'r rhai ffyddlonaf i grefydd ei henafiaid, a'r mwyaf ymdrechgar yn mhlaid traddodiadau y tadau. "Yn hyn," ar ganol erlid, "a myfi yn myned i Damascus—ar hanner dydd, O frenhin, ar y ffordd, y gwelais oleuni o'r nef, mwy na dysgleirdeb yr haul, yn dysgleirio o'm hamgylch. Mi a glywais leferydd yn llefaru wrthyf yn Hebraeg, Saul, Saul, paham yr ydwyt yn fy erlid i?" I hyn yn gwbl yr oedd efe yn priodoli y cyfnewidiad oedd wedi ei effeithio arno. Y mae yn wir fod rhai wedi ceisio defnyddio yr hyn a ddywedir gan yr Apostol ei hunan yn adnod y testyn,—"a'i ras ef yr hwn a roddwyd i mi, ni bu yn ofer,"—er ceisio gwrthbrofi yr hyn y mae yn amlwg yn ddysgu; fel pe mai ei amcan fuasai priodoli y gwahaniaeth neillduol oedd rhyngddo ef ag eraill i'r defnydd gwell a wnaethid ganddo ef o ras Duw,—bod Duw yn wir yn rhoddi gras i bawb,—ond fod yn dibynu ar y defnydd a wneir gan y dyn ei hunan o hwnw, pa un a gedwir ef ai peidio, ac fod Paul yn yr iawn ddefnydd o ryddid ei ewyllys wedi gwneuthur hyny, ac felly nad oedd y gras a gawsai wedi bod yn ofer iddo.

Ond y mae hynyna yn gamolygiad dirfawr ar feddwl

yr Apostol,—oblegyd at y gras gweinidogaethol,—neu y wedd ar ras Duw tuag ato ag oedd er gwasanaeth i ereill, y mae yn amlwg yn cyfeirio pan y dywed am y gras a roisid iddo nad oedd wedi bod "yn ofer." Ac hyd yn nod gyda golwg ar hwnw, y mae yn ymwrthod yn gwbl á phob ymhoniad fod iddo ef ei hunan un gyfran yn y llwyddiant, ac y mae yn priodoli y cwbl i ras Duw: "Ac nid myfi chwaith, ond gras Duw yr hwn oedd gyda mi."

Mae yn deilwng o sylw ei fod yn wastadol yn priodoli y cyfnewidiad, nid yn unig i allu dwyfol, ond i ras dwyfol: "Mi a gefais drugaredd"; "Pan welodd Duw yn dda ddatguddio ei Fab ef ynof fi"; "A'm galwodd i trwy ei ras"; "Yr hwn a'n hachubodd ni, ac a'n galwodd â galwedigaeth sanctaidd, nid yn ol ein gweithredoedd ni, ond yn ol ei arfaeth ei hun a'i ras"; "nid o weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, eithr yn ol ei drugaredd yr achubodd efe nyni." Mewn gwirionedd yr oedd yn teimlo fod y cyfnewidiad a wnaethid arno mor fawr fel nas gallasai gael un achos arall i roddi cyfrif am dano. Y mae y Pharisead balch a hunan-gyfiawn yn awr "y penaf o bechaduriaid"; yr hwn oedd "gynt yn fyw heb y ddeddf," yn awr â'i ymdrech ar ei gael yn Nghrist "heb ei gyfiawnder ei hun"; yr hwn "a dybiai ynddo ei hun fod yn rhaid iddo wneuthur llawer o bethau yn erbyn enw Iesu o Nazareth," ac a gymhellai ei ganlynwyr i'w gablu, yn awr yn ymffrostio yn ei groes ef. Yn lle cablu Crist, y mae y pethau oedd elw iddo yn golled er ei fwyn; y mae pob peth yn golled o herwydd ardderchawgrwydd ei wybodaeth am dano; ei nôd mawr yw ennill Crist,—ei adnabod ef, a grym ei adgyfodiad, a chymdeithas ei ddioddefiadau, gan gael ei gydffurfio â'i farwolaeth. Yn lle cymmell ereill i'w gablu, y mae yn

y gwewyr mwyaf am i Grist gael ei ffurfio ynddynt,—yn ymdrechu cyflwyno pob dyn yn berffaith yn Nghrist Iesu. Yn lle anrheithio y ffydd, nid yw yn gwneuthur cyfrif o ddim os gall orphen ei yrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniodd. Y mae yn barod, nid yn unig i ddioddef yn Jerusalem, ond i farw er mwyn enw yr Arglwydd Iesu; yn lle erlid y saint, nid yw yn fyw ond pan y maent hwy yn sefyll yn yr Arglwydd; y mae yn llawenhau oblegyd ei ddioddefiadau drostynt. Yr oedd unwaith yn erlid hyd angeu; ond yn awr, y mae Crist yn fywyd iddo, ac y mae yn dymuno marw er mwyn cael myned ato i fyw.

Nid oedd ganddo ef un deongliad i'w roddi ar gyfnewidiad mor fawr ond yn unig gras Duw,—"Trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf." Yn wir, yr oedd yr amlygiad o'r gras a ddangosasid tuag ato ef yn ei droedigaeth, wedi gadael y fath argraff ar ei feddwl nes gosod y nodwedd hwn ar bob peth yr iachawdwriaeth—"Etholedigaeth gras;" "Galwedigaeth . . . . yn ol ei arfaeth ei hun a'i ras;" "Cyfiawnhad, yn rhad trwy ei ras ef;" "y gras hwn yn yr hwn yr ydym yn sefyll;" "Maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef." Mabwysiad—"Wedi ein rhagluniaethu ni i fabwysiad trwy Iesu Grist iddo ei hun, yn ol boddlonrwydd ei ewyllys ef, er mawl gogoniant ei ras ef." Ffydd—"O ffydd y mae, fel y byddai yn ol gras." "Gobaith—da trwy ras." Yr Efengyl—"Gras Duw sydd yn dwyn iachawdwriaeth i bob dyn." Proffes o'r Efengyl—"Yr hwn a'ch galwodd i ras Crist." Athrawiaeth yr Efengyl—"Chwi a syrthiasoch ymaith oddiwrth ras." Rhinweddau yr Efengyl—"Ymhelaethu yn y gras hwn hefyd." Bendithion a chysuron yr Efengyl—"Gras fyddo gyda phawb sydd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist mewn purdeb."

Yn awr, y mae yr hyn a ddywedir gan Paul yma am

dano ei hunan yn cael ei ddysgu ganddo megis gwirionedd cyffredinol am holl bobl Dduw, ac yn deimlad calon pob credadyn,—"Ei waith ef ydym, wedi ein creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da." "A chwithau a fywhaodd efe pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau." "Yr oeddem ni wrth naturiaeth yn blant digofaint megis ereill. Eithr Duw, yr hwn sydd gyfoethog o drugaredd, o herwydd ei fawr gariad â'r hwn y carodd efe ni, ïe, pan oeddem feirw mewn camweddau, a'n cyd-fywhaodd ni gyda Christ (trwy ras yr ydych yn gadwedig), ac an cyd-gyfododd ac a'n gosododd i gyd-eistedd yn y nefolion leoedd, yn Nghrist Iesu; fel y gallai ddangos yn yr oesoedd a ddeuai ragorol olud ei ras ef, trwy ei gymmwynasgarwch i ni yn Nghrist Iesu. Canys trwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd; a hyny, nid o honoch ei hunain, rhodd Duw ydyw." Os ydych yn sylwi, gan mor gyflawn oedd ei feddwl o'r argyhoeddiad, a'i galon o'r teimlad, o'r graslonrwydd dwyfol, y mae yn ei ddwyn i mewn cyn yr amser ag y buasai yn dyfod i mewn yn rheolaidd, yn ol trefn y cyfansoddiad. Y mae, gan mor lawn yw ei galon o hono, yn methu aros heb dori ar draws rheolau goreu ysgrifenu, ac yn taflu allan, megis rhwng cromfachau, y syniad fod eu cadwedigeeth yn gwbl o ras. Mewn gwirionedd, nid oes un cyfrif arall i'w roddi am gadwedigaeth neb. Megis ag y rhaid olrhain trefnu Gwaredwr i ddynion syrthiedig, ragor angylion, yn unig i ras,—neu anfoniad yr Efengyl i Brydain ragor China, yn hollol i ras; felly y mae ennill calon pob pechadur a gedwir yn yn unig i'w olrhain i'r un ffynnonell.

Yr un gras sydd yn cynnal, yn nerthu, yn arwain, ac yn parhau i ymgeleddu hyd berffeithiad y gwaith da. Nid oes ond y gras sydd yn Nghrist Iesu i ymnerthu ynddo yn ngwyneb pob cystudd sydd i'w oddef; a

"Digon i ti," meddai Duw wrth ei blentyn, "fy ngras i," yn ngwyneb pob ymosodiad o eiddo y gelyn arno; a phan y byddo perygl oddiwrth athrawiaethau amryw a dieithr—"da yw bod y galon wedi ei chryfhau â gras"; ac yn ngwyneb angen adnewyddiad a phrofiad o hen-eidd-dra ysbryd gyda chrefydd, y mae yn bosibl cael "ail ras."

Dyma brofiad pob dyn duwiol. Y mae yn cael ynddo ei hunan ddefnyddiau pob drwg, ac nis gall briodoli un gwahaniaeth rhyngddo ef ag ereill iddo ei hunan, ond yn gwbl i ras y Nefoedd. Pan y canfyddai Bradford, y merthyr, ryw un yn myned i'r carchar neu i'r dien-yddle, efe a arferai ddywedyd, "Dacw John Bradford, oni buasai gras Duw." Nid oes gan neb le i ymffrostio yn ei grefydd. "Pwy sydd yn gwneuthur rhagor rhyngot ti ag arall? a pha beth sydd genyt a'r nas derbyniaist? Ac os derbyniaist, paham yr wyt ti yn gorfoleddu megis pe bait heb dderbyn?"

"Trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf,"

II. O ran cymhwysderau swyddol. At hyn, dybygid, yr oedd cyfeiriad uniongyrchol yr Apostol yn y lle hwn. Fel y sylwasom eisoes, ystyriaeth o'r anrhydedd mawr a osodasid arno yn ei ddyrchafiad i'r swydd apostolaidd, yn enwedig yn yr adgof o'r hyn a fuasai unwaith, a'i harweiniodd i wneyd y datganiad hwn: "Canys myfi yw y lleiaf o'r Apostolion; yr hwn nid wyf addas i'm galw yn Apostol, am i mi erlid eglwys Dduw." "Eithr trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf." Gras Duw yn unig a'm cododd i'r swydd, ac a'm haddurnodd â pha gymhwysderau bynnag a berthyn i mi ynddi. Nid rhedeg iddi o honof fy hunan a wnaethum. Duw sydd wedi fy ngosod, ac fe'm gosododd o'i ras. Fel hyn y mae yn wastadol yn llefaru am y swydd yr ydoedd ynddi. A ddarfu i chwi sylwi ar y modd y mae yn dechreu agos

ei holl epistolau? "Paul, Apostol, nid o ddynion, na thrwy ddyn, eithr trwy Iesu Grist, a Duw Dad." "Paul, gwasanaethwr Iesu Grist, wedi ei alw i fod yn Apostol, ac wedi ei neillduo i Efengyl Duw." "Paul, wedi ei alw i fod yn Apostol trwy ewyllys Duw." "Paul, Apostol Iesu Grist, trwy ewyllys Duw." "Paul Apostol Iesu Grist, yn ol gorchymyn Duw ein Hiachawdwr, a'r Arglwydd Iesu Grist, ein gobaith." Ac felly yn wastad y mae yn honi mai Duw a'i danfonodd. "Y weinidogaeth a dderbyniais gan yr Arglwydd Iesu." "Yr Efengyl, i'r hon y'm gwnaethpwyd i Paul yn weinidog,"—"i'r hon y'm gwnaethpwyd i yn weinidog, yn ol goruchwyliaeth Duw, yr hon a roddwyd i mi tuag atoch chwi i gyflawni gair Duw." "A phob peth sydd o Dduw, yr hwn a'n cymmododd ni âg ef ei hun trwy Iesu Grist, ac a roddodd i ni weinidogaeth y cymmod." "Ac wedi gosod ynom ni air y cymmod." Ac nid yn unig yr oedd yn edrych arno ei hunan yn y swydd trwy alwad Duw, trwy osodiad Duw, trwy ewyllys Duw, trwy neillduad Duw, trwy oruchwyliaeth Duw, trwy orchymyn Duw, ond y mae yn gosod arbenigrwydd neillduol ar y graslonrwydd dwyfol a ddangosasid tuag ato yn ei osodiad ynddi. "Os clywsoch am oruchwyliæth gras Duw, yr hon a roddwyd i mi tuag atoch chwi." "Yr Efengyl, i'r hon y'm gwnaed i yn weinidog, yn ol rhodd gras Duw, yr hwn a roddwyd i mi yn ol grymus weithrediad ei allu ef." "I mi, y llai na'r lleiaf o'r holl saint, y rhoddwyd y gras hwn, i efengylu yn mysg y cenhedloedd anchwiliadwy olud Crist." "Ond pan welodd Duw yn dda, yr hwn a'm neillduodd i o groth fy mam, ac a'm galwodd i trwy ei ras, ddatguddio ei Fab ef ynof fi, fel y pregethwn ef yn mhlith y cenhedloedd." "Trwy y gras a roddwyd i mi gan Dduw, fel y byddwn weinidog i Iesu Grist at y cenhedloedd."

Yr oedd yr Apostol yn edrych arno ei hunan wedi cael anrhydedd a dyrchafiad mawr yn yr ymddiried a roddasid iddo am yr Efengyl. "Yr ydym ni yn genhadau dros Grist." "Yn gymmaint a'm bod i yn Apostol y cenhedloedd, yr wyf yn mawrhau fy swydd." "Canys nid oes arnaf gywilydd o Efengyl Crist." "Na fydded arnat gywilydd o dystiolaeth ein Harglwydd (tystiolaethu am ein Harglwydd), nac o honof finau ei garcharor ef (a wnaed ganddo ef yn garcharor); eithr cyd-oddef di gystudd â'r Efengyl," neu cyd-oddef gystuddiau â mi yn, neu dros, yr Efengyl,—"yr Efengyl i'r hon y'm gosodwyd i yn bregethwr, ac yn Apostol, ac yn athraw y cenhedleedd. Am ba achos yr ydwyf yn dioddef y pethau hyn; ond nid oes arnaf gywilydd; canys mi a wn i bwy y credais; ac y mae yn ddiammeu genyf ei fod ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw." "Efengyl gogoniant y bendigedig Dduw, am yr hon yr ymddiriedwyd i mi. Ac yr ydwyf yn diolch i'r hwn a'm nerthodd, sef Crist Iesu ein Harglwydd, am iddo fy nghyfrif yn ffyddlon, gan fy ngosod yn y weinidogaeth, yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr," &c. Fe'm cyfrifodd yn un y gellid rhoddi ymddiried ynddo, yn un teilwng o ymddiried, er fy mod y fath un, ond fe roes ei drysor gwerthfawrocaf dan fy ngofal—"Yr ydwyf yn diolch" iddo.

Yr ydoedd yn priodoli pob peth oedd ynddo yn ei addasu i'r gwaith mawr yn gwbl i raslonrwydd Duw. "Barn yr ydwyf yn ei roi, fel un a gafodd drugaredd gan yr Arglwydd i fod yn ffyddlawn." "Nid o herwydd ein bod yn ddigonol o honom ein hunain, i feddwl dim megis o honom ein hunain; eithr ein digonedd ni sydd o Dduw, yr hwn hefyd a'n gwnaeth ni yn weinidogion cymhwys (digonol) y Testament Newydd." "Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?" "Yr ydym ni yn ddigonol,"

ond efe a'n gwnaeth ni felly. "Yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu, gan rybuddio pob dyn, a dysgu pob dyn yn mhob doethineb; fel y cyflwynom bob dyn yn berffaith yn Nghrist Iesu; am yr hyn yr ydwyf hefyd yn llafurio, gan ymdrechu yn ol ei weithrediad ef, yr hwn sydd yn gweithio ynof fi yn nerthol." Y mae yn olrhain y cwbl ag ydoedd fel gweinidog i ras. "Trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf."

Yn awr, y mae yr hyn a dystiolaethir fel hyn gan yr Apostol mor bendant am dano ei hunan yn cael ei ddysgu ganddo fel gwirionedd cyffredinol yn ei gysylltiad â'r holl eglwys:—"Gan fod i ni amryw ddoniau, yn ol y gras a roddwyd i ni." "I bob un o honom y rhoed gras yn ol mesur dawn Crist." "Y mae amryw ddoniau, eithr yr un Ysbryd. Y mae amryw weinidogaethau, eithr yr un Arglwydd. Y mae amryw weithrediadau, eithr yr un yw Duw, yr hwn sydd yn gweithredu pob peth yn mhawb. Eglurhad yr Ysbryd a roddir i bob un er lleshad. I un trwy yr Ysbryd y rhoddir ymadrodd doethineb; ac i arall ymadrodd gwybodaeth trwy yr un Ysbryd; i arall ffydd, trwy yr un Ysbryd; i arall ddawn i iachau, trwy yr un Ysbryd; i arall wneuthur gwyrthiau; i arall, brophwydoliaeth; i arall, wahaniaeth ysbrydoedd; i arall, amryw dafodau; i arall, gyfieithiad tafodau. A'r holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu gan ranu i bob un o'r neilldu,"—i bob un ar ei ben ei hun,—"megis y mae yn ewyllysio." "Doniau yr Ysbryd Glân, yn ol ei ewyllys ei hun." "Efe a roddes rai yn Apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon; i berffeithio y saint i waith y weinidogaeth, i adeilad corph Crist: hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw yn ŵr perffaith at fesur oedran cyflawnder Crist."

Efe a biau y doniau: y mae wedi eu derbyn yn wobr ei ddarostyngiad ac er cario allan ei amcan ynddo. "Am hyny, attolygwch i Arglwydd y cynhauaf anfon gweithwyr i'w gynhauaf." Mae rhai am ddadleu y dyddiau hyn fod oes y pregethu wedi darfod, ac amser y pwlpud wedi myned heibio; ond y mae Iesu eto goruwch yr holl nefoedd; wedi llenwi y nefoedd â'i haeddiant, fe all lenwi yr Eglwys â doniau—ac fe barha i anfon nes y byddo yr holl eglwys wedi ei pherffeithio ac wedi cyrhaedd delw Crist,—llawn faintioli ei gyflawnder ef.

Mae yr holl gymhwysderau, naturiol yn gystal ag ysbrydol i'w holrhain yn gwbl i ras dwyfol. Efe sydd ben yn y greadigaeth yn gystal ag yn yr iachawdwriaeth. Efe sydd yn darpar corph cymhwys, llais priodol, yr ymddangosiad dengar, y llygaid bywiog, treiddgar. Efe all roddi y deall craff, y rheswm cryf, y cof nerthol a pharod, y dychymyg ffrwythlawn, y dawn hylithr, y dymher iraidd, y dalent athrawaidd. Y mae y cwbl yn dyfod oddiwrth yr Arglwydd. "Yr Arglwydd Dduw a roddes i mi dafod y dysgedig, i fedru mewn pryd lefaru gair wrth y diffygiol." "Yr hwn a'm neillduodd i o groth fy mam, ac a'm galwodd i trwy ei ras."

Drachefn, "Trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf,"

III. O ran fy llwyddiant gweinidogaethol. Mae yn ddiammeu fod llygad yr Apostol yn uniongyrchol ar hyn yn y datganiad hwn, oblegyd y mae yn y fan yn ychwanegu,—"a'i ras ef, yr hwn a roddwyd i mi ni bu yn ofer, ond mi a lafuriais yn helaethach na hwynt oll; ac nid myfi chwaith, ond gras Duw yr hwn oedd gyda mi." Fe lwyddodd yr Apostol yn rhyfedd yn ei weinidogaeth. O'r pryd y dechreuodd arni yn Damascus, yn ddioed wedi ei droedigaeth, pryd y gorchfygodd yr Iuddewon oedd yn preswylio yno, hyd ei ateb cyntaf ger bron Nero, pan y safodd yr Arglwydd gydag ef ac

a'i nerthodd, fel y byddai y pregethiad trwyddo yn llawn hysbys, ac y clywai yr holl genhedloedd. Yr oedd yn wastad yn cael goruchafiaeth yn Nghrist. Wedi cychwyn o hono i'w daith genhadol gyntaf, yn teithio Cyprus,—o Salmis hyd Paphus,—yn dychwelyd y Rhaglaw, ac yn taro y gau brophwyd â dallineb, yn dyfod trwodd i Perga, yn tramwy trwy Pisidia; yn pregethu yn Antiochia yn Pisidia, ac yn taenu gair yr Arglwydd trwy yr holl wlad; yn myned i Iconium, ac "yn pregethu felly fel y credodd lliaws mawr o'r Iuddewon ac o'r Groegwyr hefyd"; yn myned rhagddo i Lystra, yn Lycaonia, yn efengylu ac yn iachau y cloff o groth ei fam, nes y mae y bobl yn dychymygu fod y duwiau yn rhith dynion wedi disgyn atynt; cael yno ei labyddio a'i lusgo allan o'r ddinas, a'i adael megis marw. Ond y mae yn codi mewn nerth, yn myned rhagddo i Derbe, yn pregethu yr Efengyl yno, ac yn ennill lliaws o ddysgyblion; yn dychwel i Lystra, Iconium, ac Antiochia, "gan gadarnhau eneidiau y dysgyblion, a'u cynghori i aros yn y ffydd, gan sicrhau iddynt mai trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw"; yn ordeinio henuriaid yn mhob eglwys; yn tramwy trwy Pisidia nes cyrhaedd Pamphylia; yn pregethu yn Perga, ac yn dyfod i lawr i Attalia, ac oddiyno yn hwylio i Antiochia, prif ddinas Syria, y lle y cychwynasai o hono. Ar ol taith i Jerusalem, ac arosiad am ryw hyd yn Antiochia, y mae yn cychwyn i daith arall; yn tramwy trwy Syria a Cilicia, yn ail ymweled â Derbe a Lystra, yn tramwy trwy Phrygia a gwlad Galatia, yn cyrhaedd i Troas, yn croesi drosodd i Ewrop, yn pregethu yn Philippi, yn sefydlu eglwys lwyddiannus, yn tramwy trwy Amphipolis ac Apolonia, ac yn cyrhaedd Thessalonica, lle y mae rhai Iuddewon yn credu, o'r Groegwyr crefyddol liaws mawr,

ac o'r gwragedd penaf nid ychydig. Oddiyno i Berea, lle y mae llawer yn credu, ac o'r Groegesau parchedig, ac o wŷr nid ychydig. Oddiyno i Athen, lle y mae yn nghanol Areopagus yn traethu ei neges, a rhai gwŷr yn glynu wrtho, ac o honynt un o'r Areopagiaid eu hunain. Oddiyno i Corinth, lle y mae pobl lawer yn cael eu galw i'r ffydd. Oddiyno i Ephesus; oddiyno i Cesarea; oddiyno i Jerusalem; a thrachefn i Antiochia. Wedi talm o amser y mae yn cychwyn i'w drydedd daith, yn ymweled eilwaith mewn trefn â gwledydd Galatia a Phrygia, ac yn cadarnhau yr holl ddysgyblion; yn dyfod i Ephesus, ac yno am dros ysbaid dwy flynedd yn llafurio, nes i bawb oedd yn trigo yn Asia (Asia Leiaf, ac yn neillduol y Dalaeth Rufeinig yn y parth gorllewinol o Asia Leiaf yr oedd Ephesus yn brifddinas iddi), glywed gair yr Arglwydd Iesu, nes y mae llyfrau dewiniaeth yn cael eu llosgi yn goelcerth, a masnach delwau Diana—duwies fawr yr Ephesiaid—mewn perygl. Oddiyno mae yn dychwelyd trwy dir Groeg, gan aros dri mis yn Corinth; ac oddiyno i Macedonia, ac o Philippi drosodd i Troas, gan achub y cyfleusdra wrth fyned heibio i roddi y cynghor difrifol i henuriaid Ephesus, yn hwylio drosodd i Syria, ac yn galw yn Tyrus, Ptolemais, a Cesarea, ac yn myned oddiyno i Jerusalem, lle y mae y dorf annuwiol yn ymosod arno; yno yn cael ei gymmeryd yn garcharor, ei gadw yn Cesarea am dros ddwy flynedd, ei anfon oddiyno yn garcharor i Rufain i sefyll ei brawf ger bron yr Ymerawdwr; ac, wedi ei ryddhau, yn dechreu ar ei deithiau y cyfeirir atynt yn ei lythyrau diweddaf, hyd ei ail garchariad yn Rhufain, pryd y dioddefodd ferthyrdod dros enw yr Arglwydd Iesu. Mewn gwirionedd fe allasai yn ddiymffrost ddywedyd—"mi a lafuriais yn helaethach na hwynt oll." Ond, er yr ymwybodolrwydd o'i lwyddiant, y mae mor ymwybodol na buasai y llafur ond ofer

hollol i'w sicrhau heb fendith y nefoedd arno; ac am hyny nid yw yn petruso ychwanegu—"ac nid myfi chwaith, ond gras Duw yr hwn oedd gyda mi"—"Trwy ras Duw yr ydwyf yr hyn ydwyf."

A hyn oedd ei deimlad gwastadol a'i dystiolaeth gyffredin. "Y mae i mi gan hyny orfoledd yn Nghrist Iesu o ran y pethau a berthyn i Duw. Canys ni feiddiaf fi ddywedyd dim o'r pethau ni weithredodd Crist trwof fi, i wneuthur y cenhedloedd yn ufudd ar air a gweithred, trwy nerth arwyddion a rhyfeddodau, gan nerth Ysbryd Duw; hyd pan o Jerusalem, ac o amgylch hyd Ilyricum y llenwais i Efengyl Crist,"—o Jerusalem yn y dwyrain yn Asia ar gylch hyd Ilyricum ar gyffiniau Italy, yn neheu-orllewin Ewrop,—"y llenwais i Efengyl Crist"—y pregethais i yn gyflawn Efengyl Crist. Tydi a fu yn gwneuthur y fath nerthoedd? O nage; "Crist trwof fi." "Gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth." "Arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr." "Ond i Dduw y byddo y diolch, yr hwn yn wastad sydd yn peri i ni oruchafiaeth yn Nghrist, ac sydd yn eglurhau arogledd ei wybodaeth trwom ni yn mhob lle." "A pheth yw rhagorol fawredd ei nerth ef tuag atom ni, y rhai ydym yn credu, yn ol gweithrediad nerth ei gadernid ef, yr hwn a weithredoedd efe yn Nghrist pan y cyfododd efe ef o feirw." "Oblegyd ni bu ein Hefengyl ni tuag atoch chwi mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr."

Yr oedd dynion, dybygid, yn yr oes hono, fel yn mhob oes, yn dueddol i briodoli llwyddiant yr Efengyl i'r offerynoliaeth ddynol, yn hytrach nag i'r gweithrediadau dwyfol; i ddoniau y pregethwyr yn fwy nag i ddylanwadau grasol Ysbryd Duw. "Myfi," meddai un, "ydwyf eiddo Paul; dyna fy mhregethwr i o'r cwbl; y mae

rhywbeth mor ddifrifol yn ei ymddangosiad, mor awdurdodol yn ei weinidogaeth, mor uniongyrchol at y gydwybod yn ei apeliadau. Y mae yn bregethwr mawr, eglur, yn dwyn pethau pell yn agos, ac yn gwneuthur y pethau dyrys a thywyll mor hawdd eu deall—dyna fy mhregethwr i o'r cwbl,—eiddo Paul ydwyf fi." Meddai un arall, "Mae yn well genyf fi Apolos,—y gwr ieuanc yna,—nag ef o ddigon. Mi fyddaf fi yn dechreu parotoi i wylo can gynted ag y gwelaf ei wyneb anwyl yn dyfod i'r golwg, oblegyd mi fyddaf yn gwybod mai wylo fydd raid i mi cyn y diwedd. Mae y fath swyn yn ei lais, y fath wlith yn ei ddawn, a'r fath hyawdledd diddiwedd yn byrlymu allan o hono; mi allwn wneyd fy nefoedd o eistedd byth tan ei weinidogaeth,—myfi wyf eiddo Apolos." "O," meddai y trydydd, "mae yn well genyf fi Pedr na'r un o'r ddau. O, beth pe buasech chwi wedi bod yn Jerusalem, neu yn Cesarea, neu yn Antiochia, yn gwrando arno ef yn un o'i hwyliau,—yr hen bysgotwr yn lluchio'r pelenau tanllyd i ganol y gynnulleidfa, nes y byddai cannoedd ar unwaith yn gwaeddi, 'Pa beth a wnawn?' Cephas i mi yw'r pregethwr o'r cwbl, myfi wyf eiddo Cephas." "Pwy yw Paul, a phwy Apolos, ond gweinidogion trwy y rhai y credasoch chwi, ac fel y rhoddes yr Arglwydd i bob un?" Nid ydynt ar y goreu ond gweinidogion, gweision, cyfryngau, offerynau, pibellau i drosglwyddo bendithion yr Efengyl. Nid oes ganddynt ddim ond a dderbyniasant gan Dduw—rhoddion o eiddo Duw yw eu doniau, "Fel y *rhoddes* yr Arglwydd i bob un." "Myfi a blennais, Apolos a ddyfrhaodd; ond Duw a roddes y cynnydd. Felly nid yw yr hwn sydd yn plannu ddim, na'r hwn sydd yn dyfrhau." Nid yw Paul yn ddim, nid yw Apolos yn ddim. Beth am yr egin addawol? Beth am y cnwd da? Beth am y ffrwythau toreithiog? "Duw sydd yn

rhoddi y cynnydd." Fel y mae y credadyn yn ei gadwedigaeth yn colli golwg yn gwbl ar ei weithredoedd a'i rinweddau ei hunan, gan deimlo nad oes ynddo ef ond pob annheilyngdod, ac yn cael ei iachawdwriaeth yn gwreiddio yn gwbl yn ngras pen-arglwyddiaethol Duw; felly, pan y mae yn cael ei alw i wasanaeth gydag achos yr Efengyl, mae yn priodoli pob cymhwysder i gyflawni y gwasanaeth, a phob llwyddiant ynddo, yn gyfangwbl i'r un ffynnonell fawr. "Yr wyf yn gallu pob peth trwy Grist, yr hwn sydd yn fy nerthu i." "Arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw." "O! pe caem ni eto yr hen bregethwyr fu yn ysgwyd Cymru o'i chwsg oesol,—Howell Harris, Daniel Rowlands, Ebenezer Morris, Robert Roberts, a John Elias—y pregethwyr mawr, talentog, gyda'u gweinidogaeth rymus." O, ïe, rhodded yr Arglwydd i ni eto bregethwyr o gyffelyb ysbryd a nerth, ei *roddion* ef a fyddant. Ond rhaid cael Ysbryd Duw, nid yn unig i'w codi a'u donio a'u cymhwyso, ond hefyd i fendithio eu gweinidogaeth. "Duw, clywsom â'n clustiau, ein tadau a fynegasant i ni y weithred a wnaethost yn eu hamser hwynt, yn y dyddiau gynt. . . . Nid â'u cleddyf eu hun y goresgynasant y tir, nid eu braich a barodd iachawdwriaeth iddynt; eithr dy ddeheulaw di, a'th fraich, a llewyrch dy wyneb, o herwydd i ti eu hoffi hwynt."

## PREGETH VI.

### Y POSIBILRWYDD I'R EFENGYL FOD YN ANFUDDIOL.

HEB. iv. 2.*

"*Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant.*"

Y mae ffurf y geiriau ar unwaith yn penderfynu y cysylltiad sydd wedi ei fwriadu iddynt gan yr awdwr â'r hyn a lefarwyd yn flaenorol ganddo. "Canys," rhywbeth sydd wedi ei ddywedyd o'r blaen. Ac erbyn craffu arnynt y maent yn cael eu dwyn yn mlaen i brofi gwirionedd sydd eisoes wedi ei osod i lawr ganddo, sef "Fod addewid wedi ei gadael i ni i fyned i mewn i'w orphwysfa ef." Yr oedd addewid wedi ei rhoddi i'r Israeliaid gynt am orphwysfa, ac yr oeddent wedi byw am amser hir ar wyrthiau Duw, ar ol cychwyn tua'r orphwysfa hono. Yn y Psalmau y mae yr addewid yn cael ei hadnewyddu, ac yn sicr y mae ystyr ysbrydol i'r addewid hono, am ryw orphwysfa uwch a gwell na'r orphwysfa ddaearol yn Nghanaan. "Y mae addewid wedi ei gadael i ni i fyned i mewn i'w orphwysfa ef." Eto i gyd, y mae yn angenrheidiol i chwi sylwi ar yr adnod flaenorol, lle y rhoddir gocheliad pwysig, rhybudd difrifol. "Ofnwn gan hyny, gan fod addewid wedi ei gadael i ni i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg i fod yn ol." Y mae y rhybudd yn cael ei seilio ar yr hyn a gymmerasai le gyda golwg ar eu tadau, i'r rhai y rhoddasid addewid am orphwysfa yn Nghanaan oddiwrth orthrwm Pharaoh a chaethiwed yr Aipht. Ond er iddynt hwy gael yr addewid, eto ni chawsant y cyflawniad,—fe'u cwympwyd hwynt yn y

* Traddodwyd y Bregeth hon yn Nghapel Penmount, Pwllheli, nos Sabbath, Awst 27ain, 1882. Argreffir hi yn bennaf o nodiadau a gymmerwyd wrth ei gwrandaw.

diffaethwch—fe'u dinystriwyd gan y dinystrydd, ac ni chyrhaeddasant Ganaan byth. "Canys i ninau y pregethwyd yr Efengyl, megis iddynt hwythau," neu "I ninau y cyhoeddwyd y newyddion da megis iddynt hwythau," a gwell nag a gawsant hwy; gorphwysfa ragorach, gorphwysfa ysbrydol, gorphwysfa nefol, gorphwysfa i'r enaid, gorphwysfa debyg i'r eiddo Duw ei hunan; "eithr y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant." Yr un pryd y mae yn eu hanes hwy rhyw deimlad o brudd-der; ni chawsant hwy i gyd mo'r cyflawniad o'r addewid. Hwy gawsant yr addewid i gyd, ond nid Canaan. "Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy." Fe gollasant y daioni, y lles, a'r budd oedd yn gynnwysedig ynddo. "Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy." Ac fel yr ydych chwi yn gweled, y mae y geiriau yn y ffurf sydd arnynt nid yn unig yn awgrymu na fu y gair yn fuddiol iddynt, ond yn hytrach iddo brofi, yn hollol i'r gwrthwyneb, yn anfuddiol iddynt. "Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant ef." Fe dybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at y meddyg yn rhoddi cyfarwyddyd pa gyfferiau i'r claf eu cymmeryd, ac yna yn ei anfon at y rhai sydd ganddo yn cymmysgu y physigwriaeth. Mae y feddyginiaeth yn cael ei gwneyd i fyny, ac yna yn cael ei hanfon i'r claf. Mae yntau yn ei chymmeryd yn unol â'r cyfarwyddyd sydd ar y botel. Ac o'r diwedd y mae ef wedi cymmeryd cynnwysiad y botel i gyd, ond heb deimlo yn ddim gwell; ac nid yn unig hyny, ond y mae ef yn teimlo yn waeth. Sut felly? O, fe ddarfu i'r bachgen gymmysgodd y physig adael y peth pwysicaf oedd yn y *prescription* ar ol heb ei roddi i mewn. O bosibl, pe buasai hwnw ynddo, y buasai y claf yn

gwella. "Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy." Paham? Tybed nad ydoedd wedi ei fwriadu i fod yn fuddiol iddynt? O, oedd; ac fe fuasai yn sicr o fod felly, oni buasai am un peth. Yr oedd yr elfen bwysicaf yn nglŷn â'r gair ar ol. "Ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant." Ni chawsant hwy yr un budd na lles oddiwrtho, o ddiffyg ffydd. Y mae hi yr un fath heno yn Mhwllheli, machgen i: fydd y gair ddim yn fuddiol i tithau os na fydd yn cael ei dderbyn i'r galon, a'i gyd-dymheru â ffydd. Neu, fel y mae yn fwyaf tebyg, cyfeiriad sydd yma at yr ymborth yn cael ei dderbyn a'i dreulio, yn cael ei gyd-sylweddu â'r cyfansoddiad, ac mewn canlyniad yn troi yn faeth i'r dyn. Ond aroswch chwi, y mae yma ddyn yn y dref yma, y mae ef yn bwyta bob dydd, ond heb dderbyn unrhyw les oddiwrtho, a hyny oblegyd fod yr ymborth heb gael ei dreulio yn briodol, ei dderbyn i'r cyfansoddiad a'i droi yn faeth a chynhaliaeth. Mae ef wedi bod yn Trefriw a Llandrindod yr wythnosau diweddaf, ond heb fod yn ddim gwell; ac nid yn unig hyny, ond y mae ef yn teimlo yn waeth. Y mae yna ddyn arall yn byw y drws agosaf iddo, y mae y dorth yn troi yn rhan o'i gyfansoddiad, yn troi yn waed, a chnawd, ac esgyrn, a gewynau. Paham? Wel, yr oedd ganddo ef ryw allu tufewnol i dreulio y bwyd, oedd yn troi yr ymborth oedd yn ei fwyta i fod yn fuddiol iddo. Ydych chwi gyda mi, Gymry anwyl? "Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant." Beth? Oedd y bachgen ddim yn gwrando? O, oedd. Fe fu yn y Sassiwn o'i dechreu i'w diwedd, ond heb dderbyn dim lles yno. Paham? O, wel, nid oedd gan y bachgen ddim ffydd i dderbyn y gair, ac oblegyd hyny fe drodd

y cwbl yn anfuddiol iddo. Ond welwch chwi y dyn arall yna, y mae pob peth yn troi yn lles a bendith iddo. Pan glyw ef y bygythiad y mae yn ei gredu, ac mewn canlyniad y mae ef yn crynu wrth y gair. Pan y mae addewid yn cael ei chyhoeddi i'w glywedigaeth y mae yn y fan yn llawenhau. Paham? Beth sydd yn rhoi cyfrif am y gwahaniaeth rhyngddo â'r dyn arall? O, rhyw allu sydd gan y dyn i gyd-dymheru yr hyn sydd yn cael ei lefaru â'i enaid, ac oblegyd hyny y mae y gair yn troi yn fuddiol iddo. Ac, ond i chwi sylwi, y mae y geiriau yn awgrymu mwy nag y maent yn ei ddyweyd. "Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy," cystal a dyweyd, nid yn unig "ni bu yn fuddiol iddynt," ond fe fu yn niweidiol iddynt. Yn lle i'r "gair fod yn fuddiol," fe fu yn ddinystriol, yn farnol iddynt. Fe ddarfu iddynt dynu arnynt eu hunain anfoddlonrwydd y Duw mawr yn yr anialwch. Yn wir, fe fuasai yn well i'r bobl yma pe buasent heb glywed y gair erioed. "Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy." Wel yr un fath yw hi eto yn Penmount yma, 'ngeneth i. O, ïe, yn wir. "A hon yw y ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni." Fydd damnedigaeth y pagan yn ddim gwerth son am dani yn ymyl hon. "Hon yw y ddamnedigaeth." Anghredu yr Efengyl. Fel yna yr wyf fi yn deall y geiriau, a'u deall hwy fel yna fuaswn i yn hoffi i chwithau heno, er mwyn i chwi edrych gyda mi ar ddau wirionedd sydd yn gorwedd ynddynt. Yn

I. Fod yn bosibl i'r Efengyl droi yn anfuddiol i ddynion.

II. Mai anghrediniaeth, ac angrediniaeth yn unig, a bair iddi fod felly. Ydych chwi wedi eu cael hwy? Yn

I. Fod yn bosibl i'r Efengyl droi yn anfuddiol i ddynion.

Ac yr ydwyf fi yn sicr fod pob dyn meddylgar, yn y capel yma heno, yn teimlo yn ddifrifol wrth feddwl fod yn bosibl i'r Efengyl droi yn anfuddiol iddo. Welwch chwi y fam gyda'r baban? Y mae hi yn rhoddi llaeth ei bron iddo, ac yn ofalus iawn gydag ef, ond wedi'r cwbl nid oes dim yn gwneyd lles iddo. Y mae hi yn treio llaeth y fuwch wedi hyny, ond y baban yn ddim gwell, y mae y cwbl yn troi yn anfuddiol iddo. Yr wyf fi yn sicr y teimlai pob un o honoch, pe na byddai i'r dillad sydd am danoch eich cynhesu. Welwch chwi y tad a'r fam yn anfon y bachgen i'r ysgol, ac i'r ysgol oreu. Y maent hwy yn dysgwyl iddo ddyfod adref oddiyno yn ysgolhaig gwych. Ond yn lle hyny y mae ef yn esgeuluso ei wersi, ac yn ymroi i'w bleserau, a'r canlyniad ydyw fod yr oll yn anfuddiol iddo. Ac y mae y rhieni yn teimlo i'r byw wrth weled fod yr ysgol wedi profi yn anfuddiol i'r bachgen. Ond, O, wyddoch chwi, y mae yma rywbeth anfeidrol fwy pwysig yn fy nhext i heno. Yr Efengyl yn troi yn anfuddiol. Tylodi Bethlehem, ing yr ardd, loesion Calfari, a'r son am y cwbl yn troi yn anfuddiol i ddynion. Dyna sydd yn y testyn heno. Ac y mae hyny yn bosibl, ddynion anwyl.

Mae yr Efengyl wedi ei *bwriadu i fod yn fuddiol* i ddynion. O ydyw, yn wir. Y mae ynddi bob cyfaddasder ar gyfer angen pechadur. Y mae ynddi faddeuant o'r holl anwiredd, iachad o'r holl lesgedd, y mae ganddi waed i dawelu y gydwybod, cyfiawnder i wisgo y noeth. Y mae holl gyfoeth yr arfaethau tragywyddol at ei galwad. O, mae hi wedi ei bwriadu i fod yn fuddiol. Ac nid yn unig hyny, ond y mae ynddi y *cyfaddasder mwyaf tuag at fod yn fuddiol.* Trefn Duw ydyw hi, mechgyn i. "Wedi ei wneuthur i ni gan Dduw yn ddoethineb, ac yn gyfiawnder, ac yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth." O, ïe, trefn Duw ydyw hi, fy enaid

anwyl, a phe buasai hi yn methu, ar Dduw y byddai y bai am hyny. Mi glywais Mr. Rees yn adrodd am hen frawd o'r enw Isaac James yn dechreu yr odfa iddo yn Machynlleth, ac ar y weddi yn dyweyd, "Yr wyt ti wedi canmol dy Fab gymmaint, fel yr ydym ni am ei fentro ef bid a fyddo, ac os metha ef, wel arnat ti y bydd y bai." Y mae hanesyn yn Nghofiant Robert Hall am dano yn myned i edrych am hen wraig dduwiol iawn oedd yn perthyn i'w eglwys ef, pan yr oedd hi yn ymyl marw, o'r enw Jannet. Ac wedi siarad gyda hi am ysbaid, a'i chlywed hi mor hyderus gyda golwg ar ei chadwedigaeth, y mae Mr. Hall yn gofyn iddi, "What if, after all, he will let you drop into that black place, Jannet?" "O," meddai yr hen chwaer mewn munud, "If he does, he will lose more than Jannet." "Beth os gwna ef wedi'r cwbl adael i chwi syrthio i'r lle du hwnw, Jannet?" meddai Mr. Hall. "O," meddai hithau, "os gwna ef hyny, fe gyll ef fwy na Jannet. Fe gollaf fi fy mywyd, ond fe gyll ef ei garictor." O, ïe, dyna fo, ydych chwi yn gwel'd? Trefn Duw ydyw hi, Gymry anwyl. Mae ei ogoniant ef yn gysylltiedig â'r drefn. O, mae hi wedi ei bwriadu i fod yn fuddiol, ac y mae y cyfaddasder mwyaf ynddi tuag at fod felly. Ac nid yn unig hyny, ond *y mae hi wedi bod yn fuddiol* i filoedd, i luoedd aneirif,—rhai o bob oedran, pob amgylchiad, pob sefyllfa, pob math o ddynion o ran galluoedd meddyliol, o ran cymeriadau moesol, o ran dylanwad cymdeithasol. Y mae tyrfaoedd dirifedi wedi eu hachub drwyddi. O, beth pe gwelech chwi hwy i fyny acw? Y maent hwy "yn eu gynau gwynion, a phalmwydd yn eu dwylaw." "Pwy ydynt, ac o ba le y daethant?" a pha fodd y daethant yma? O, rhai ag y bu yr Efengyl yn fuddiol iddynt. Credu yr Efengyl ddarfu iddynt; rhodio y ffordd a godid o'u blaen yn yr Efengyl a

wnaethant. "Y rhai hyn yw y rhai a ddaethant allan o'r cystudd mawr, ac a olchasant eu gynau, ac a'u cannasant yn ngwaed yr Oen." Maent hwy heno heb ôl dim arnynt, ond ôl yr iachawdwriaeth. Mae hi wedi bod yn fuddiol i filoedd fu yn yr un byd a thithau. Ond dyma mhwnc i heno, y mae yn bosibl iddi fod yn anfuddiol i ti. Ydyw yn wir. Yn fuddiol i r hen nain, ond yn anfuddiol i'r lodes. Yn fuddiol i'r tad, ond yn anfuddiol i'r bachgen. Mae yn bosibl i'r Efengyl fod yn anfuddiol i ddynion. Y mae y rhybudd yn y testyn yn gorphwys ar y ffaith fod newydd da cyffelyb i'r hyn a gyhoeddir yn yr Efengyl wedi bod yn anfuddiol i'r rhai a gwympasant yn y diffaethwch; yn yr hyn y mae yr awdwr yn canfod posibilrwydd yr un peth i'r rhai a annerchid ganddo, yn eu cysylltiad â'r Efengyl. Ac fe ymddengys y posibilrwydd hwn, ond i ni ystyried—

Yn 1. Mai cyhoeddiad o drefn a darpariaeth er buddioldeb yw yr Efengyl, ac y mae ei gwir werth hi i'r pechadur yn dybynu ar y defnydd personol a wneir o honi ganddo.

Ydych chwi wedi ei gael? Y mae yn amlwg mai un peth ydyw darpariaeth addas fel moddion rhyw ddaioni, peth arall ydyw y defnydd o'r ddarpariaeth er sicrhau y daioni hwnw. Ac yn ganlynol y mae yn eithaf posibl i un gael y ddarpariaeth,—cael y moddion, ac heb gael y daioni a fwriedid ynddo, oblegyd esgeuluso ei ddefnyddio i'r amcan hwnw. Nid fod ymborth yn bod, na bod yr ymborth yn y tŷ, na'i fod yr ymborth goreu a mwyaf maethlon, a sicrha gynhaliaeth a bywyd. Na; y mae yn rhaid ei ddefnyddio; y mae yn rhaid cyfranogi o hono. Yr un modd gyda'r dillad drachefn. Nid ydyw dillad o unrhyw fudd yn y *drawer*. Ni fyddant o unrhyw werth i'r dyn os na wna ef ddefnydd o honynt. Y mae y dyn wedi cael ei daraw yn glaf, ac yn glaf iawn.

Y mae yna feddyg medrus yn byw yn y dref, ac y mae yntau ar unwaith, heb oedi, yn anfon am dano; ar ol sylwi arno, mae y meddyg yn gorchymyn i'w gynnorthwywr barotoi meddyginiaeth briodol a'i chymmeryd hi iddo. Y mae yntau yn ei rhoddi ar y *shelf* yn yr ystafell, yn ymyl y gwely y mae yn gorwedd arno. Ond er iddo gael y feddyginiaeth, y mae y dyn yn gwaethygu bob dydd, er fod y moddion i'w wella yn y tŷ ac yn ei ymyl, o ddiffyg gwneyd y defnydd priodol o hono. Welwch chwi y bachgen yn cael ei anfon i'r *Institute* i Lerpwl, o dan ofal yr athrawon goreu; ond yn hytrach nag ymroi i lafurio, y mae ef yn gadael ei wersi heb eu dysgu, ac mewn canlyniad, er bod yn yr ysgol oreu, o dan yr athrawon goreu, y mae yr ysgol yn troi yn anfuddiol iddo o ddiffyg gwneyd y defnydd priodol o honi. Welwch chwi y dyn yna, y mae ef wedi cael lle am fywioliaeth dda, yn y gongl oreu yn y dref. Fu y dyn oedd yno o'i flaen ef ddim ond un-mlynedd-ar-ddeg yno nad oedd ef wedi gwneyd digon i fyw am ei oes yn annibynol. Ond y mae hi yn dybynu pa ddefnydd a wna y dyn o'r gongl, pa fodd y bydd iddo ymddwyn at y cwsmeriaid; fydd ef yn peidio gwario ei amser yn y dafarn; fydd ef yn ddiwyd, a gofalus, ac ymdrechgar. Y mae hi yn dybynu ar pa ddefnydd a wna'r dyn o'r gongl, pa un a fydd iddo lwyddo yno ai peidio. A oes eisiau i mi gymhwyso? Oes? "Myfi yw bara y bywyd." "Hwn yw y bara a ddaeth i waered o'r nef." "Fy nghnawd i sydd fwyd yn wir." Ië, os bydd i ti ei fwyta ef, ond fe elli di newynu i farwolaeth er bod y bara bywiol yn dy ymyl di, os na fydd i ti wneyd y defnydd priodol o hono. "Fy ngwaed i sydd ddiod yn wir." "Od oes ar neb syched, deued ataf fi ac yfed." "Pwy bynnag a yfo o'r dwfr a roddwyf fi iddo, ni sycheda yn dragywydd." O, ïe, 'ngeneth i, ond fe elli di sychedu i

farwolaeth er fod y dwfr yna yn dy ymyl di, os na fydd i ti yfed o hono. O, dyma feddyg anffaeledig; "Yr hwn a ddichon yn gwbl iachau." Mae ganddo feddyginiaeth sicr, gymhwys i'r afiechyd. Mae wedi gwella pawb ddarfu erioed roddi treial arni. Y mae y meddyg yn anffaeledig. Fethodd ef ddim gwella cymmaint ag un fu dan ei ddwylaw erioed. Ni cherddodd ef erioed o flaen yr un *patient* tua'r gladdfa. Mae ef yn gwella pob afiechyd; ni waeth yn y byd pa mor drwm a pheryglus y byddo. O, ïe, ond fe elli di farw er bod yn ei ymyl, enaid anwyl, os na fydd i ti gymmeryd ei feddyginiaeth. O, yr ydych chwi wedi cael congl dda tua Phwllheli yma. Mae yma ugeiniau wedi gwneyd busnes mor dda yma, nes bod erbyn heno yn bendefigion yn y drydedd nef. Ond y mae yn bosibl i ti fethu ar ol bod yn y gongl dda yma, a marw yn dragywyddol dlawd yn y diwedd. Ydyw yn wir. "Gwae di Chorazin, gwae di Bethsaida. Canys pe gwnaethid yn Tyrus a Sidon y gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd ynoch chwi, hwy a edifarhasent er ys talm mewn sachlian a lludw." O, ai tybed ei fod yn wir? Pe gwnaethid yn China neu ar wastadedd Hindoostan, y gweithredoedd nerthol a welwyd ac a deimlwyd yn Pwllheli, fe fuasent, hwyrach, wedi edifarhau er ys talm; ond am danat ti, yr wyt ti heb dderbyn dim lles trwy y manteision, o ddiffyg gwneyd y defnydd priodol o honynt, ac mewn canlyniad, mae y cwbl yn troi yn anfuddiol i ti.

Fe ymddengys hyn os ystyriwn—

2. Nodwedd neillduol gweinidogaeth yr Efengyl, mewn cysylltiad â natur lygredig y rhai y mae yn ymwneyd â hi.

Y mae yr Efengyl yn apelio at ddynion megis creaduriaid rhydd, yn meddiannu rheswm a chydwybod, gan gyflwyno ger eu bron gymhelliadau

cyfaddas, a'r cymhelliadau cryfaf, er eu cael i gydymffurfio â'i hamcan mawr. Nid ydyw yn dylanwadu yn dreisiol neu yn orfodol. Y mae yn apelio at eu rheswm, at eu syniad o'r hyn sydd briodol a theilwng. Ddarfu i chwi ystyried sut y mae y Duw mawr yn ymwneyd â chwi yn yr Efengyl? Nid fel pe buasech yn greaduriaid direswm. O nage; ond yn hytrach fel creaduriaid rhesymol, yn meddu ar ewyllys a barn. Fel yna y mae ef yn siarad â chwi yn yr hen lyfr yma. Onide? "O deuwch i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno, ïe, yr hwn nid oes arian ganddo; deuwch, prynwch, a bwytewch; ïe, deuwch, prynwch win a llaeth, heb arian ac heb werth. Paham y gweriwch arian am yr hyn nid yw fara? a'ch llafur am yr hyn nid yw yn digoni? gan wrando gwrandewch arnaf fi, a bwytewch yr hyn sydd dda; ac ymhyfryded eich enaid mewn brasder. Gogwyddwch eich clust, a deuwch ataf; gwrandewch, a bydd byw eich enaid." "Ceisiwch yr Arglwydd, tra y galler ei gael ef; gelwch arno, tra fyddo yn agos." "Pa hyd, chwi ynfydion, y cerwch ynfydrwydd? a chwi watwarwyr y bydd hoff genych watwar? ac y casâ ffyliaid wybodaeth?" "Gwrando gynghor, a chymmer addysg." "O na baent ddoethion, na ddeallent hyn, nad ystyrient eu diwedd." "Dychwelwch, dychwelwch, canys tŷ Israel paham y byddwch feirw?" "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd, nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol, ond troi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd ddrygionus a byw." "Deuwch yr awr hon ac ymresymwn, medd yr Arglwydd, pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cyn wyned â'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlan." Ddarfu i chwi sylwi, sut y mae ef yn ymwneyd â chwi, trwy gyflwyno ystyriaethau ger bron eich meddwl? Mae yn apelio at gydwybod y dyn, at ei ymdeimlad o'r

hyn sydd iawn, at ei ofn. Yn awr, gan nad oes iachawdwriaeth, yn yr ystyr o ddiogelwch cyflwr a gwynfyd, ond mewn gwaredigaeth oddiwrth bechod, mewn ymgysegriad i sancteiddrwydd, mewn ymwadu âg annuwioldeb a chwantau bydol, mewn ymdrech yn erbyn pechod,—a bod dynion wrth naturiaeth dan lywodraeth egwyddor ansanctaidd a phechadurus, fel welir y posibilrwydd ofnadwy i'r Efengyl fod heb ateb ei phwrpas mawr. "Cyflog pechod yw marwolaeth." Paid a'i wasanaethu: "diwedd y pethau hyn yw marwolaeth." "Dilyn drygioni yn tywys i angeu." Y ffordd lydan yn arwain i ddystryw. Y ffordd gul yn arwain i'r bywyd. Y mae ef yn ymwneyd â chwi fel creaduriaid yn meddu ar hawl i weithredu fel yr ydych yn dewis.

Wel yn awr, a ydych chwi yn gweled y posibilrwydd i'r Efengyl droi yn anfuddiol i chwi, Gymry anwyl? "A hwy yn ddiystyr ganddynt a aethant ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fasnach." Mae arnaf fi ofn fod yn y capel yma ddegau ag y mae yr Efengyl wedi bod yn anfuddiol iddynt hyd heno. Ysbryd Iesu Grist, marcia y lodes heno. Mae dagrau y fam, cyghorion y tad, gweddiau yr eglwys, rhybuddion gweinidogion yr Efengyl, y cwbl wedi profi yn anfuddiol i rai sydd yn yr odfa. Parhau i feddwi y mae y bachgen trwy y cwbl. Byw yn afradlawn, ac arfer iaith lygredig y mae y dyn ar ol yr holl wrando. O, mae yma rai o honoch yn cofio John Elias, John Evans, New Inn, ac hwyrach Ebenezer Morris, a'r cwbl yn y diwedd wedi profi yn anfuddiol i chwi. Mae yn bosibl i'r Efengyl droi yn anfuddiol i ddynion.

Yn awr edrychwch gyda mi am ychydig at yr ail fater.

II. Mai anghrediniaeth yn unig a all beri iddi fod yn anfuddiol.

Y mae yr Efengyl yn troi yn anfuddiol i ddynion trwy

iddynt barhau i'w hanghredu. Ac fe fyddai yn dda iawn genyf fi i chwi feddwl, ddynion anwyl, mai anghrediniaeth, ac anghrediniaeth yn unig, a bair iddi fod felly. Ac fe ymddengys hyny, ond i chwi ystyried—

1. Mai neges fawr yr Efengyl at y byd ydyw ffydd.

Dyma y dystiolaeth bendant a gawn yn wastadol yn y Testament Newydd. Nid ei deall; nid ei hedmygu; nid ei phroffesu; nid ei thaenu. Y mae yn gofyn ac yn haeddu hyn oll; ond nid dyna ei neges fawr, ond ei chredu. "Y pethau hyn a ysgrifenwyd fel y credoch chwi mai Iesu yw y Crist, Mab Duw; a chan gredu y caffoch fywyd yn ei enw ef." "Gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu." "Derbyniasom ras ac apostoliaeth i ufudd-dod ffydd." "A gyhoeddwyd yn mhlith yr holl genhedloedd er mwyn ufudd-dod ffydd." Tystiolaeth ydyw yr Efengyl, ac amcan mawr tystiolaeth ydyw ffydd. Pa beth a wnewch â thystiolaeth, os heb ei chredu? nid ydych yn ymddwyn yn briodol tuag ati. Nid *concert* sydd yn y capel, fy ngeneth i; O, nage; ond Efengyl y bendigedig Dduw, fel y credoch chwi. Dyna neges fawr yr Efengyl at y byd ydyw ffydd. Edrychwch ar y prawf yna yn y llys yn Nghaernarfon. Dyna y barnwr ar y fainc, y rheithwyr yn eu lle, y dadleuwyr a'r cyfreithwyr yn llawn bywyd. Dyna ŵr ieuanc yn dyst yn y *box*. Welwch chwi ef? Dyna gorph hardd, a genau ffraeth, a thalcen uchel, llydan, a llygaid bywiog. Glywch chwi'r fath lais sydd ganddo? Cymro glân gloew ydyw ef hefyd. Welwch chwi mor hunan-feddiannol ydyw ef? Wel, dyna'r llys wedi cael y cwbl sydd arno ei eisiau gan y dyn yna bellach. O nage. Nid dyfod yno i ddangos ei berson ddarfu i'r dyn, nid myned i'r *box* er mwyn dangos sut lais oedd ganddo ddarfu iddo. O nage; mae y dyn yn y *box* i dystio y gwir, yr holl wir, a dim ond y gwir. Dyfod yno

i roddi ei dystiolaeth; dyna oedd neges fawr y dyn yn dyfod i Gaernarfon. Oes eisiau i mi gymhwyso? Pa sawl gwaith yr aeth rhai o honoch chwi allan o Penmount yma, gan ganmawl y *witness?* O, Mr. Rees, dyna bregethwr! O, dyna berson urddasol, a llais hyfryd; nefoedd byth fyddai bod o dan weinidogaeth un felly. Ond aros di. Beth wnaethost ti â'r Efengyl bregethwyd ganddo? Nid dyfod i Penmount i ddangos sut berson oedd ganddo yr oedd y pregethwr; ond dyfod yma i gyhoeddi neges fawr yr Efengyl i'w chredu. Beth wnaethost ti o honi? Ei hanghredu hi,—onide? Ac wrth ei hanghredu hi, fe drodd yr Efengyl yn anfuddiol i ti.

Eto, yn yr ail le,

2. Â ffydd yn unig y mae y Duw mawr wedi cysylltu ei lles a'i budd hi.

O ïe, trwy ei chredu hi yn unig y deui di i afael â'r buddioldeb sydd i'w gael trwyddi. Yn yr arch yr oedd amcan a lles yr arch yn unig i'w gael. Bod yn y noddfa oedd yn diogelu bywyd y llofrudd. Nid oedd hi ddim yn ddigon fod y llofrudd yn gwybod fod noddfa wedi ei threfnu, ac fod diogelwch ynddi; na, bod ynddi hi yn unig oedd yn cadw rhag dialydd y gwaed. O Arglwydd, siarad dy hunan â'r bobl yma. "Fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." "Nac ofna; cred yn unig." "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi." Er euogrwydd dwfn, er ofnau lu, er dued, er trymed dy bechodau, "cred, a chadwedig a fyddi." Â chredu yn unig y mae yr Anfeidrol wedi cysylltu budd a lles yr Efengyl i bechadur, ac nid oes dim ond anghrediniaeth yn unig a all beri iddi beidio bod felly iddo. Chwi gewch engraifft nodedig o hyn yn nglŷn â chenedl Israel yn yr adnod olaf o'r bennod flaenorol. "Ac yr

ydym ni yn gweled nad allent hwy fyned i mewn o herwydd anghrediniaeth." Fe gawsant hwy yr addewid; do, ond "nid aethant i mewn." O, y Môr Coch oedd o'u blaen hwy. Nage; yr oedd ganddynt Dduw i agor hwnw iddynt. Wel ynte, yr anialwch gwag, erchyll, oedd ganddynt i'w deithio, heb obaith bara i'w fwyta, na dwfr i'w yfed ynddo. O nage; yr oedd ganddynt Dduw oedd yn alluog i'w porthi â bara o'r nef, a'u diodi â dwfr o'r graig. O, Amalec oedd wedi penderfynu eu rhwystro yn mlaen, a'r Iorddonen, a'r cewri, a'r caerau. Nage; yr oedd ganddynt Dduw i ymladd drostynt, oedd yn abl i roddi eu gelynion yn eu dwylaw, ac i hollti yr Iorddonen o'u blaen. Ond nid aethant hwy i mewn er y cwbl. Paham? Sut felly? "O herwydd anghrediniaeth." Anghrediniaeth yn unig a'u cauodd hwy allan rhag mwynhau y Ganaan a roddwyd iddynt mewn addewid. O, fe fyddai yn dda dros ben genyf fi i chwi feddwl, fy mechgyn i, fod perygl i chwithau ddyfod i'r capel newydd hardd yma, ac eistedd yn y seti yma, a gwrando yr Efengyl, ac wedi y cwbl, parhau i'w hanghredu, a thrwy ei hanghredu i ddarpariaeth rasol yr Anfeidrol fod yn anfuddiol i chwi. Mi gredaf fod yma rai, mi gofiwch byth am yr hen gapel, fel y man lle y dygwyd hwy i gredu yn y Ceidwad mawr. Mae Mr. Charles o'r Bala yn adrodd yn un o'i weithiau, y cofiai ef byth am hen addoldy y Capel Newydd, ac am yr ugeinfed o Ionawr, pan yr oedd yn gwrando ar y Parchedig Daniel Rowlands, Llangeitho, yn pregethu. "Dyna'r pryd," meddai, "yr argyhoeddwyd fi o'm hanghrediniaeth." Mae arnaf fi ofn fod yma rai yn diystyru trefn Duw i gadw. Yr wyt ti yn defnyddio dy garpiau dy hun, ac yn ymorphwys ar dy wendid, yn hytrach na mentro Craig yr Oesoedd; yn parhau i anghredu tystiolaeth Duw yn yr Efengyl am ei Fab. Beth wyt ti yn myned

i'w wneyd, enaid anwyl? Mae ef yn llefaru ei hunan yn yr odfa yma heno. Fe fydd yma gyhoeddi rhywun i bregethu yma y Sabbath nesaf; y Duw mawr a baro na fyddo dim yn cael ei bregethu o'r pwlpud hwn ond yr Efengyl yn ei symlrwydd, tra y byddo ei ddefnyddiau wrth eu gilydd. Ond hwyrach na byddi di ddim i dy gael yma y Sabbath nesaf. Derbyn ef heno, fy enaid anwyl. Y Duw mawr a baro mai felly y byddo yn hanes pob un o honoch.

---

## PREGETH VII.

### SICRWYDD.

1 IOAN V. 13.

"*Y pethau hyn a ysgrifenais attoch chwi, y rhai ydych yn credu yn enw Mab Duw; fel y gwypoch fod i chwi fywyd tragywyddol, ac fel y credoch yn enw Mab Duw.*"

Nid oes odid ddim mwy manteisiol tuag at ddeall ystyr unrhyw gyfansoddiad na dirnadaeth gywir am ei amcan. Y mae gan y meddwl felly rywbeth ag y gall edrych yn wastadol ato, gan ddysgwyl rhyw gymmaint o gyfarwyddyd oddiwrtho yn ngwyneb pa beth bynnag a allai ymddangos yn ddyrys ynddo. Fel pe meddyliech am ddyn yn ceisio gweithio ei ffordd dros fynydd dieithr iddo, neu trwy ryw ddinas fawr megis Llundain yma, byddai deall da am y cyfeiriad y gorweddai y lle yr ymofynai am dano ynddo, a chadw hwnw yn wastad o flaen ei feddwl, yn sicr o'i gadw rhag lliaws o gamgymmeriadau ag y byddai braidd yn sicr heb hyny o syrthio iddynt. Felly y mae deall da o'r hyn fyddo yn amcan unrhyw gyfansoddiad, er nad ydyw arno ei hunan yn ddigonol i sicrhau dirnadaeth o'i holl ystyr, eto yn un o'r pethau mwyaf manteisiol tuag at hyny. Y mae yr egwyddor hon mor gymhwysiadwy at yr Ysgrythyrau Sanctaidd ag at unrhyw gyfansoddiad arall, pa un bynnag a wnawn ai edrych ar yr oll o honynt gyda'u gilydd, ai at yr amrywiol ranau ar wahan. Er esiampl, y mae Ioan, tua diwedd ei Efengyl, yn hysbysu i ni yr amcan oedd ganddo ef yn ei olwg yn ei chyfansoddiad. "Y pethau hyn a ysgrifenwyd fel y credoch chwi mai yr Iesu yw y Crist, Mab Duw; a chan gredu y caffoch

fywyd yn ei enw ef." Dyna ei amcan: profi mai Iesu o Nazareth yw y Messiah,—ei fod yn berson dwyfol,—a bod bywyd tragywyddol yn gysylltiedig â ffydd ynddo. Yn awr, cadwer yr amcan yna mewn golwg wrth ddarllen yr Efengyl, ac fe welir fod yr oll o honi wedi ei chyfansoddi er gadael argyhoeddiad o hono yn meddwl y darllenydd. Pan oedd holl fywyd Iesu Grist yn agored iddo i'w ddefnyddio yn y cyfansoddiad, y mae yr awdwr wedi dethol o'r cwbl y gwyrthiau, y pregethau, a'r ymddyddanion oedd a chymhwysder arbenig ynddynt i wasanaethu ei amcan mawr. A'r un modd y gallem sylwi am bob rhan arall o'r datguddiad dwyfol. Ac felly y mae yr Apostol yn y testyn yn gosod ger ein bron yr amcan oedd mewn golwg ganddo yn yr Epistol hwn. "Y pethau hyn a ysgrifenais atoch chwi, y rhai ydych yn credu yn enw Mab Duw; fel y gwypoch fod i chwi fywyd tragywyddol, ac fel y credoch yn enw Mab Duw." Ei amcan yn yr Efengyl oedd *nodi allan y gwrthddrych i gredu ynddo* a'r angenrheidrwydd anhebgorol am hyny er cadwedigaeth trwyddo; a'i amcan yn yr Epistol hwn oedd *nodi allan arwyddion ffydd*, er cynnorthwyo ei pherchenogion i ymddyrchafu i sicrwydd fod ganddynt fywyd tragywyddol. Yr oedd yn bwriadu ei Efengyl yn atebiad i annghrediniaeth y galon yn nghylch seiliau ffydd; ac yn bwriadu ei Epistol yn atebiad i ofnau ac amheuon y galon yn nghylch gwirionedd ei ffydd. Yn y naill y mae yn cyflwyno ger bron y byd yn gyffredin y dystiolaeth ar yr hon y mae ffydd yn gorphwys, er prawf o'i rhesymoldeb; yn y llall y mae yn cyflwyno ger bron Cristionogion yn neillduol yr elfenau hanfodol iddi, er prawf o'i diragrithrwydd. Y mae y naill, felly, yn dal perthynas arbenig â *Duwinyddiaeth*; y mae y llall yn dal perthynas arbenig â *Chrefydd*,—y grefydd symlaf a'r fwyaf dirodres a welodd y byd erioed. Yn y naill y

mae yr iachawdwriaeth yn cael ei dwyn ger ein bron yn yr hyn ydyw ynddi ei hunan ar gyfer angen y byd; yn y llall y mae yn dyfod ger ein bron yn ei dylanwad ar galon a buchedd y sawl a'i derbynio. Yn y naill, yn yr iaith a ddefnyddir yn gyffredin yn y dyddiau presennol, y mae yr iachawdwriaeth yn cael ei gosod allan yn *objectively*, ac yn y llall yn *subjectively*. "Y pethau hyn." Y mae yn eglur mai at yr holl Epistol y cyfeiria yma, ac nid yn unig at yr hyn sydd yn uniongyrchol yn blaenori y testyn. "A ysgrifenais atoch chwi, y rhai ydych yn credu yn enw Mab Duw." Nid ydyw pawb yn gwneuthur hyny. Ychydig mewn cymhariaeth eto ydyw eu nifer. Y mae yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni. Ond yr ydych chwi yn credu ynddo. Y mae ei enw arnoch. Yr ydych yn ymddired eich achos mawr yn unig i'w ofal, ac yn dysgwyl trwyddo yn unig am eich iachawdwriaeth.

"Fel y gwypoch fod i chwi fywyd tragywyddol." Yr wyf yn amcanu eich dysgu i gyrhaedd sicrwydd na siomir mo honoch yn y dysgwyliad hwn. Sylwch ar y cyfarwyddiadau hyn. Cymharwch yn fanwl a gofalus eich calonau a'ch bucheddau eich hunain â'r arwyddion a ddygais ger eich bron, a chwi a ennillwch sicrwydd fod eich achos mawr yn ddiogel, fod eich pechodau wedi eu maddeu, eich bod wedi dianc rhag y digofaint sydd ar ddyfod,—"fod i chwi fywyd tragywyddol."

"Ac fel y credoch yn enw Mab Duw." Nid ydych i orphwys ar ba beth bynnag sydd wedi pasio rhyngoch â Iesu Grist; rhaid i chwi barhau i gredu, cynnyddu mewn credu, myned rhagoch hyd y diwedd gan ymddiried ynddo a byw iddo. Mae y darlleniad mewn rhai copiau ychydig yn wahanol. "Y pethau hyn a ysgrifenais atoch fel y gwypoch fod genych fywyd tragywyddol,—chwychwi, y rhai ydych yn credu i enw

Mab Duw." Ond nyni a gymmerwn y darlleniad cyffredin. Ac y mae hwnw yn rhoddi mantais i ni sylwi ar ddau beth :—

I. Fod yn bosibl i gredinwyr gyrhaedd sicrwydd fod ganddynt fywyd tragywyddol : "y pethau hyn a ysgrifenais atoch chwi, y rhai ydych yn credu yn enw Mab Duw, fel y gwypoch fod i chwi fywyd tragywyddol."

II. Nad ydyw y sicrwydd hwnw wedi ei fwriadu i'w codi uwchlaw defnydd parhaus trwy ffydd o Iesu Grist fel Gwaredwr : "ac fel y credoch yn enw Mab Duw."

I. Fod yn bosibl i gredinwyr gyrhaedd sicrwydd fod ganddynt fywyd tragywyddol : "y pethau hyn a ysgrifenais atoch, fel y gwypoch fod i chwi fywyd tragywyddol."

Y peth pwysicaf a all berthyn i ddyn ydyw ei achos tragywyddol rhyngddo â Duw, a'r hyn a ddylai gael y lle blaenaf yn ei feddwl ydyw sefyllfa hwnw. Nid oes eisiau ond yr ystyriaeth leiaf er canfod nas gall yr un ymofyniad ymgystadlu yn y meddwl â'r ymofyniad,—a ydyw hwnw yn dda. "A ydyw fy mhechodau wedi eu maddeu ? A ddygwyd fi i heddwch â Duw ? A gâf fi ddianc rhag y digofaint sydd ar ddyfod ? A ydwyf fi yn gymmeradwy yn yr anwylyd ? Ar ba law i'r Barnwr y dodir fi yn nydd y didoliad ? Pa beth a glywir genyf fi o'i enau ef dydd hwnw ?" Yn awr, y mae yn amlwg mai pwnc y Barnwr mawr ei hunan ydyw hwn, i'w benderfynu ganddo yn ol deddf dragywyddol ei lywodraeth. Ac y mae mor amlwg fod yn anmhosibl i ddyn trwy unrhyw ddyfais esgyn i fyny i'r nefoedd, olrhain y dirgelion dwyfol, a darllen ei enw yn Llyfr y bywyd. Y mae yn amlwg hefyd nad oes yr un datguddiad uniongyrchol yn cael ei roddi i neb,—trwy lais o'r nef, neu trwy gyfrwng unrhyw genad angylaidd,—pan y mae yn cael dianc byth gan ei Farnwr, fod hyny

wedi cymmeryd lle. Am hyny, y mae llawer yn ammeu a yw y fath wybodaeth yn gyrhaeddadwy, a rhai yn dadleu ei bod yn anmhosibl, ac y rhaid i ddyn fyned i'r byd arall cyn deall dim am ei gyflwr ynddo.

Y mae yn rhaid cyfaddef nad oes un sicrwydd uwch am hyn i'w ddysgwyl na sicrwydd gobaith. Rhaid cyfaddef hefyd, ysywaeth, fod llawer iawn o'r rhai y gellir gobeithio eu bod yn wir dduwiol yn myned trwy y byd hebddo, ac mai ychydig, mewn cymhariaeth, ydyw nifer y rhai sydd yn ei fwynhau yn gyson. Y mae yn rhaid hefyd caniatau fod yn anhawdd iawn ar rai golygiadau esgyn iddo. Yr un pryd, y mae y testyn, dybygid, yn penderfynu yn bur amlwg ei fod yn gyrhaeddadwy, ac yn ei osod allan, yn wir, mor gyrhaeddadwy fel y gellid meddwl y rhaid i'r diffyg o hono gyfodi, naill ai oddiar ansawdd isel iawn ar grefydd yn y meddwl, gwendid mawr mewn ffydd, neu oddiar ryw gam-gymmeriadau pwysig yn nghych y modd i chwilio i mewn i'r prawf o'i bodolaeth. Fe ymddengys fod yn bosibl i gredinwyr gyrhaedd y sicrwydd fod ganddynt fywyd tragywyddol, os ystyriwn dri pheth :—

1. Fod bywyd tragywyddol, yn ol tystiolaeth Duw, yn gysylltiedig anwahanol â ffydd yn Iesu Grist.

2. Fod gweithrediad ffydd yn y dystiolaeth yn beth sydd yn dyfod o fewn cylch ymwybodolrwydd y dyn ei hunan.

3. Fod cywirdeb neu annghywirdeb y gweithrediad hwnw i'w adnabod yn natur ei ddylanwad ar y galon a'r fuchedd.

1. Mae bywyd tragywyddol, yn ol tystiolaeth Duw, yn gysylltiedig â ffydd yn Iesu Grist. Dyna ydyw yr Efengyl : cyhoeddiad i fyd euog o fywyd tragywyddol

trwy Iesu Grist, a galwad ddidwyll, eglur, daer, ar y pechaduriaid gwaethaf i droi ato am dano. Y mae y cyhoeddiad yn cael ei wneyd gan yr Anfeidrol ei hunan, a'r alwad yn gwbl gyffredinol a dilyffethair. Y mae yn defnyddio pob moddion cyfaddas i natur y rhai a annerchir ganddo, er ceisio eu perswadio i gydymffurfio â'r alwad hon. Y mae yn dangos iddynt eu trueni hollol ynddynt eu hunain; eu drygioni mwyaf yn y trueni hwnw; graslonrwydd pur yr Anfeidrol yn sylwi arnynt yn eu trueni; y draul fawr yr aeth iddi trwy ddarostyngiad, a dioddefiadau, ac angeu ei anwyl Fab, er mwyn eu gwaredu; gwerth annhraethol y fendith a ennillwyd felly mor ddrud, ond a gynnygir mor rad iddynt hwy; yr anniolchgarwch a'r pechadurusrwydd a'r perygl o wrthod y fath ymwared; yr anmhosibilrwydd hollol o ddianc byth o'i hesgeuluso; a'r gwaeau ofnadwy a ddisgyn arnynt yn ddiddiwedd mewn byd arall, yn gospedigaeth am ei gwrthod. Mae y sicrwydd cryfaf yn cael ei roddi i bob pechadur, pa mor fawr bynnag, am dderbyniad a maddeuant a bywyd, a ddelo ato yn y drefn hon,—"Yr hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim." "Y mae Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." "Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." "Nid oes, gan hyny yn awr, ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Y mae y sicrwydd cryfaf, fel hyn, am fywyd tragywyddol i bawb a gredo yn y Gwaredwr.

"Y mae tri yn tystiolaethu—"yr Ysbryd, y dwfr, a'r gwaed; a'r tri hyn yn un y maent yn cytuno"; "Y mae gan yr hwn sydd yn credu y dystiolaeth ynddo ei hunan;"—"tystiolaeth Duw" ydyw—y

Duw digelwyddog, y Duw nas gall ei wadu ei hun. Wel, beth ydyw ei chynnwys? "A hon yw y dystiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol; a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef. Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo; a'r hwn nid yw ganddo Fab Duw, nid oes ganddo fywyd." Ydych chwi yn gweled y sicrwydd sydd am eich bywyd yn nhrefn Duw? "O phecha neb, y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn." Pa brawf a fynit ti gael, anwyl enaid, i obeithio am fywyd tragywyddol, er euogrwydd mawr? Pe byddai i'r holl dduwiolion sydd ar y ddaear gyduno â'u gilydd i fyned at yr Anfeidrol yn dy achos; yr holl Eglwys fawr trwy y byd yn gwneyd gweddi ddyfal at Dduw trosot, gredit ti y gwrandawai Duw hwynt ar dy ran? Pe ceit ti yr holl dduwiolion sydd wedi myned i'r nefoedd i ymuno â hwynt yn yr eiriolaeth; pe ceit ti sicrwydd fod Abraham yn y nefoedd â'th achos ar ei galon,—yr Abraham fu yn dadleu dros y Sodomiaid, nes y bu agos iddo a throi y Goruchaf i'r nefoedd yn ol cyn cyflawni y gorchwyl y daethai i lawr o'i blegyd; Moses a neidiodd lawer gwaith i'w fraich i'w attal i daro cenedl anhywaith; Elias a lwyddodd yn ei weddiau i gloi a dadgloi y nefoedd; Dafydd, Esaiah, Daniel, Ioan, Pedr, Paul, Mair, mam yr Arglwydd ei hunan,—fedrit ti gredu y maddeuai y Duw mawr i ti pe ceit ti sicrwydd fod y rhai hyn oll yn dy blaid, yn dadleu drosot? Ah, enaid anwyl, y mae yn dy ymyl sicrwydd am beth anfeidrol fwy na'r cwbl,—"Y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist y cyfiawn; ac efe yw yr iawn dros ein pechodau ni, ac nid dros yr eiddom ni yn unig, ond dros bechodau yr holl fyd." Y funud y mae y pechadur yn troi at Dduw trwyddo, y mae yntau yn gosod ei hunan, yn ei deilyngdod mawr, yn ei blaid. Y mae holl haeddiant pen Calfaria, holl wiwdeb aberth y groes, cymmaint ag

yw'r dyn a'r Duwdod ynddo yn trigo, wedi tywallt ei enaid i farwolaeth drosto, yn dyfod yn nhrefn Duw yn sicrwydd gobaith bywyd tragywyddol iddo. Y mae yn gyfraith sefydlog, yn ordinhad dragywyddol yn y llywodraeth ddwyfol, y caiff pob pechadur a ymgysyllto trwy ffydd â Iesu Grist, fywyd tragywyddol.

Ond fe ymddengys hyn eto, os ystyriwn,

2. Fod gweithrediad ffydd yn y dystiolaeth yn beth sydd yn dyfod o fewn cylch ymwybodolrwydd y dyn ei hunan. Gallesid meddwl fod hyn yn beth mor amlwg fel na buasai eisiau helaethu dim i'w ddangos na'i brofi; ac eto, dybygid, fod syniadau lliaws mawr ar ffydd yn gyfryw ag sydd yn ei wadu yn gwbl. Y mae llawer yn golygu ffydd megis pe byddai yn rhywbeth yn yr enaid, annibynol ar yr enaid, ar wahan oddiwrtho, ac felly tu hwnt, neu uwchlaw, i bob ymwybyddiaeth. Ond nid peth felly ydyw ffydd. Y mae yn wir yn bosibl i'r ansawdd meddwl fod heb i'r dyn fod ar y pryd yn ymwybodol o hono, ond y mae y gweithrediad o honi yn beth anmhosibl tu allan i ymwybodolrwydd. Nid yw ychwaith hwyrach yn beth cwbl anmhosibl i ddyn trwy ymgynefino â bywyd ffydd ddyfod mor hyddysg ynddo fel y bydd yn nghyflymder gweithrediadau y meddwl, a than ddylanwad deddf ymarferiad, yn cyflawni gweithredoedd o ymddiried yn Nuw heb i'r meddwl gael ei ddwyn yn uniongyrchol i ymwybyddiaeth mai felly y mae yn gwneyd. Yr un modd ag yr ydym yn gweled y foneddiges yna yn chwareu ei bysedd ar y *piano* gyda'r fath gyflymder fel nad yw ei hunan yn ymwybodol o'i chyffyrddiad â phob *note*, neu yn gallu gwneyd hyny ac ymddyddan â'r cwmni yr un pryd. Felly, hwyrach, fod yn bosibl i ddyn wedi hir arfer credu gyrhaedd y fath hyddysgedd a rhwyddineb yn yr ymarferiad ag i'w gydwäu, heb ymwybyddiaeth uniongyrchol, â holl

orchwylion yr oes. Ond os yw hynyna yn bosibl,—yn araf iawn, trwy hir ymarferiad, y mae esgyn iddo; ac wedi y cyrhaedder ef, nid oes dim yn angenrheidiol ond troi, trwy ymsylwadaeth y meddwl arno ei hunan, er dyfod i ymwybodolrwydd o'r gweithrediad.

Y mae yn rhaid fod ffydd yn ei gweithrediad o fewn ymwybodolrwydd y meddwl, oblegyd—

1. Nid oes neb yn credu yn Iesu Grist fel Gwaredwr ond yn ngwyneb yr ymdeimlad o golledigaeth hollol hebddo. Felly y mae yr Arglwydd Iesu yn ei gyflwyno ei hunan ger bron y byd, fel Ceidwad, fel unig Geidwad, ac fel unig Geidwad rhag angeu tragywyddol. Nid fel gwrthddrych i ddifyru y dyn,—nid un i gydgyfranogi âg ereill yn ei serchiadau,—ond fel unig ymwared y meddwl rhag dinystr diddiwedd; cysgod craig fawr rhag y gwynt ystormus a'r dymhestl; noddfa bywyd rhag dialydd y gwaed; mynydd i ddiogelu rhag y gawod frwmstanaidd; arch rhag boddi yn y dylif mawr. Yn awr, yn ngwyneb teimlad o'r angen yna am dano y mae y meddwl yn gwneyd defnydd o hono. "Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond y rhai cleifion." "Y llawn a sathr y dil mêl; ond i'r newynog pob peth chwerw sydd felus." Ymdeimlad â'r perygl sydd yn gosod gwerth yn y waredigaeth. Y mae y dyn yn gweled y *fire-escape* yn myned ar hyd yr heolydd; prin y mae yn tynu ei sylw; nid yw o leiaf yn gosod ond ychydig o'i feddwl arno. Ond pe byddai y tŷ yn myned ar dân, ac yntau yn un o'r llofftydd uchaf, y grisiau tano wedi eu llosgi, neu dân wedi llanw y lle, fe fyddai gwerth annhraethol, gwerth ei fywyd, mewn cael ffroen y *fire-escape* wrth y ffenestr i ddianc am ei einioes. Felly y mae gyda'r meddwl, pan yn defnyddio Gwaredwr. Y mae y dyn yn y profiad o golledigaeth: y mae hyny nid yn yr hanes ond yn y teimlad. Y mae y

ddeddf wedi ei throseddu, ac yn melldithio; cydwybod mewn euogrwydd yn condemnio; amser yn ei wthio allan o hono; tragywyddoldeb yn ei sugno i'w elfen ei hun; uffern yn ymagor yn barod i'w lyncu; y dyn yn ofni bob munud disgyn i ddwylaw y Duw byw; pob gobaith o'i eiddo ynddo ei hunan wedi darfod;—felly, ac felly yn unig, y daw i ddefnyddio Gwaredwr. Nid wyf yn meddwl dywedyd fod y dychrynfeydd i'r un graddau, nac yn yr un dull, yn nheimladau pawb, ond y mae argyhoeddiad dwfn a dwys a sefydlog o'r perygl yn gwbl angenrheidiol er dwyn y pechadur i ddefnyddio y Ceidwad.

Yn awr, y mae yn anmhosibl i hyn fod, a'r dyn yn ddieithr iddo. Nid yn ddiarwybod iddo ei hunan y mae yn ofni, yn dychryn, yn ffoi, ac yn llefain, "Beth a wnaf fel y byddwyf cadwedig?" Y mae "y galon yn gwybod chwerwder ei henaid ei hun." Heblaw hyny—

(2.) Y mae ffydd yn gynnyrch naturiol cymdeithas y meddwl â'r dystiolaeth. Y mae hyn yn tarddu oddiar natur ffydd. Y mae pob ffydd fyddo yn rhesymol, yn gorphwys ar dystiolaeth, ac yn gyfatebol i rym hono. Y mae y meddwl, felly, dan angenrheidrwydd i ddyfod i gyfarfyddiad â hi mewn dirnadaeth o'i hystyr, ymchwil i'w seiliau, ac argyhoeddiad o'i chadernid. Y mae yn anmhosibl i neb ymddiried unrhyw beth ond i'r sawl y byddo ganddo ryw adnabyddiaeth o hono, neu dystiolaeth am dano, fel un cymmwys i dderbyn yr ymddiried. Pe na byddai gan y dyn ond rhywbeth i'w anfon o'r naill fan i'r llall yn y dref, nis gallai ei roddi yn llaw y cyntaf a gyfarfyddai yn yr heol. Byddai y gwerth fyddai ynddo, neu y cyfrifoldeb y byddai tano o'i herwydd, yn dylanwadu arno i beri iddo ofalu hyd y gallai na ddisgynai i ddwylaw neb anonest na neb diofal. Yn ol gwerth yr hyn a ymddiriedir y mae gofal y dyn am

gael sicrwydd digonol fod y sawl yr ymddiriedo iddo yn gymmwys i dderbyn yr ymddiried. Y mae gofal y dyn am ei feddiannau, ei iechyd, ac yn enwedig ei fywyd, yn peri iddo fod yn dra gochelgar rhag eu dodi yn nwylaw neb annghymmwys. Nid ymddirieda ei gorph i groesi yr afon yna i bob cwch bregus. Pan ar fudo i America neu Australia, y mae yn ymofyn yn bryderus iawn a ydyw y llong yn un ddiogel? A ydyw y cadben yn un medrus, cyfarwydd, sobr, a phwyllog? A allaf fi ymddiried fy einioes a'm meddiannau i'w ofal i groesi yr eigion mawr? Yn awr, y mae yr un peth yn perthyn i feddwl dyn, ac, yn wir, yn ol ei bwys y mae yn rhwym o fod yn fwy felly, yn ei feddwl gyda golwg ar ei achos ysbrydol, achos yr enaid, ei achos rhyngddo â Duw, achos y farn a ddaw, achos fydd yn gosod ei ddelw ei hunan ar ei dragywyddoldeb. Nid i'r cyntaf a'i cynnygio ei hunan iddo y gall y dyn ei ymddiried ei hun. A phan y cymhellir ef i gredu yn Iesu Grist, pan y gwahoddir ef i ddyfod ato, y mae yn bryderus yn ymofyn,—"Pwy yw efe, O Arglwydd, fel y credwyf ynddo?" A ydyw yn deall dyryswch fy achos? A all efe ddyfod trwyddo? Oes ganddo hawl i siarad yn y llys ar ran troseddwr? Pa ddadleuon a all arfer? Oes rhywun arall erioed wedi ymddiried iddo achos mor bwysig, ac mor ddyrys, ac mor ddrwg â'm hachos i? Pa fodd y troes yr ymddiried hwnw allan? A oes digon o fedrusrwydd ganddo, a digon o ffyddlondeb ynddo?" Peth fel hyn ydyw ffydd,—gweithrediad meddwl ar y dystiolaeth. Yn ol fel y clywais am ymddyddan unwaith yn Nghymanfa y Bala rhwng yr hen dadau sydd yn awr oll yn y nefoedd. Yr oedd Mr. Jones, Llangan; Mr. Charles; Mr. Jones, Dinbych; Mr. Elias; yr hen John Evans, o'r Bala, ac ereill yno. Yr oedd clyw John Evans mor drwm fel nad allai ddeall braidd

air o'r ymddyddan. Rhywbryd yn y cyfarfod fe ofynwyd iddo gan Mr. Charles ddywedyd rhywbeth ar y mater. Yr oedd Mr. Jones, Llangan, newydd ddywedyd yn felus ac yn effeithiol, nes oedd yr holl gyfarfod yn ddagrau. "Ymddyddan am ffydd yr ydym ni, John Evans." "Oh, ai e? Beth ydych yn ddywedyd am dani?" "Wel, y mae Mr. Jones newydd ddywedyd mai *menter*,—y pechadur yn *mentro* am ei fywyd,—ydyw." "Ie," meddai yr hen wr call a pharod, "Ie, *menter* ydyw ffydd, ond y mae ffydd bob amser, â'i llygaid yn ei phen, yn edrych allan am le da i *fentro* arno; a dyna y gwahaniaeth rhwng ffydd a rhyfyg." Dyna ydyw ffydd. Nid antur ddall mo honi. Y mae yn cyfodi oddiar gymdeithas y meddwl â'r dystiolaeth. "Mi a wn i bwy y credais, ac y mae yn ddiammeu genyf ei fod ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw." Yn awr, nis gall hyny fod y tu allan i gylch ymwybodolrwydd. Os gall y dyn wybod rhywbeth am weithrediadau ei feddwl, gall wybod a ydyw wedi bod uwchben y Bibl yn ceisio astudio y dystiolaeth, olrhain ei chynnwys, chwilio a oes ynddi yr hyn sydd yn ateb i'w amgylchiad ef, ac a yw yn gorphwys ar seiliau mor gedyrn ag y gall bwyso ei achos arni.

Eto,—fe ymddengys hyn, os ystyriwn,—

(3.) Fod ffydd yn cynnwys, yn yr olwg ar gadernid y dystiolaeth, ymddiried y galon yn ei gwrthddrych mawr, fel un abl i gadw yr hyn a rodder ato. Yn y dystiolaeth am dano y mae y meddwl yn gweled digon ynddo i gyfarfod holl angenrheidiau ei achos,—digon yn wyneb deddf yn melldithio, cydwybod yn condemnio, diafol yn cyhuddo; digon i gyfarfod yr euogrwydd mawr, yr halogrwydd dwfn, y tlodi eithaf, y trueni hollol, y pla anaele; digon i faddeu yr holl anwiredd, digon i buro

oddiwrth yr holl aflendid, digon i wella yr holl glwy, digon i godi o'r dyfnderau i'r làn, digon i'r orsedd ddysglaer, digon i'r gyfraith sanctaidd, digon i'r Barnwr mawr, digon i'r fynwes derfysglyd. Iawn, *Iawn*, IAWN; llon'd pob adwy, ateb pob gofyn, cyflenwad pob diffyg, unioniad pob gwyrni, cywiriad pob cam, cyfaniad pob rhwyg,—gorchudd cyflawn, hollol, tragywyddol dros yr anghydfod rhwng y pechadur â'i Frenhin, a moddion ei adferiad i ffyddlondeb iddo byth. Yn awr, yn yr olwg yma arno, y mae y meddwl yn cael ei alluogi i'w dderbyn, myned ato, rhoddi ei hunan yn gwbl i'w ddwylaw. "Y Duw mawr, wele fi yn dy gymmeryd ar dy air, ac yn rhoddi fy hunan fel yr ydwyf i'th ddwylaw yn dy drefn trwy Iesu Grist; boed bellach byth yn gwbl rhyngot ti âg ef; yr wyf fi yn derbyn dy dystiolaeth di am dano, ac yn rhoddi cymmaint ag a feddaf ato. Yr wyf fi wedi tori y gyfraith; y mae y drwg wedi ei wneyd; ond y mae efe wedi ei mawrhau a'i gwneyd yn anrhydeddus; yr ydwyf yn dysgwyl i ti faddeu i mi er ei fwyn ef. Yr wyf fi yn aflan, aflan, aflan; yr wyf yn ei gymmeryd ef yn sancteiddrwydd, fel y mae wedi ei wneuthur genyt ti; golch fi yn ei waed ef. Yr wyf yn myned i farw—ti wyddost ti pa bryd—yr wyf yn edrych ato, wedi i bawb fethu a chilio, i ddyfod i ddal fy mhen uwchlaw y dòn. Yr wyf yn myned i'r farn; nid oes genyf obaith ond efe am beidio cael fy nghondemnio y diwrnod hwnw. Y Duw mawr, derbyn fi ynddo. Iesu, Geidwad dyn, wele fi yn gorchymyn fy ysbryd euog i'th gyfiawnder, fy nghalon halogedig i'th waed, fy enaid i'w gadw genyt byth;—derbyn fi, Iesu mawr."

Y mae rhywbeth fel hyn mewn ffydd. Y mae ynddi fwy na chydnabyddiaeth y deall o wirionedd y dystiolaeth, ac argyhoeddiad y farn o'i phwys; y mae yn cynnwys gweithrediad uniongyrchol yr ewyllys ar ei

gwrthddrych mawr, ac ymlonyddiad y galon yn y drefn trwyddo am fywyd tragywyddol. Yn awr, y mae hyn oll eto o fewn cylch ymwybodolrwydd. Nid rhywbeth a all gymmeryd lle yn ddiarwybod i'r dyn ydyw. A ydyw yn gwybod iddo roddi ei arian yn y *Bank?* A ydyw yn gwybod iddo yswirio ei dŷ rhag colled oddiwrth dân? A ydyw yn gwybod iddo drosglwyddo gofal ei blentyn i gyfaill i'w gymmeryd i Gymru? A ydyw yn gwybod iddo ymddiried i'r cyfreithiwr wneyd y weithred er sicrhau ei feddiant o'r tir? Y mae yn bosibl iddo felly, yr un modd, wybod a ydyw wedi ymddiried ei enaid i ddwylaw Gwaredwr,—wrth bwy y mae yn dysgwyl am iachawdwriaeth, ac ar ba beth y mae yn pwyso am obaith dianc y dydd hwnw. Y mae yn bosibl, felly, i gredinwyr gyrhaedd sicrwydd fod ganddynt fywyd tragywyddol.

"Wel," medd rhywun, "yr wyf fi yn teimlo fel yna, ac yn ceisio gwneyd fel yna. Yr wyf yn gwbl sicr nad oes iachawdwriaeth i mi ond yn Iesu Grist, ac yr wyf bob dydd yn ceisio fy rhoddi fy hunan i'w ofal ef, i'm cadw ganddo erbyn y dydd hwnw. Ond yr wyf yn ofni nad wyf yn gwneuthur hyny yn iawn. Yr wyf yn cael yn y Bibl am ryw rai yn credu, ond dros amser, ac yn amser profedigaeth yn cilio. Sonir am rai yn credu, ond yn caru gogoniant dynion yn fwy na gogoniant Duw. Dywedir am un, ar ol credu, ei fod mewn bustl chwerwder a rhwymedigaeth anwiredd. Y mae son am ffydd ddiffuant; y mae hyny yn peri i mi feddwl fod un ffuantus. Y mae son am ffydd farw, a beth os un felly ydyw fy un i? Ie, fe ddywedir fod y cythreuliaid yn credu ac yn crynu; ac Oh! mor ofnadwy pe na byddai fy ffydd inau ond un gyffelyb." Yn awr, y mae hynyna yn ein harwain at y trydydd sylw:—

3. Fod cywirdeb neu annghywirdeb y gweithrediad

hwn i'w adnabod yn natur ei ddylanwad ar y galon a'r fuchedd.

Y mae y cyfnewidiad sydd yn cymmeryd lle ar achos pechadur, trwy faddeuant a chyfiawnhad, yn rhywbeth sydd ynddo ei hunan tu allan i gylch ymwybodolrwydd; ond y mae yr edifeirwch a'r ffydd sydd yn hanfodol iddo, yn bethau mynwes y dyn ei hunan; ac er nas gall esgyn oddi allan iddo ei hunan i'r fynwes ddwyfol, ac olrhain ei dirgelion hi, eto, fe all ddisgyn iddo ei hunan ac ymdeimlo â gweithrediadau ei feddwl, a theimladau ei galon ei hun. Ac er mantais iddo i benderfynu cywirdeb y rhai hyny, y mae prawf wedi ei roddi iddo yn eu dylanwad ar ei galon a'i fuchedd. Y mae hon yn hen ffordd dda, ac yn hynod o syml, i adnabod unrhyw beth, sylwi ar ei effeithiau, pa ddylanwad sydd iddo?—beth a gynnyrchir ganddo? Y mae natur y ffrwyth yn profi rhywogaeth y pren, ac ansawdd y ffrwd yn penderfynu cymeriad y ffynnon. Yn awr, hyn sydd gan Ioan trwy yr holl Epistol hwn, a'r un egwyddor sydd yn rhedeg trwy yr holl Ysgrythyrau. Yr hyn a ddygir yn mlaen yma i brofi gwirionedd pob gras, ydyw y dylanwad sydd iddo er cynnyrchu casineb at bechod, ymroddiad i sancteiddrwydd, a chydymffurfiad cyffredinol â gorchymynion Duw. A hyn ydyw y prawf mawr o wirionedd ffydd.

*Y mae ffydd yn Nghrist yn cyfodi oddiar adnabyddiaeth o hono:* "Y sawl a adwaenant dy enw a ymddiriedant ynot." "Ie, ond a ydwyf fi yn ei adnabod? A welais i ei ogoniant? Y mae hyny o'r pwys mwyaf i mi, oblegyd hyny ydyw y bywyd tragywyddol." Wel, fel hyn y cyfarwydda Ioan: "Wrth hyn y gwyddom yr adwaenom ef, os cadwn ni ei orchymynion ef. Yr hwn sydd yn dywedyd, mi a'i hadwaen ef, ac heb gadw ei orchymynion ef, celwyddog yw, a'r gwirionedd nid yw

ynddo" (ii. 3, 4). Y mae adnabyddiaeth o hono yn ei wneyd yn un mor fawr yn ngolwg y meddwl nes y mae yn ymostwng iddo, yn arswydo ei ddigio, yn awyddus am ryngu ei fodd.

*Y mae ffydd yn Nghrist yn uno yr enaid âg ef:* y mae trwyddi yn ddiogel ynddo rhag pob perygl ac yn etifedd bywyd tragywyddol. "Ond a ydwyf fi ynddo? Yr wyf yn ei dŷ, yr wyf yn mysg ei bobl, ond a ydwyf fi ynddo ef? Y mae o'r pwys mwyaf i mi, rhag, wedi y cwbl, fy mod eto nghyraedd y ddamnedigaeth." Yr un modd y mae Ioan yn perderfynu hyn eto: "Wrth hyn y gwyddom ein bod ynddo ef. Yr hwn a ddywed ei fod ef yn aros ynddo ef, a ddylai yntau felly rodio, megis ag y rhodiodd efe" (ii. 5, 6). Y mae pawb sydd yn ymgysgodi tano yn ymdebygu iddo. Nid oes neb wedi ei gysylltu âg ef er diogelwch ei gyflwr, heb ddilyn ei esiampl er rheoleiddio ei ymddygiad.

*Y mae ffydd yn Nghrist, gan uno yr enaid fel hyn âg ef, yn ei ddwyn i sefyllfa ag y mae cyfiawnder Crist yn dyfod yn eiddo iddo, ac yntau trwyddo yn cael dianc byth gan ei Farnwr.* Y mae "yn gymmeradwy yn yr anwylyd." Y mae yn cael ei "gyfiawnhau trwy ffydd." Y mae "yn gyfiawnder Duw ynddo ef." "Ie," meddai y meddwl pryderus, "dyna yr hyn sydd bwysig i mi, pa beth ydwyf ger bron Duw? Beth yw ei feddwl ef am danaf? Pa un ai cyfiawn ai annghyfiawn yn ei olwg ef? Efe yw fy Marnwr. Oh! na wyddwn a ydwyf yn gymmeradwy ganddo." Yr un ateb y mae Ioan yn roddi i hyn eto, "O blant bychain, na thwylled neb chwi. Yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn, megis ag y mae yntau yn gyfiawn." Y mae y rhai y mae cyfiawnder y ddeddf yn cael ei gyflawni ynddynt, "yn rhodio nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd."

*Y mae ffydd yn Nghrist yn cyfodi ei pherchenogion i'r berthynas uchaf ac anrhydeddusaf â Duw.* "Gwelwch pa fath gariad a roddes y Tad arnom, fel y'n gelwid yn feibion i Dduw." "Chwychwi oll ydych blant i Dduw, trwy ffydd yn Nghrist Iesu." "Oh! a ydwyf fi yn blentyn iddo? A ydwyf fi wedi fy ngeni o hono? A gyfodwyd fi i'r fath urddas? A roddwyd y fath gariad arnaf fi? A oes y fath obeithion o'm blaen? Ynte, a wyf, wedi y cwbl, yn peidio â bod yn blentyn i ddiafol? Oh! na allwn benderfynu y pwnc." Nid oes angenrheidrwydd am i ti fod mewn amheuaeth. Y mae y mater yn lled hawdd ei benderfynu. "Yn hyn y mae yn amlwg plant Duw a phlant diafol: pob un a'r sydd heb wneuthur cyfiawnder, nid yw o Dduw, na'r hwn nid yw yn caru ei frawd" (iii. 10). "Os gwyddoch ei fod ef yn gyfiawn, chwi a wyddoch, neu gwybyddwch, fod pob un a'r sydd yn gwneuthur cyfiawnder wedi ei eni o hono ef" (ii. 29).

*Y mae ffydd yn Nghrist yn cynnyrchu cariad ato ac at y Duw mawr ynddo.* "Nyni a adnabuom ac a gredasom y cariad sydd gan Dduw tuag atom ni." "Duw, cariad yw." "Yr ydym ni yn ei garu ef am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." Y mae "ffydd yn gweithio trwy gariad." "A ydwyf fi yn caru? A yw fy nghariad yn un cywir?" Yr un modd y mae gwybod hyn eto: "Hyn yw cariad Duw; bod i ni gadw ei orchymynion: a'i orchymynion ef nid ydynt drymion" (v. 3). "Yr hwn a gadwo ei air ef. Yn wir yn hwn y mae cariad Duw yn berffaith." "Yn hyn y perffeithiwyd ein cariad ni, fel y caffom hyder ddydd y farn: oblegyd megis ag y mae efe, yr ydym ninau hefyd yn y byd hwn."

*Y mae ffydd yn cyfodi y meddwl i gymdeithas â Duw.* Y mae trwyddi "yn gweled yr anweledig,"—"yn edrych nid ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir." "Pa

fodd y gallaf fi wybod a wyf yn cael y gymdeithas hon?" Yr un modd: "Goleuni yw Duw, ac nid oes ynddo ddim tywyllwch. Os dywedwn fod i ni gymdeithas âg ef, a rhodio yn y tywyllwch, celwyddog ydym, ac nid ydym yn gwneuthur y gwirionedd: eithr os rhodiwn yn y goleuni, megis y mae efe yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas â'n gilydd, a gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod" (i. 5, 6, 7).

*Y mae ffydd, gan gysylltu y pechadur â Iesu Grist, yn cadw ei enaid rhag angeu.* Y mae trwyddi yn cael ei symmud o'r tywyllwch i'r goleuni, o feddiant Satan at Dduw, o farwolaeth i fywyd. "Oh! ïe, dyna y peth mawr; fe fyddai yn dda genyf wybod ai dyna fy nghyflwr i. Mor ddedwydd yw y rhai a symmudwyd! Oh! mor ofnadwy ydyw ar y rhai sydd eto yn aros yn marwolaeth!" Wel, edrych pa fodd yr oedd Ioan yn gwybod. "Nyni a wyddom ddarfod ein symmud ni o farwolaeth i fywyd, oblegyd,"—oblegyd pa beth? Wel, fe allasai Ioan ddywedyd llawer o bethau. "Mi wn i o'r goreu fy mod yn dduwiol. Fe gefais i fy ngalw gan Iesu Grist ei hunan. Myfi oedd un o'r rhai cyntaf a alwyd ganddo. Fe ngwnaeth i yn Apostol iddo. Yr oeddwn i yn anwylach ganddo nag yr un o'r Apostolion. Myfi oedd y dysgybl anwyl. Os byddai rhywbeth neillduol yn cael ei wneuthur neu ei ddywedyd ganddo, fe fyddwn i bob amser yn bresennol. Yr oeddwn i yn un o'r tri oedd gydag ef yn nhŷ Jairus, pan y cododd yr eneth farw yn fyw. Yr oeddwn i gydag ef ar fynydd y gwedd-newidiad, pan yr ymddangosodd yn ei wisgoedd nefol. Yr oeddwn i yn pwyso ar ei fynwes ar y swper diweddaf. Yr oeddwn i yn un o'r tri oedd gydag ef yn yr ardd, pan oedd yn yr ing mawr. Mi glywais i ei lefain cryf, mi welais i y dagrau chwerwon, yr oeddwn i yn dyst o'r chwys gwaedlyd. Mi dilynais i ef i'r llys. Yr oeddwn i wrth

droed y groes yn ei weled yn dioddef. Mi glywais i ei eiriau diweddaf. Mi gwelais i ef yn marw. I'm gofal i yr ymddiriedodd ef ei fam cyn marw. Yn fy nhŷ i y bu hithau byw nes aeth i'r nefoedd. Yr wyf fi yn sicr fy mod i yn dduwiol. Mi a'i gwelais ef wedi iddo fyned i'r nefoedd. Yr wyf yn cofio yn dda un boreu Sabbath yn Patmos,—annghofiaf fi mo hono byth,—fe ymddangosodd i mi ; mi welais ei wedd, mi glywais ei lais. Yr oedd wedi cyfnewid yn fawr yn ei olwg, er pan y gwelswn ef o'r blaen; ond nid oedd ei galon wedi newid dim. Fe ddywedodd wrthyf,—y mae ei eiriau yn fy nghlustiau eto : 'Nac ofna : myfi yw y cyntaf a'r diweddaf; a'r hwn wyf fyw, ac a fûm farw ; ac wele, byw ydwyf yn oes oesoedd, Amen ; ac y mae genyf agoriadau uffern a marwolaeth'; cystal a dywedyd wrthyf, 'ni fwriaf fi mo honot ti yno byth.' Yr ydwyf fi yn sicr fy mod i yn dduwiol." Fe allasai Ioan siarad llawer fel yna. Ond pethau neillduol iddo ef oedd y pethau yna. Pe fel yna y llefarasai, ni buasai neb yn gallu llefaru ar ei ol. Ond y mae yn cymmeryd prawf cyffredin i bob dyn duwiol. Y mae yn gosod ei droed ar risyn mor isel nad oes yr un credadyn rhy fychan nac egwan i'w ddilyn. "Nyni a wyddom ddarfod ein symmud ni o farwolaeth i fywyd, oblegyd ein bod yn caru y brodyr." Ti elli dithau ddywedyd fel yna, oni elli? "Ydwyf, yr wyf yn eu caru. Nid wyf yn sicr a ydwyf yn perthyn iddynt, ond y mae yn well genyf am danynt nag am neb yn y byd. Hwynthwy yw fy nghyfeillion wrth fyw ; hwy ddymunwn i weled yn cylchynu fy ngwely pan y byddaf fi yn marw. Wyf, yr wyf, yn caru y brodyr." Wel, frawd anwyl, tyn y casgliad : yr ydwyf wedi fy symmud o farwolaeth i fywyd ; yr ydwyf yn dduwiol ; ni ddemnir byth mo honof; fe fydd fy ysbryd yn gadwedig yn nydd yr

Arglwydd Iesu; mi gâf fod gyda Christ byth yn y nefoedd."

"Ie, mi a allaf ddywedyd fel yna,—ond a ydyw yn wir gariad brawdol? Y maent yn gymydogion caredig, yn gymdeithion difyrus, yn proffesu gyda'r un blaid grefyddol, yn aelodau o'r un eglwys, yr wyf yn cael llawer iawn o'u cwmni, ac yn cael llawer o gymmwynasau oddiar eu llaw; pe bawn i yn gwybod a ydyw yn wir gariad atynt mi dreiwn obeithio am fy nghyflwr." Wel, yr un modd y mae Ioan yn penderfynu y pwnc yna eto: "Wrth hyn y gwyddom ein bod yn caru plant Duw, pan fyddom ni yn caru Duw ac yn cadw ei orchymynion ef"; eu caru fel plant Duw, eu caru am eu bod yn dduwiol, eu caru pan y byddont yn fwyaf duwiol, caru delw Duw arnynt, caru Duw ei hunan ynddynt, eu caru gan lawenychu oblegyd llwyddiant eu crefydd, dysglaerni eu grasusau, arwyddion o'u defnydd-ioldeb, a chan ymofidio oblegyd pob annghydnawsedd yn y galon âg Ysbryd Duw ynddynt. Fel hyn y mae ffydd wirioneddol i'w hadnabod wrth ei dylanwad sanctaidd ar galon a buchedd ei pherchen. Tra y mae gau-ffydd yn gadael ei pherchen yn ngafael holl lyg-redigaeth ei natur, y mae y ffydd sydd i gadwedigaeth yr enaid yn puro y galon, yn gorchfygu y byd, yn gweithio trwy gariad, yn ffrwythlon mewn gweithred-oedd da, ac felly yn raddol yn codi ei pherchen i "ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr, a'n Hiachawdwr Iesu Grist." Dyna ni yn gadael y mater cyntaf yn y fan yma—y mae yn bosibl i gredinwyr gyrhaedd sicrwydd fod ganddynt fywyd tragywyddol. Wele ni yn awr yn symmud at yr ail fater.

II. Nad ydyw y sicrwydd hwn wedi ei fwriadu i'w codi uwchlaw defnydd parhaus trwy ffydd o Iesu Grist

fel Gwaredwr: "Y pethau hyn a ysgrifenais atoch chwi y rhai ydych yn credu yn enw Mab Duw, fel y gwypoch fod i chwi fywyd tragywyddol, ac fel y credoch yn enw Mab Duw."

Mae rhai o'r rhai sydd yn dadleu yn erbyn y posibilrwydd o sicrwydd am fywyd tragywyddol, yn proffesu gweled doethineb mawr yn yr ordeiniad o'i attal, ar y tir y byddai tuedd ynddo i beri i'r dyn a'i caffai fod yn llai pryderus yn nghylch ei achos tragywyddol, ac yn fwy diofal am ymdrechu rhyngu bodd Duw. Rhaid caniatau y byddai y sawl a'i cyrhaeddai yn llai pryderus yn nghylch ei sefyllfa dragywyddol, os wrth hyny y meddylir arswyd ac ofn a dychryn yn mherthynas iddi; oblegyd y mae y sicrwydd ynddo ei hunan yn tybied fod y cyfryw deimladau wedi eu colli, a hyder tawel yn meddiannu y meddwl. Ond os wrth bryder y golygir, ymsyniad o bwys yr achos, ac o'r angenrheidrwydd am ei ymddiried yn unig i un abl i gadw; y mae y meddwl fod tuedd yn y sicrwydd hwn i leihau y cyfryw bryder, yn gwbl annghydweddol â holl ddysgeidiaeth yr Ysgrythyrau mewn perthynas iddo, yn gystal ag â'r holl esiamplau a roddir i ni o hono ynddynt. Nis gellir gwadu, pan ystyrier yr hyn ydyw dyn dan bechod—a'r goreu o ddynion nes eu cwbl berffeithio—nas gall y galon ddynol, o'i gadael iddi ei hunan, lai na thynu niwed oddiwrth bob peth. Ond y mae cymmeryd mantais ar brofiad o faddeuant, ar heddwch cydwybod, ar obaith bywyd tragywyddol, i ddiofalwch yn nghylch y cyflwr ac yn nghylch gwasanaeth Duw, yn beth cwbl groes i'r oll sydd adnabyddus i ni am natur darpariaeth yr Efengyl, a dylanwad y derbyniad o honi ar galon pechadur. Nid ydyw yr ysgrifenwyr sanctaidd, gan hyny, pan yn annog Cristionogion i gyrhaedd y sicrwydd hwn, yn gymmaint ag yn cymmeryd arnynt weled y

perygl y dychryna rhai rhagddo—am duedd ansanctaidd iddo—ond i'r gwrthwyneb, bob amser yn ei osod allan fel cynnyrch sancteiddrwydd uchel a gwastadol, ac yn ei gysylltu bob amser â defnydd cyson trwy ffydd o Iesu Grist fel Gwaredwr; ac felly yr ydym yn gweled yn y testyn,—"Ac fel y credoch yn enw Mab Duw."

Ymddengys hyn i ni yn amlwg os ystyriwn mai,—

1. Gwasanaeth a gwerth arbenig ffydd i'w pherchen ydyw ei bod yn ei godi i ac yn ei gadw yn yr undeb hwn. Y mae, yn ordeiniad y Duw mawr, yn cysylltu y pechadur â Iesu Grist mor hollol yn ngolwg cyfraith y nefoedd fel y mae pa beth bynnag sydd yn y naill fel Gwaredwr, yn dyfod yn eiddo i'r llall yn ei drueni. Y mae y pechadur yn cael ynddo ei hunan yr euog, yr aflan, y noeth, y tlawd,—un wedi tori y gyfraith—un yn haeddu marw—un dan gollfarn—un rhwym o'i ran ei hunan i farw byth. Ond y mae Iesu Grist yn yr Efengyl yn cael ei godi ger ei fron, yn wyneb ei euogrwydd, yn iawn; yn ei aflendid, â rhinwedd digonol ynddo i lanhau oddiwrth bob pechod; yn ei noethni, yn llian main, gwyn a glân; yn ei dlodi, â phob cyflawnder yn preswylio ynddo,—anchwiliadwy olud Crist. Y mae yn yr Efengyl, ar ein cyfer, yn bob peth ac yn mhob peth. Ond pa fodd y gall y pechadur a'r Ceidwad ddyfod i afael â'u gilydd? Wel, nid oes eisiau dim ond ffydd; credu y dystiolaeth am dano. Y funud y byddo y pechadur yn gwneyd hyny y mae yn syrthio i mewn â threfn Duw. Y mae yn gwlwm undeb tragywyddol ac yn gwlwm tragywyddol undeb rhyngddynt â'u gilydd. Fel pe meddyliech am ddelw gwrthddrych mewn drych, nid oes bod iddo ynddo ond tra byddo yn edrych arno; yr edrychiad yn gysylliedig â'r goleuni sydd yn rhoddi bod iddo, a'r un peth yn unig a all ei barhau. Fel yna y mae yn undeb y pechadur â Mab Duw: ffydd roddes fod iddo, a ffydd

sydd yn rhoddi parhad i'r bod hwnw. Yr un fath ag y mae undeb y corph â'r enaid, rywfodd, yn rhinwedd y bywyd naturiol a berthyn i'r corph. Gyda hwnyna, rywfodd, y rhoddwyd bod i'r undeb; y mae y bywyd naturiol yn hanfodol i'r undeb, a phan y coller ef y mae yr undeb yn cael ei dori a'r ysbryd yn ymadael. Fe ddichon iddo fod yn hynod o wan, ymddangos dros ychydig fel pe wedi colli, ond nid yw yr ysbryd yn ymadael; tra byddo dim bywyd yna, y mae yr enaid yna. Rhywbeth fel yna ydyw ffydd: rhyw gyfrwng undeb rhwng y pechadur â Gwaredwr; y mae yn cael ei fod ar y cyntaf drwyddi; y mae ei barhad yn dybynu arni; pe darfyddai, fe ddarfyddai yr undeb. Y mae holl gyflawnder y Duw mawr mewn Cyfryngwr yn eiddo hollol ac yn eiddo tragywyddol i bob un a gredo yn Iesu Grist.

2. Yn mharhâd ei undeb â Christ yn unig y mae parhad diogelwch y pechadur yn sicr. Y mae syniad gan rai fel pe byddai y pechadur yn cael ei ddwyn ar y cyntaf, trwy ei undeb â Iesu Grist, i ddiogelwch, ond fod parhad y diogelwch hwnw i orphwys ar ei gydymffurfiad personol ei hunan â'r ddeddf. Dechreuad y diogelwch trwy Iesu Grist; ond ei barhad trwy haeddiant neu deilyngdod moesol y dyn ei hunan. Ond nid felly y dysgir ni yn yr Ysgrythyrau, ac nid dyna brofiad y Cristion. Yn y Bibl, y mae aros yn Nghrist mor hanfodol i fywyd a dyfod iddo. Efe ydyw y Gwaredwr. Nid oes bywyd ond ynddo. Tra y byddo y pechadur ynddo ef, y mae yn gwbl ddiogel; ond pe torid y cysylltiad sydd rhyngddo âg ef, fe gollai ar unwaith bob hawl i fywyd. Y mae cyfiawnhad y pechadur trwy Iesu Grist, yn dragywyddol. Y mae yn myned trwodd o farwolaeth i fywyd; ond y mae felly, nid ynddo ei hunan, ond ar y dybiaeth fod yr undeb rhyngddo â Christ yn

dragywyddol. Ni chyfyd y pechadur byth uwchlaw dybyniad hollol ar Grist am gymmeradwyaeth gyda Duw. Ni chyfyd byth, arno ei hunan, o ran *cyflwr*, uwchlaw pechadur, pa gyfnewidiad bynnag a ddichon gymmeryd lle yn ei *gymeriad*. Y mae darpariaeth yn yr Efengyl at berffeithiad yr olaf, ond ni bydd cyrhaedd hyny yn cyfnewid dim ar sail diogelwch y blaenaf. Yn y nefoedd y maent yn ddifai, heb arnynt na brycheuyn na chrychni, wedi golchi eu gynau ac wedi eu cànu yn ngwaed yr Oen, yn rhodio gyda'r Oen mewn dillad gwynion; ond y maent yno yn cydnabod yn ddifloesgni ac mewn hwyl orfoleddus fod seiliau eu diogelwch y tu allan iddynt eu hunain,—nad purdeb dihalog eu cymeriadau hwy ydyw defnydd eu hawl i'r dedwyddwch y maent ynddo—nad yw hyny yn ddim amgen na chymhwysder i'w fwynhau, fod y meddiant o hono yn gorphwys yn unig ar haeddiant eu Gwaredwr. "Iddo ef yr hwn a'n carodd ni ac a'n golchodd ni oddiwrth ein pechodau yn ei waed ei hun. Iddo ef y byddo y gogoniant." "Ti a laddwyd ac a'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed." "Gwir yw y gair ac yn haeddu pob derbyniad, ddyfod Crist Iesu i'r byd i gadw pechaduriaid, o ba rai y pennaf ydwyf fi"; y pennaf oeddit ti, Paul? "y pennaf ydwyf fi." "Yr oeddwn i yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahaus"; "ond myfi a gefais drugaredd"; ac y mae y drugaredd hono wedi newid fy nghymeriad, y mae yr hen bechodau wedi eu gadael; nid cablu yr ydwyf yn awr, ond gweddïo; nid erlid yn awr, ond cael fy erlid; nid trahaus yn awr, ond gostyngedig,—ond eto yr un yw fy nghyflwr ynof fy hunan,—"O ba rai y pennaf ydwyf fi." Teimlad y Cristion tra byddo yn y byd ydyw: "Eithr y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist. Ie, yn ddiammeu, yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn

golled er mwyn ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd ; er mwyn yr hwn y'm colledwyd yn mhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel yr ennillwyf Grist, ac y'm cair ynddo ef heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd." Ac wedi ei berffeithio,—wedi y cyrhaeddo adgyfodiad y meirw, ar yr un sail y bydd ei gymmeradwyaeth yn gorphwys, ni bydd byth yn llai dybynol ar Gyfryngwr, ac ni phaid byth a rhoddi y goron ar ei ben. Yn ei undeb â Christ y bydd byth yn ddiogel. "Y pethau hyn a ysgrifenais atoch chwi, y rhai ydych yn credu yn enw Mab Duw; fel y gwypoch fod i chwi fywyd tragywyddol, ac fel y credoch yn enw Mab Duw."

---

## PREGETH VIII.

### YR UN YMRODDIAD I GREFYDD AG A RODDIR I'R BYD YN SICR O FOD YN LLWYDDIANNUS.

DIAR. ii. 4, 5.

"*Os ceisi hi fel arian, os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig: yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw.*"

Mae yn naturiol i ddyn geisio arian. Nid oes odid ddim y ceir dynion yn gyffredinol yn fwy cytunol arno, na'r awydd am eu cael. Y maent mor wasanaethgar fel cyfrwng er sicrhau defnyddiau y pethau angenrheidiol tuag at ein cynhaliaeth a'n cysur yn y byd, fel y mae pawb yn ymgais am eu meddiannu. Dyma y gofal mwyaf uniongyrchol sydd gan bawb. Pa beth bynnag a all fod gan ddynion fel amcan eithaf, neu brif amcan, eu hamcan cyntaf, agos yn ddieithriad, ydyw cael arian.

Nid ydyw y tuedd hwn, ac edrych arno ynddo ei hunan, mewn un modd i'w feio. Y mae, yn wir, o werth annhraethol i'r byd. Hyn sydd yn rhoddi bywyd ac yni a pharhad i'w holl fasnach a'i drafnidiaeth. Pe collid y tuedd hwn o feddyliau dynion, fe safai holl olwynion cymdeithas, a chollid un o'r dylanwadau mwyaf grymus yn mhlaid cynnydd a gwareiddiad y byd. Y mae y tuedd yn bechadurus pan y byddo yn oruchaf yn meddwl dyn, a'i foddio yn cael ei gymmeryd yn brif amcan ganddo; ac yn arbenig, pan y byddo yn defnyddio moddion annghyfreithlawn er ei sicrhau.

Y mae y gwr doeth yma yn cyfodi ger bron meddwl y gwr ieuanc a annerchir ganddo, yr ymroddiad a'r egni a'r ymdrech, a ddangosir gan ddynion i geisio arian, fel esiampl o'r ymdrech sydd briodol a dyledus gyda golwg

ar grefydd. Nis gall fod un amheuaeth nad dyna ystyr yr hyn a elwir yma yn ddoethineb, a gwybodaeth, a deall. Nid oes neb mewn gwirionedd yn ddoeth yn ngolwg y Bibl ond y dyn duwiol: "Wele, ofn yr Arglwydd, hyny ydyw doethineb; a chilio oddiwrth ddrwg, sydd ddeall." "Dechreuad doethineb yw ofn yr Arglwydd: deall da sydd gan y rhai a wnant ei orchymynion ef." "Ofn yr Arglwydd yw dechreuad gwybodaeth." Yn awr, y mae eisiau yr ymdrech a'r dyfalwch mwyaf i feddiannu y ddoethineb hon: peri i'r glust wrando arni; gogwyddo y galon ati; gwaeddi ar ol gwybodaeth; cyfodi y llef am ddeall; ei cheisio fel arian; chwilio am dani fel am drysorau cuddiedig. Ac, yn y testyn, y mae ymdrech felly yn sicr o fod yn llwyddiannus: "Os ceisi hi fel arian, os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig; yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw."

Wrth yr "*arian*" yma y mae i ni ddeall, nid arian bathol, neu arian fel y maent genym ni mewn cylchrediad cyffredin, ond arian yn y mŵn—y mŵn arian. Y mae y cyfeiriad at y mwnwr yn chwilo am y wythïen, lle y mae yr arian: yn ceisio yma ac yna ac acw; yn chwilio yn ddyfal yn mhob cyfeiriad am ryw arwyddion o'r mŵn gwerthfawr; ac yna yn llafurio yn galed i gloddio i'r graig, ac yn gweithio ei egni â'i forthwylion ac â'i ebillion i'w rhwygo. Ac wedi iddo gael gafael ar y wythïen, y mae yn ei dilyn yn fanwl ac yn ddyfal, ac yn gofalu am wneyd y defnydd goreu o honi. Yn awr, "os ceisi hi fel arian,"—os rhoddi di ymdrech fel hyn i geisio duwioldeb, i feddiannu crefydd, "yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw."

"Os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig." Yma y mae y gymhariaeth yn newid. Yn y Dwyrain gynt yr oedd cuddio trysorau,—aur ac arian a gemau a

thlysau,—yn beth hollol gyffredin. Yn fynych fe fyddai y galluoedd llywodraethol mor ormesol, fel, os deallid fod cyfoeth yn meddiant rhyw un, y delent trwy drais i'w yspeilio o hono; ac yr oedd minteioedd o ladron ac yspeilwyr yn eu gwaith yn amcanu at hyny; fel mai yn y ddaear, ac yn fynych mewn maes lle yr heuid drosto, y byddent yn gyffredin yn cadw eu trysorau. Ar adegau o gynhyrfiadau gwladol a rhyfeloedd, yr oedd hyny yn arbenig yn cael ei wneyd. A dichon mai ei ladd yn y rhyfel a gâi y sawl a fyddai wedi cuddio y trysor; ac erbyn hyny nad oedd neb yn gwybod yn mha le yr ydoedd. Y mae llawer iawn o'r fath drysorau, y mae yn ddiammeu, yn guddiedig yn y ddaear yn y gwledydd hyny, ac y mae rhyw grediniaeth yn gwbl gyffredin yn mhlith y bobl fod mwy o honynt nag, feallai, y sydd. Y mae yno ymröad anhygoel braidd yn mysg y trigolion yn eu hymchwil am danynt. Y mae cannoedd o bobl yn Palestina, y dyddiau hyn, nad ydynt yn gwneyd dim ond chwilio am y trysorau yma; ac y maent yn ymroddi i'r llafur hwn gydag egni a dyfal-barhad rhyfeddol. Gweithiant yn galed ar hyd y nos, ac hyd nes y byddant wedi blino yn hollol. Ac os llwyddant i gael ond y dernyn lleiaf o arian, ymddangosant braidd megis yn wallgof gan lawenydd. Yn awr, ond i ti fod mor ddyfal ac ymdrechgar gyda golwg ar grefydd, ag y mae y rhai yna yn eu hymchwil am y trysorau daearol, yr wyt ti yn sicr o lwyddo i'w chael: "Os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig; yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw." Ond er mai at y mwnwr yn chwilio am yr arian, ac at y bobl sydd yn ceisio cael gafael ar y trysorau cuddiedig yn y ddaear, y mae cyfeiriad uniongyrchol y geiriau, ni a allwn yn sicr, yn hollol gydweddol â'u hystyr ac â'u hamcan, eu cymmeryd yn

gysylltiedig âg ymdrech cyffredin dynion yn mhob modd cyfreithlawn am bethau y byd hwn. A'u deall felly, mi a ddymunwn eich sylw oddiwrthynt at y mater a welir yn amlwg ynddynt:—

FOD YR UN YMROAD I GREFYDD, AG A RODDIR GAN DDYNION I'R BYD HWN, YN SICR O DROI ALLAN YN LLWYDDIANNUS. "Os ceisi hi fel arian, os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig; yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw."

Yr ydych yn sylwi mai nid cyferbynu y ddau lafur yn eu llwyddiant y mae y geiriau. Nid dywedyd y maent fod cymmaint sicrwydd am lwyddiant gyda chrefydd ag sydd am lwyddiant gyda'r byd. Pe na buasai ond hyny, fe fuasai yn werth i ddyn, ac ystyried y pwys o'i meddu, wneuthur pob ymdrech posibl iddo am ei meddiannu. Oblegyd y rheol, gyda golwg ar ymdrech am y byd, ydyw fod yr ymdrech yn llwyddo: "Llaw y diwyd a gyfoethoga"; "Enaid y diwyd a wneir yn fras"; "Y neb a lafurio ei dir a ddigonir o fara"; "A welaist ti wr diesgeulus yn ei orchwyl? Efe a saif ger bron brenhinoedd, ac ni saif ger bron rhai isel radd." Dyma a rheol. Y mae ymdrech yn llwyddo. Ac eto nid rheol ydyw heb eithriadau lawer iddi. Dyna un yn y fan yna, ac arall yn y fan draw, yn cyfodi yn foreu, yn myned yn hwyr i gysgu, yn llafurio yn ddiwyd yn ystod y dydd, yn gwneyd ei egni yn ffyddlawn ac yn onest, ac eto yn aflwyddiannus. Y mae rhywbeth nad oedd ganddo ef un llywodraeth arno,—y tân, y dwfr, y gwynt, ei gysylltiadau â dynion ereill, rhywbeth—yn peri fod ei ymdrechion yn gwbl aflwyddiannus; ac angen, yn niwedd ei oes, fel gwr arfog, yn ymosod arno. "Mi a droais, ac a welais dan haul, nad yw y rhedfa yn eiddo'r cyflym, na'r rhyfel yn eiddo'r cedyrn, na'r bwyd yn eiddo'r doethion, na chyfoeth yn eiddo'r pwyllog, na

ffafr yn eiddo'r cyfarwydd; ond amser a damwain a ddygwydd iddynt oll." Dyna fel y mae gyda'r ymdrech am bethau y byd yma.

Ond nid cymharu llwyddiant y ddau ymdrech y mae y testyn. Nage; ond sicrhau y bydd i'r un ymdrech gyda chrefydd ag a roddir gan ddynion at y byd fod yn llwyddiannus. "Os ceisi hi fel arian, os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig; yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw." Nid hwyrach, nid feallai, nid y mae yn debygol; nage: yna y cei; nid y mae llawer yn cael, nid y mae y rhan fwyaf yn cael; y mae yna sicrwydd hollol; mae pawb yn cael; nid oes neb yn methu, ni fethodd neb erioed, ni fetha neb byth. Nid yw amser a damwain yn gallu tori i mewn i ddyrysu dim ar y ddeddf hon. "Yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw."

Yn awr, pa fodd y mae dynion yn ceisio arian? Edrychwch, er mwyn i ni weled pa fodd i geisio crefydd, fel ag i lwyddo yn ein hymgais.

I. Y mae dynion yn ceisio arian gan ymdeimlo â'r gwerth sydd ynddynt, a'r pwys iddynt hwy yn bersonol o'u cael.

Dyma yr ysgogydd mawr yn eu meddyliau at yr ymgais, a hyn sydd yn rhoddi bywyd ac yni yn eu hymdrech. Mae yn wir nad oes dim gwerth mewnol mewn arian: ni ellir eu bwyta, eu hyfed, na'u gwisgo; eto y maent yn gyfryw ag y gellir eu cyfnewid, yn y rhaniad sydd ar lafur yn y gymdeithas ddynol, am ba beth bynnag a fyddo yn eisiau arnoch. Ewch i'r farchnad, a chwi a ellwch gael pob peth am arian: yr ymborth goreu i'ch diwallu, y dillad gwychaf i'w gwisgo, y tŷ mwyaf cysurus i anneddu ynddo, y dodrefn gwychaf i'w addurno; pob peth, fel y dywedodd rhywun, ond synwyr da a gras Duw. "Cysgod yw

arian." Mae dyn trwy arian yn cyfodi i ddylanwad mawr ar ei gyd-ddynion, ac y mae trwyddynt yn gallu mwynhau braidd bob peth a ddymuno ei galon. Ac nid oes ond ychydig i'w gael hebddynt. Hebddynt, y mae y cylla yn wâg, y cefn yn llwm, y wedd yn curio, yr ysbryd yn gwanhau, a'r galon yn tori. Hebddynt, yn nghyfrif y byd, y mae y dyn yn dlawd. Hwnyna yw y tlawd. Nid y dyn sydd heb addysg, nid y dyn sydd heb synwyr, nid y dyn sydd heb grefydd,—ond y dyn sydd heb arian. Yn awr, gan ymdeimlo fod y fath werth ynddynt, a'r fath bwys o'u meddu, y mae dynion yn ymroddi i'r llafur am danynt.

"Fel ceisio arian." Ac o bob peth gwerthfawr, crefydd yw y gwerthfawrocaf. "Pennaf peth yw doethineb." "Ni ŵyr dyn beth a dal hi." "Cael doethineb, O mor well yw nag aur coeth! a chael deall, mwy dymunol yw nag arian." "Gwell yw ei marsiandiaeth hi na marsiandiaeth o arian, a'i chynnyrch hi sydd well nag aur coeth. Gwerthfawrocach yw hi na gemau: a'r holl bethau dymunol nid ydynt gyffelyb iddi." "Ni cheir hi er aur pur; ac ni ellir pwyso ei gwerth hi o arian. Ni chyffelybir hi i'r aur o Ophir, nac i'r onyx gwerthfawr, nac i'r saphir. Nid aur a grisial a'i cystadla hi: na llestr o aur dilin fydd gydwerth iddi. Ni chofir y cwrel na'r gabis: canys gwell yw caffaeliad doethineb na gemau. Ni ellir cyffelybu y topaz o Ethiopia iddi hi: ni chyd-brisir hi âg aur pur." "Elw mawr yw duwioldeb." "Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth; a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd." Yn wir, nid oes dim a gwerth gwirioneddol ynddo i ddyn fel creadur rhesymol ac anfarwol ond crefydd. Nid yw pethau y byd hwn, pa mor werthfawr bynnag, ond felly dros dymhor byr a thra ansicr. Nid ydynt yn cyrhaedd yn eu gwerth i'r byd arall. Yno

nid oes dim dylanwad gan yr hyn oedd yn meddiant y dyn yma; y mae y pwys i gyd ar yr hyn oedd ef ei hunan. Nid claf neu iach, nid tlawd neu gyfoethog, nid helbulus neu hapus, nid parchus neu ddirmygiedig yma sydd yn dylanwadu yno. Na, nid oes dim pwys gan y pethau yna yno. Ond y mae gwerth crefydd yn cyrhaedd ac yn parhau yno, ac fe bery yn ddiddiwedd. Pa beth bynnag a weli di yn y tragywyddoldeb yna sydd o dy flaen, ac y byddi ynddo yn fuan, a thi a weli bethau rhyfedd iawn, ni weli di ddim byth a wna fyw yn dduwiol yn beth bychan. Trwy hon y mae osgoi y trueni dyfnaf, a thrwy hon y cyrhaeddir y dedwyddwch mwyaf. Nid oes dim yn bwysig i ddyn mewn cymhariaeth i gael cymmod â Duw—dianc gan ei Farnwr—myned trwodd o farwolaeth i fywyd—a chael ei holl enaid i'r ansawdd hwnw ag y gall dynu dedwyddwch digymmysg a diddiwedd, o gymdeithas uniongyrchol, dilen, a thragywyddol â'i Greawdwr mawr. Yn awr, "os ceisi hi fel arian," ti a'i cei.

II. Y mae dynion yn ceisio arian, yn yr ymarferiad â'r moddion cyfaddasaf iddynt hwy er eu cyrhaedd.

Nid gan orwedd ar eu gwelyau, neu ymestyn ar eu glythau, neu ymddifyru yn eu chwareuon, y mae dynion yn ceisio arian. Nid gan adeiladu cestyll yn eu dychymygion, a phortreadu iddynt eu hunain y gwynfyd o gael eu cyfrif yn mhlith cyfoethogion y byd, a mwynhau holl fanteision golud, y mae ceisio arian. Nid yw yr amaethydd byth yn dychymygu am y posibilrwydd iddo gael cnwd ar y maes heb ei lafurio, ac y mae yn deall yn dda mai gan ei lafurio yn y modd goreu y gall ddysgwyl y cnwd mwyaf. Nid yw y masnachwr, os bydd dim synwyr ganddo, byth yn meddwl am lwyddo ond gan wneyd ei oreu yn y cylch y byddo efe ynddo tuag at hyny,—prynu yn y farchnad isaf; gofalu am gael

nwyddau da; boddloni ar ennill cymmedrol; ymddwyn yn siriol a boneddigaidd a diolchgar tuag at bawb a ddelont ato i brynu; a pharod yn mhob modd i'w boddloni goreu y gall. Y mae yn deall nad oes fodd iddo lwyddo ond gan ddefnyddio y moddion priodol tuag at hyny. Yn y llafur y mae yr elw. Rhaid bod y llygaid yn agored, y meddwl yn fywiog, taflu pob diogi heibio, ac ymarfer yn briodol â'r moddion cyfaddas wrth geisio arian.

Fel yna y rhaid ceisio crefydd; nid rhyw wâg-ddymuniad am nefoedd, heb feddwl dim am geisio y ffordd sydd yn arwain yno. Nid gobaith am beidio marw yn annuwiol, a pheidio myned i uffern, a byw mewn diogi a diofalwch, gan esgeuluso y moddion a ordeiniodd Duw er cadw dynion rhag myned yno. Y mae y Duw mawr, o'i ras, wedi sefydlu cyfundrefn o foddion er ein hiachawdwriaeth; ac y mae y moddion hwnw yn ein cyrhaedd ni; a chofiwch, yn foddion i'w arfer genym ni. Y mae "ffydd yn dyfod trwy glywed, a chlywed trwy air Duw." Y mae yn ennill "trwy air y gwirionedd." Y mae yn "ail-eni, nid o hâd llygredig, eithr anllygredig trwy air Duw." Y mae yn sancteiddio "yn y gwirionedd;" yn glanhau "trwy y gair." Dyna y moddion. Beth sydd i mi i'w wneyd? Ymarfer â hwynt. "Ymarfer dy hun i dduwioldeb." Dyna y Gair,—dos ato; darllen ef yn astud; myfyria arno yn ddyfal; tyn ei wirioneddau mawrion i dy feddwl; cadw hwynt yn dy feddwl; edrych arnynt oddiyma, oddiyna, oddiacw,—"Os ceisi fel arian." Dyna orsedd-fainc y gras,—dos ati; dywed dy gŵyn ger bron Duw; tywallt dy holl galon ger ei fron; dos yna yn aml; bydd yna yn daer. Dyna y moddion cyhoeddus: yr ysgol, y cyfarfod gweddio, y bregeth. Bydd gyson ynddynt; a dos iddynt i geisio, a chan ddysgwyl bendith. Nid myned am fod ereill yn myned; nid myned am dy fod

wedi arfer myned; nid myned rhag cywilydd peidio; nid myned am nad oes genyt ddim lle arall neillduol i fyned, na dim arall neillduol i'w wneyd; nid myned er mwyn cael y pleser o feirniadu y pregethwr, neu ddifyrwch ei ddawn; ond i "ymofyn â Duw," i "geisio gweled yr Iesu," i ddysgwyl wrth yr Arglwydd, a chan ddymuno bendith i'r enaid. Nid edrych ar y *clock* er gweled pa bryd y bydd y moddion yn debyg o fod drosodd, ond ofni iddo fyned drosodd heb i ti gael bendith i'th enaid.

III. Y mae dynion wrth geisio arian yn eu ceisio gydag ymdrech ac egni a dyfalwch mawr. Edrychwch ar yr ymröad sydd yn y byd i geisio arian. Ewch i'r farchnad, i'r ffair, i'r *Exchange*. Y mae pawb yn llawn bywyd ac yni. Ni welwch chwi neb yn cysgu, neb yn segura, neb yn ddiofal. Gwelwch yr ymdrech a wneir gan ddynion i geisio arian; y maent yn anturio eu bywydau i'r lleoedd mwyaf peryglus, yn croesi y moroedd, yn myned i wledydd dieithr hollol iddynt, yn eu hamddifadu eu hunain am flynyddoedd lawer o gysuron cartref, a bywyd gwareiddiedig, i geisio arian. Y mae y dyn yn tynu allan ei holl nerth; nid yw yn arbed dim arno ei hunan i geisio arian; y mae yn codi yn foreu, yn myned yn hwyr i gysgu, yn llafurio yn galed gydol y dydd, yn fynych yn bwyta bara gofidiau i geisio arian.

"Os ceisi hi fel arian." Nid rhyw geisio diofal, ffurfiol, hannerog; ond yn benderfynol, yn ymroddedig, i fynu etifeddu y fendith. "Llafuriwch am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol." "Ymdrechwch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng: canys llawer, meddaf i chwi, a geisiant fyned i mewn, ac nis gallant." Ceisio diofal, dideimlad, ceisio heb godi erioed i ymdrech, ac felly ceisio aflwyddiannus. "Treiswyr sydd yn ei chipio hi." "Gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo ef mewn tangnefedd." Ac felly y mae y rhai sydd yn gwir

geisio yn gwneyd. "Yr wyf fi yn cospi fy nghorph, ac yn ei ddwyn yn gaeth; rhag i mi mewn un modd, wedi i mi bregethu i ereill, fod fy hun yn anngymmeradwy." "Am hyny hefyd yr ydym yn ymorchestu, pa un bynnag ai gartref y byddom ai oddi cartref, ein bod yn gymmeradwy ganddo ef." "Y brodyr, nid wyf fi yn bwrw ddarfod i mi gael gafael: ond un peth, gan annghofio y pethau sy o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen, yr ydwyf yn cyrchu at y nód, am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu." "Y rhai a ffoisom i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen." Rhaid i'r dyn fod yn foddlawn, yn barod, i wneuthur pa aberth bynnag a fyddo yn angenrheidiol i geisio crefydd. "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i drysor wedi ei guddio mewn maes; yr hwn wedi i ddyn ei gaffael, a'i cuddiodd, ac o lawenydd am dano, sydd yn myned ymaith, ac yn gwerthu yr hyn oll a fedd, ac yn prynu'r maes hwnw." "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i farchnatâwr, yn ceisio perlau teg; yr hwn wedi iddo gaffael un perl gwerthfawr, a aeth ac a werthodd gymmaint oll ag a feddai, ac a'i prynodd ef." "Gan ddewis yn hytrach oddef adfyd gyda phobl Dduw, na chael mwyniant pechod dros amser; gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aipht: canys edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gwobrwy"; tynu y llygad de, tori y fraich dde, marwhau yr aelodau sydd ar y ddaear, dirymu corph pechod, unrhyw beth, pob peth, er mwyn bod yn gymmeradwy ganddo ef.

IV. Y mae dynion wrth geisio arian yn gyffredin yn gofalu am fod yn gyson â hwynt eu hunain yn yr amcan sydd ganddynt. Nid ceisio âg un llaw, a gwastraffu â'r llaw arall. Nid llafurio yn galed am un diwrnod, a segura a diogi am wythnos ar ol hyny. Nid agor y masnachdy ar ddiwrnod y farchnad, a'i gau nes y daw y

farchnad ganlynol. Ac yn sicr nid afradu yn ddibris yr hyn a ennillo. O nage; y mae yn gynil, yn ofalus, yn ddarbodus: nid yw am fod yn gybyddlyd a llaw-gauad, ond y mae am "gasglu y briw-fwyd gweddill, fel na choller dim."

Fel yna eto y rhaid ymroddi i grefydd,—gyda chysondeb a chan gadw oddiwrth bob peth annghydweddol â hi. Nid yn grefydd i gyd ar y Sabbath, ac mor ddigrefydd yn ystod yr wythnos. Nid duwiol iawn yn y capel, ac mor annuwiol yn y ffair. Nid ymddangos fel un yn ceisio yr Arglwydd yn ei dŷ ef, ac yn llawn nwydau annuwiol yn ei dŷ ei hunan. Nid wrth fwrdd yr Arglwydd ar nos Sabbath, ac yfed a meddwi cyn y Sabbath canlynol. Nid cam heddyw tua'r nef, a dau yforu tuag uffern. Ac yn sicr yn y fan yma yr wyf fi yn ofni am fy ngwlad. Yr wyf yn ofni fod holl rinwedd yr ymarferiad crefyddol a all fod gan gannoedd, yn cael ei ddifetha yn gwbl gan arferiadau pechadurus ac annuwiol. Onid ydym ni yn gweled yn mhob man mai ofer fydd pob moddion, pa mor gyfaddas bynnag, os bydd yna rywbeth arall yn cael ymarfer âg ef ag a fyddo yn gwrthweithio dylanwad y moddion a arferer? Pa obaith all fod i'r rhieni i gadw y plant bychain yna rhag arfer geiriau isel ac aflan, tra y maent yn eu clywed bob dydd ac yn aml yn y dydd gan y merched yn y gegin? Pa obaith a all fod am wella y dyn yna, er cymmeryd y cyfferiau cyfaddasaf odditan law y meddyg mwyaf medrus, os nad yw yn ymattal oddiwrth y pethau a waharddwyd iddo gan y meddyg, ag sydd yn gwrthweithio holl rinwedd y feddyginiaeth?

V. Nid yw dynion wrth geisio arian byth yn ymddyrysu yn nghylch y bwriadau dwyfol yn nghylch eu llwyddiant. Ni fyddwch chwi byth yn clywed neb yn dywedyd—"Waeth i mi heb; y mae y Duw mawr yn

llywodraethu pob peth,—yn llywodraethu y byd ac amgylchiadau pawb ynddo, ac wedi rhagweled a threfnu ein hamgylchiadau ni i gyd: ac os ydwyf fi i gael arian, mi a'u cáf nhw; os ydwyf fi i fod yn gyfoethog, mi a fyddaf; y mae efe wedi trefnu, ac yn sicr o ddwyn ei drefniadau o amgylch. Ac os nad ydwyf fi i fod, ni bydd ond ofer hollol i mi; os ydwyf fi wedi fy ngeni i *rôt*, nid âf fi byth i bum' ceiniog." A glywsoch chwi ryw un yn siarad fel yna? A glywsoch chwi ryw amaethwr yn yn dywedyd, "Duw sydd yn ffrwytho y ddaear; efe sydd yn peri i'r gwellt dyfu i'r anifeiliaid, a llysiau i wasanaeth dyn, ac yn dwyn bara allan o'r ddaear; efe sydd yn gorchuddio y dyffrynoedd âg ŷd. Ac os yw efe wedi meddwl a threfnu i mi gael cnwd eleni, mi a'i câf; ac felly waeth i mi heb lafurio—teilo, aredig, hau, a llyfnu, ac ymdrafferthu; yr un fath fydd hi yn gwbl i mi amser y cynhauaf. Ac os nad ydyw ef wedi meddwl, ni waeth i mi heb: yn yr un sefyllfa y byddaf fi." A glywsoch chwi ryw ffarmwr yn siarad fel yna? O na: y mae dynion yn ymroddi gyda'r byd hwn yn gwbl rydd oddiwrth bob dyryswch yn nghylch yr amcanion dwyfol o berthynas i'w llwyddiant. Pa beth bynnag all syniad y dyn fod yn nghylch yr arfaethau tragywyddol, y mae yn gwbl sicr nad oes dim ynddynt yn gwneyd ei lafur ef gyda'r byd hwn yn afreidiol ar y naill law, neu yn anfuddiol ar y llaw arall. Y maent yn hollol sicr fod prynu a gwerthu, plannu ac adeiladu, llafurio y ddaear, yr ymdrech mwyaf manwl a gofalus yn anhebgorol angenrheidiol tuag at geisio arian, ac mai y rheol ydyw fod y fath ymdrechion yn llwyddo.

Wel, "Os ceisi hi fel arian." Nid wyf yn gwybod a oes yma rai, ond y mae rhai wedi bod, ac yr wyf yn ofni fod rhai eto, yn tynu cam-gasgliadau oddiwrth y gwirionedd am y bwriadau tragywyddol gyda golwg ar

drefn achub, ac yn eu defnyddio yn esgus dros eu diofalwch yn nghylch crefydd. "Y mae y Duw mawr wedi rhagluniaethu, er tragywyddoldeb, yr hyn oll a wna efe mewn amser; ac y mae yn sicr o ddwyn i ben ei holl amcanion; oblegyd, pwy a all wrthwynebu ei ewyllys ef? Ac os ydyw efe wedi penderfynu fy nghadw, os ydwyf fi yn un o'r etholedigion, os ydyw fy enw i yn Llyfr y bywyd, yr ydwyf yn sicr o gael fy nghadw? ac felly pa raid i mi ymdrechu a llafurio? y mae Duw yn sicr o gyflawni ei holl ewyllys. Ac os nad wyf wedi fy ethol, os na fwriadodd efe fy nghadw, ni bydd fy holl ymdrech ond ofer; ac felly i ba fudd y llafuriaf?" Wyt ti ddim yn gwneyd fel yna gyda'r byd yma, tybed? Nid fel yna yr wyt ti gyda dy ffarm, gyda'r *shop*, gyda'r llong,—gyda pha beth bynnag yr wyt yn cael dy fywioliaeth oddiwrtho yn y byd hwn. Nid wyt am gario yr athrawiaeth yna allan yma heddyw. Wyt ti ddim yn dychymygu dywedyd, "Ni wnaf fi ddim ymdrech i symmud o'r fan yma; os ydyw y Duw mawr wedi bwriadu i mi fyned adref, mi a âf; ac felly paham y rhaid i mi symmud? Os nad ydyw wedi bwriadu, waeth i mi heb geisio, ni bydd pob ymgais ond hollol ofer." Nid oes neb mor ynfyd ag y sieryd fel yna.

Paham yr äi di i ymddyrysu yn nghylch y bwriadau dwyfol gyda golwg ar y nefoedd mwy na'r ddaear?—Gyda golwg ar dragywyddoldeb mwy nag amser?—Gyda golwg ar bethau pwysig ac ofnadwy y byd a ddaw, ragor pethau ysgafn a dibwys y byd hwn? "A ydych chwi yn myned i ddywedyd nad ydyw ef wedi arfaethu?" O nac ydwyf fi. Na; yr wyf yn ei fendithio am ei hen feddwl am ddamniol ddyn, cyn taenu y gogledd ar y gwagle, cyn crogi y ddaear ar ddiddym; meddwl a wreiddiodd yn hollol yn ngras rhydd a rhad a phenarglwyddiaethol y Duwdod mawr ei hun. Ond

beth yw y bwriad hwnw? Wel, dyna un ran o hono: "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." "Yr hyn oll y mae y Tad yn ei roddi i mi a ddaw ataf fi, a'r hwn a ddel ataf fi nis bwriaf ef allan ddim." Y mae y moddion yn yr arfaeth fawr yn gystal a'r dyben. Gwrandewch ar dystiolaeth Paul yn y llong ar fôr Adria, yn ei gyfarchiad i'w gyd-deithwyr: "Yr wyf yn eich cynghori chwi i fod yn gysurus: canys ni bydd colled am einioes un o honoch, ond am y llong yn unig. Canys safodd yn fy ymyl y nos hon angel Duw, yr hwn a'm piau, a'r hwn yr wyf yn ei addoli, gan ddywedyd, Nac ofna, Paul; rhaid i ti sefyll ger bron Cesar: ac wele, rhoddes Duw i ti y rhai oll sydd yn morio gyda thi. Am hyny, ha wŷr, cymmerwch gysur; canys yr wyf fi yn credu i Dduw, mai felly y bydd yn ol y modd y dywedwyd i mi." Ond aroswch; dyna Paul yn canfod y llongwyr yn gollwng y cwch i'r môr ar fedr ffoi allan o'r llong, ac y mae yn y fan yn troi at y canwriad a'r milwyr, ac yn dywedyd, "Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig." Onid wyt ti wedi sicrhau i ni na bydd colled am einioes un o honom? Ydwyf; ond nid heb arfer y moddion priodol; milwyr ydych chwi; nid ydych yn gwybod pa fodd i drin llong; ac "Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig." Pa beth bynnag sydd yn arfaeth Duw, chwi a ellwch fod yn sicr nad oes ynddi ddim am fyned â'r di-weddi i'r nefoedd, dim am faddeu i'r anedifeiriol, dim am achub yr hwn nid yw yn credu yn Nghrist, dim am fywyd i'r hwn sydd yn esgeuluso iachawdwriaeth; ac o'r ochr arall, nad oes ynddi ddim croes i, "Gofynwch, a rhoddir i chwi; ceisiwch, a chwi a gewch; curwch, ac fe agorir i chwi." "Os ceisi hi fel

arian, os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig; yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw."

VI. Nid ydyw dynion wrth geisio arian byth yn ymesgusodi ac yn digaloni yn gwbl oblegyd eu hanallu i hyny, ond yn ceisio defnyddio y nerth a fyddo ganddynt. Y mae yn sicr fod dynion yn fynych yn ymwybodol o'u hanfedrusrwydd mewn cymhariaeth i ereill, yn yr ymgais am arian; ond ni cheir odid neb yn esgeuluso yr ymdrech oddiar yr ymwybodolrwydd hwnw. Nid yw y dyn byth yn dywedyd,—"Ni allaf fi ddim fel hwn a hwn; y mae ei feddwl ef mor fywiog a chraff fel y mae yn canfod pob cyfleusdra ar unwaith, ac yn y fan yn cymmeryd y fantais arno er ennill iddo ei hun; a chan na allaf fi ddim fel efe, nid âf fi byth mwyach i geisio gyda dim. Ni fedraf fi y gelfyddyd ennillfawr yna, ac am hyny, ni bydd i mi ddim a wnelwyf âg unrhyw gelfyddyd. Mi a adawaf geisio arian i ryw rai a allant eu cael, ac a ymfoddlonaf fy hunan i'r hyn a ddygwydd i mi." O na, nid oes neb yn siarad fel yna. Yn hytrach y mae pob un, oddiar ei argyhoeddiad o'r gwerth sydd ynddynt, a'r pwys sydd iddo o'u meddiannu, yn ymroddi i ddefnyddio y gallu a fyddo ganddo i'w cyrhaedd. Os nas gall dynu cynllun yr adeilad, fe ymdrecha i ddodi y meini ar eu gilydd i weithio y cynllun allan; os na all ddodi y cerrig ar eu gilydd, fe ymdrecha i gludo y *mortar*. Os na all gloddio, fe a all gardota; ac os bydd yn rhy gywilyddus i gardota, fe gynllunia ryw foddion, teg neu annheg, i gael yr hyn fyddo yn cyfateb i arian, ac i'w gadw ei hunan rhag eisiau.

Fe glywir llawer yn cwyno, pan annogir hwy i ymdrech gyda chrefydd, nas gallant hwy wneuthur dim—nas gallant nac edifarhau na chredu yn Nghrist, na charu Duw, na byw yn dduwiol; na fedrant hwy wneuthur dim. Yn awr, heb i ni, ar hyn o bryd, fyned

i mewn o gwbl i gwestiwn y gallu neu yr anallu, cymmerer yr egwyddor yn y testyn i benderfynu y mater—"*fel ceisio arian.*" Gwna yr hyn sydd yn dy gyrhaedd; gwna y peth a fedri. "Allai i ddim edifarhau." A elli di feddwl am ddaioni Duw tuag atat? A elli di ystyr ei dosturiaethau a'i drugareddau ef? A elli di ddim meddwl, a wyt ti, neu nad wyt, wedi ymddwyn yn deilwng tuag ato? A elli di ystyr, a gofyn i ti dy hunan, —A yw y Duw mawr yn haeddu ymddygiad fel hyn oddiar fy llaw? "Allaf fi ddim credu yn Nghrist." A elli di feddwl am dano, fel y byddi di yn meddwl am Socrates, neu Plato, neu Alexander Fawr, neu Julius Cesar, neu Luther, neu Cromwell, neu Newton? A elli di alw dy feddwl i ystyried ei honiadau, ac i geisio cael rhyw foddlonrwydd yn nghylch ei hawliau? A elli di fyned at y dystiolaeth, a chadw dy feddwl uwchben y profion a gyflwynir ganddo o'i hawl i dderbyniad? "Allaf fi ddim gweddio." A elli di fyned ar dy liniau? A oes cymmal yn y glin yna ai peidio? "Allaf fi ddim rhoddi fy nghalon iddo." A fedri di roddi dy gorph iddo? "Nid oes genyf fi ddim dawn i alw arno." A elli di aros yna yn ddistaw, yn fud, ger bron Duw? Gwnewch, ddynion anwyl, yr hyn sydd yn eich cyrhaedd chwi—defnyddiwch y gallu sydd genych. "Dos yn dy rymusdra yma." "Os ceisi hi fel arian,"—fel y mae dynion yn ceisio arian.

VII. Nid yw dynion byth wrth geisio arian, yn diystyru yr ychydig am na byddai yn llawer, neu yn gwrthod y bychan am na byddai yn fawr. Ni welsoch chwi neb wrth geisio arian yn gwrthod y geiniog am na byddai yn swllt, neu yn gwrthod y swllt am na byddai yn bunt. Edrychwch ar y masnachwr yna. Y mae yn llawen iawn o weled y foneddiges yn dyfod i mewn i gael gwerth y deg punt, neu yr ugain, ond y

mae yn dda ganddo weled y lodes fechan yn ceisio gwerth ei swllt, ei chwech, ei cheiniog. Y mae y dyn wrth geisio arian yn ystyried fod y bychan yn rhan o'r mawr, a'r ychydig yn hanfodol i'r llawer. Y mae yn gofalu yn fanwl am lwch yr aur. A oes rhywbeth ar eich meddwl chwi am grefydd? A ydych chwi yn teimlo rhyw gymmaint yn nghylch eich achos tragywyddol? "Na, nid oes dim o werth ar fy meddwl i." A oes yna rywfaint o feddwl am yr enaid? A fydd arnoch chwi ddim ofn marw yn annuwiol? A ddymunech chwi ddim cael adnabod Iesu Grist a meddiannu crefydd dda? "Oh, fe fydd rhywbeth fel yna yn aml iawn, mwy nag y gallech chwi feddwl hwyrach, wrth fy ngweled i yn byw, ond dim mawr a chryf a gorchfygol, dim gwerth gwneyd dim sylw o hono. Mi hoffwn i yn fawr pe cawn i rywbeth felly,—fel y gwelais i rai wedi ei gael,—rhywbeth fel gafodd yr Apostol Paul; ond ni theimlais i ddim felly erioed." Aros, fy enaid anwyl. "Os ceisi hi fel arian." Gwna yn fawr o'r peth lleiaf, a bydd yn ddiolchgar iawn am dano. Peth bychan oddiwrth Dduw ydyw, ac y mae gwerth annhraethol a thragywyddol ynddo o'i iawn ddefnyddio. Pwy a ddiystyra y wawr oblegyd ei bod yn wan? Y mae haul y tu cefn iddi; hi a gynnydda yn raddol yn ddydd goleu. Y mae uffern yn deall fod gwerth mawr yn y peth bychan yna. Fel yr ydoedd gynt yn ymgynhyrfu drwyddi ac yn ceisio lladd y mab bychan a anesid yn Bethlehem. Beth all un bychan fel yna wneyd? Aroswch: y mae hwnw wedi dyfod i'r byd i ysigo pen y sarph, i ddattod gweithredoedd y diafol; i fwrw allan dywysog y byd hwn, ac eistedd ei hunan yn frenhin arno yn dragywydd. Y mae yr un fath yn erbyn y peth bychan yma sydd yn dy feddwl dithau,—am ei fod yn gwybod yn dda ond iddo gael byw a chynnyddu mai y

diwedd fydd dinystrio llywodraeth y diafol yn dy feddwl, newid dy sefyllfa ger bron yr Anfeidrol, a'th ddwyn dan ddarostyngiad tragywyddol i ewyllys y Brenhin Mawr.

VIII. Nid oes neb wrth geisio arian yn barod i ymfoddloni ar ryw ychydig o honynt, ond y mae pawb am gael cymmaint ag a allont. Ni chlywsoch neb yn dywedyd, "Ychydig a'm boddlona i; nid oes arnaf fi eisiau llawer; mi fyddaf yn foddlon ar ddigon i gadw corph ac enaid yn nghyd; am y gallaf fi fyw rywfodd; peidio dioddef angen mawr, a pheidio a myned i'r tlotty." Wedi i'r dyn daro ar y wythïen, nid yw yn dywedyd, "Dyma ddefnyddiau cyfoeth, ond yr wyf fi wedi cael digon; yr wyf fi yn ei gadael yn awr, fel y gallo rhywun arall gael y fantais o honi; nid oes arnaf fi eisiau dim ychwaneg." Na; wrth geisio arian, pa fwyaf y mae yn gael, mwyaf rywfodd ydyw ei awydd am dano. Y mae y dyn yn dyfod i gael pleser yn eu ceisio; y mae yn hollol yn ei elfen wrth hyny, ac y mae ei lwyddiant yn gymhelliad arno i ymdrech ychwanegol.

Y mae llawer gyda chrefydd yn ymddangos fel pe na byddai arnynt awydd ond am ryw ychydig iawn o honi; digon i'w cadw rhag uffern, digon i sicrhau iddynt fynediad rywfodd i'r nefoedd, digon i'w cadw rhag tynu gwaradwydd ar eu cymeriadau a'u dwyn dan sylw a dysgyblaeth yn yr eglwys; ac y maent yn barod i edrych ar, os nad i siarad am, y rhai a fyddont yn ymroddi gyda rhyw arbenigrwydd i fywyd duwiol, fel yn ddynion da ond ychydig yn eithafol, braidd yn benboeth, a hwyrach hefyd heb fod yn rhyw gryfion iawn eu meddyliau; maent yn deall ac yn edmygu yr ymdrech a wneir gan ddynion i ennill y byd hwn; maent eu hunain, yn wir, yn anniwall yn eu hawydd am dano, ond ychydig iawn o grefydd a'i gwrthddrychau sydd yn llawn digon iddynt,—dim ond y ffurf, yr ymddang-

osiad allanol. Ond, yn sicr, os ydyw yr Efengyl yn teilyngu lle o gwbl, mae yn teilyngu y lle blaenaf. O, beth pe byddai llawer o'r rhai sydd yn proffesu credu mewn byd ysbrydol ac yn narpariaeth rasol Duw gogyfer â dyn fel creadur anfarwol, beth pe byddent mor ymroddedig i wrthddrychau y byd hwnw ag ydynt i'r byd hwn a'i bethau? Mor wahanol fyddai eu bywyd crefyddol; nid proffes wâg mwyach, ond ymgysegriad trwyadl. Ac yn sicr y mae crefydd yn hawlio cymmaint o egni a difrifwch ac ymroddiad ag a roddir i'r byd. "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef: a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg." Peidiwch bod yn foddlon ar y tir a gyrhaeddwyd genych eisoes; "eithr cynnyddwch mewn gras a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist." "Gorchymyn i'r rhai sydd oludog yn y byd yma . . . . ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, gan drysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod." "Byddwch sicr, a diymmod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol." "Gan roddi cwbl ddiwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd rinwedd; ac at rinwedd, wybodaeth; ac at wybodaeth, gymmedrolder; ac at gymmedrolder, amynedd; ac at amynedd, dduwioldeb; ac at dduwioldeb, garedigrwydd brawdol; ac at garedigrwydd brawdol, gariad. Canys os yw y pethau hyn genych, ac yn aml hwynt, maent yn peri na byddoch na segur na diffrwyth yn ngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist." "Byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr: canys felly yn helaeth y trefnir i chwi fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist." "Os ceisi hi fel arian, os chwili am dani fel am drysorau cuddiedig; yna y cei ddeall ofn yr Arglwydd, ac y cei wybodaeth o Dduw."

## PREGETH IX.

### Y DDINAS NEFOL HEB DEML YNDDI.

DAT. xxi. 22.

"*A theml ni welais ynddi: canys yr Arglwydd Dduw Hollalluog, a'r Oen, yw ei theml hi.*"

Mae y geiriau yn rhan o'r darluniad a roddir i ni gan Ioan o'r ddinas sanctaidd—y Jerusalem nefol—a ganfu mewn gweledigaeth yn disgyn o'r nef, oddiwrth Dduw, a gogoniant Duw ganddi. Yr oedd wedi ei ddyrchafu yn yr ysbryd i fynydd mawr ac uchel, ac felly mewn lle tra manteisiol i gael golwg arni. Mae gwahaniaeth golygiadau yn nghylch ystyr y weledigaeth. Mae rhai yn ei chymmeryd fel darluniad o gyflwr yr eglwys ar y ddaear yn amser y llwyddiant mawr sydd i'w ddysgwyl ar grefydd yn y dyddiau diweddaf. Y mae yn rhaid cyfaddef fod rhyw bethau yn y darluniad, a'u cymmeryd arnynt eu hunain, yn ymddangos fel yn pleidio y golygiad hwn; ond erbyn cymmeryd yr holl ddarluniad, ac yn neillduol y cysylltiad gweledigaethol y gorwedda ynddo, y mae yn ymddangos yn hytrach mai dysgrifiad sydd yma o gyflwr yr eglwys yn y byd a ddaw—y gogoniant annghydmarol hwnw sydd yn aros y rhai cadwedig yn y nefoedd. Y mae y mil blynyddoedd yn awr wedi darfod; gwrthryfel Gog a Magog wedi ei ddarostwng; diafol wedi ei fwrw i'r llyn o dân a brwmstan; y môr a marwolaeth ac uffern wedi rhoddi i fyny eu meirw; yr orsedd-fainc wen fawr wedi ei chodi; y llyfrau wedi eu hagor; y meirw, fychain a mawrion, wedi bod yn sefyll ger bron Duw; pawb wedi eu barnu wrth y pethau oeddent wedi eu hysgrifenu yn y llyfrau, yn ol eu

gweithredoedd ; y nef gyntaf a'r ddaear gyntaf wedi ffoi oddiwrth wyneb yr hwn oedd yn eistedd ar yr orseddfainc, heb le iddynt ; y mae nef newydd a daear newydd ; y dagrau wedi eu sychu ; marwolaeth wedi colli ; tristwch a llefain a phoen wedi peidio ;—y mae yr holl amgylchiadau yn ein gorfodi, dybygid, i gymhwyso y darluniad at gyflwr y saint, nid mewn unrhyw gyfnod ar y ddaear hon, ond wedi cyrhaedd y dedwyddwch hwnw sydd yn nghadw iddynt yn y nefoedd. Yr un pryd, rhaid i ni olygu nad yw y darluniad i'w ddeall yn llythyrenol—mai arwyddluniol a gweledigaethol ydyw, ac mai yr oll a amcenid ynddo oedd cyflwyno y fath bortread o'r gogoniant hwnw ag a wasanaethai i amcanion mawr yr Efengyl,—yn gymhelliad ar feddwl y byd i geisio y grefydd sydd yn arwain yno. Yn wir, y mae yn ymddangos fod yn anmhosibl, hyd yn nod i ysbrydoliaeth, roddi dim amgen na darluniad cwbl anmherffaith i ni o'r cyflwr hwnw. Y mae mor wahanol yn ei natur i ddim adnabyddus i ni, fel ag i'w wneyd yn annichonadwy i ni, yn ol natur ein cyfansoddiad ac ansawdd ein galluoedd, yn y fuchedd bresennol, trwy unrhyw ddysgrifiad o hono, esgyn i ddirnadaeth gywir am dano. Rhaid i ddyn ddysgu pob peth trwy rywbeth y mae yn wybod eisoes. Y mae yn cyrhaedd y dieithr trwy yr adnabyddus. Y mae yn myned at y pell trwy yr agos, ac at yr agos trwy y nês. Y mae elfenau gwreiddiol yn ei natur yn sicr ag sydd yn ei gymhwyso i dderbyn addysg—yn sail i adeiladu profiad arnynt ; ond y mae, o angenrheidrwydd, yn cael ei gyfyngu yn ei holl amgyffredion i'r egwyddorion cyntefig hyny, a'r wybodaeth trwy brofiad a seilier ganddo arnynt. Wrth geisio ei ddysgu am rhywbeth dieithr iddo, rhaid defnyddio rhywbeth hysbys iddo yn gyfrwng,—ei fod fel y peth a'r peth. Felly y mae cyflwr y saint yn y nefoedd yn

cael ei osod allan yn yr Ysgrythyrau, trwy amrywiol gymhariaethau oddiwrth y pethau gogoneddusaf a gwerthfawrocaf a mwyaf dymunol a fedd y byd i gyd, nid am fod dim llythyrenol ynddo yn ateb i'r darluniadau a roddir, ond er galluogi y meddwl i ffurfio rhyw syniad am ddedwyddwch y lle, ac er cyflwyno ger ei fron y cymhelliad cryfaf i ymbarotoi i fyned yno. Yma y mae, i'r amcan hwnw, yn cael ei gosod allan fel dinas fawr, ogoneddus, tu hwnt i bob dychymyg o eiddo dyn. Y mae ei maint yn rhyfeddol. Fe'i mesurwyd gan yr angel yn ddeuddeg mil o ystadau,—yn dri chant a phymtheg a thriugain o filldiroedd bob ffordd, hyny o hŷd ac o led ac o uchder,—yr ystafelloedd yn ymddyrchafu y naill uwchlaw y llall i uchder anamgyffredadwy. Y mae y maintioli hwn yn arwyddo fod ynddi ddigon o le,—llawer o drigfanau,—yn gystal a lliosowgrwydd nifer y rhai cadwedig.

Yr oedd mur mawr ac uchel o amgylch y ddinas yn arwyddo ei diogelwch hollol. Y mae deuddeg porth yn perthyn i'r ddinas—tri ar bob tu iddi—i arwyddo fod yno ddigon o ryddid a lle i fyned i mewn. Y mae deuddeg angel yn cadw y pyrth, un wrth bob porth, i ofalu na chaffo neb fyned i mewn ond y rhai fyddont yn gymmwys,—rhai a hawl ganddynt, a'u henwau yn Llyfr bywyd yr Oen. Yr oedd y ddinas, yn ei chyfoeth a'i gogoniant, yn ateb i'w maint. Yr oedd seiliau y ddinas wedi eu harddu â phob rhyw faen gwerthfawr. Yr oedd adeilad y mur, uwchlaw y seiliau, o faen jaspis. Yr oedd y ddinas, y tu fewn, o aur pur, fel gwydr gloyw. Yr oedd pyrth y ddinas o berlau, pob porth wedi ei wneyd i fyny o un perl. Yr oedd heol y ddinas o aur pur, fel gwydr gloyw. Y mae y pyrth yn agored yn wastad, i arwyddo fod rhyddid ar bob adeg i fyned i mewn. Nid oes nos yno—dydd gwastadol—ac eto nid haul na

lleuad sydd yn goleuo iddi. Y mae ei goleu yn debyg i faen o'r gwerthfawrocaf, megis maen jaspis, yn loyw fel y grisial. Rhyw lewyrch tanbaid, dybygid, oedd hwn yn nghanol neu uwchben y ddinas, neu ynte holl ymddangosiad y ddinas.

Ond yn y testyn, "A theml ni welais ynddi." Y peth pennaf yn meddwl yr Iuddew gyda golwg ar Jerusalem oedd y deml. Y deml oedd yr adeilad mwyaf yn y ddinas, a hi oedd yn gosod arbenigrwydd neillduol ar y lle. Can gynted ag y sonid am Jerusalem wrth yr Iuddew, yr oedd ei feddwl ar unwaith yn disgyn ar y deml. Gellid meddwl fod Ioan, pan yn cael ei alw gan yr angel i weled y Jerusalem nefol, yn dysgwyl gweled ynddi yn un o'r pethau cyntaf oll deml o gyfatebai i'w gogoniant hi, megis ag y gwnai y deml gynt i'r Jerusalem hono; ac y mae yn edrych yn ol ac yn mlaen, ar hyd ac ar led y ddinas, yn ceisio gweled un o binaclau y deml yn ymddyrchafu uwchlaw pob peth arall yno. Ond y mae yn methu a gweled un. "A theml ni welais ynddi." Y mae, mewn dyryswch, hwyrach, yn ymofyn â'r angel oedd yn dangos y ddinas iddo, "Beth yw hyn, Jerusalem heb deml?" ac yn cael ganddo, fe allai, yr eglurhad a rydd efe ei hunan i ni yma: "Canys yr Arglwydd Dduw Hollalluog, a'r Oen, yw ei theml hi." Mewn manau ereill yn y llyfr hwn fe gyfeirir at y nefoedd fel teml. "Yr hwn sydd yn gorchfygu, mi a'i gwnaf ef yn golofn yn nheml fy Nuw i." "O herwydd hyny y maent ger bron gorsedd-fainc Duw, ac yn ei wasanaethu ef ddydd a nos yn ei deml": tra y dywedir yma, "A theml ni welais ynddi." Y mae y gwahaniaeth ymddangosiadol hwn i'w gysoni, dybygid, trwy olygu y nefoedd, yn y geiriau y cyfeiriwyd atynt, yn cael ei darlunio neu ei gosod allan dan y gymhariaeth o deml, tra yma y mae desgrifiad yn cael ei roddi o'r nefoedd ei

hunan. Y mae yn eithaf priodol defnyddio rhyw beth yn gymhariaeth am wrthddrych ag y byddai mor briodol, ïe yn gwbl angenrheidiol, wrth ddysgrifio y gwrthddrych hwnw, wadu fel yn perthynu iddo un neu arall neu yr oll o briodoliaethau yr hyn a arferasid yn gymhariaeth i'w osod allan. Gellwch osod dyn allan megis oen—ac eto wrth ddysgrifio dyn ddywedyd nad oes rhyw bethau ganddo sydd gan yr oen, megis nad oes gwlan yn tyfu arno. Ac felly yma. Mae y dysgrifiad, fel y rhan fwyaf o'r dysgrifiadau a gawn yn yr Ysgrythyrau o'r nefoedd, yn nacäol: eto y mae wedi ei amcanu i drosglwyddo syniad cadarnhäol; a'm hamcan i yn bresennol fydd ceisio gosod allan rai o'r syniadau am y nefoedd y bwriedid eu dysgu i ni trwy y darluniad hwn—"A theml ni welais ynddi." Ac y mae yn ymddangos fod y darluniad yn gosod allan yn

I. Cysegredigaeth cyffredinol y lle i addoliad a gwasanaeth Duw.

Y mae yn amlwg nad yw y dysgrifiad yn arwyddo na bydd yno addoli. Milwriai hyny yn gwbl yn erbyn darluniadau ereill mor bendant a gawn yn y llyfr hwn, yn gystal ag mewn rhanau ereill o'r Ysgrythyrau, o'u cyflwr dedwydd yno. Gosodir hwynt allan yn gwasanaethu Duw, ddydd a nos yn ei deml, yn syrthio ger bron yr orsedd-fainc a cher bron yr Oen,—yn gweiddi "Teilwng yw yr Oen." Nid ydynt yn gorphwys ddydd a nos, gan ddywedyd, Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw Hollalluog; y maent yn rhoddi gogoniant, ac anrhydedd, a diolch, i'r hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd-fainc, yr hwn sydd yn byw yn oes oesoedd; yn syrthio ger ei fron, yn bwrw eu coronau o'i flaen, yn ei addoli gan waeddi,—"Teilwng wyt, O Arglwydd, i dderbyn gogoniant ac anrhydedd a gallu." Y maent yn syrthio ger bron yr Oen, ac yn canu caniad newydd. Y

maent yn addoli mewn hwyl fawr,—"llais angylion lawer" yn nghylch yr orsedd-fainc, a'r anifeiliaid, a'r henuriaid,—a'u "rhifedi yn fyrddiynau o fyrddiynau, a miloedd o filoedd," yn dywedyd â llef uchel, Teilwng yw yr Oen. Y mae eu llef fel llef dyfroedd lawer, fel llef taran fawr, llef telynorion yn canu ar eu telynau—yn canu caniad newydd—na fedr neb arni ond y pedair mil a'r saith ugein-mil, y rhai a brynwyd oddiar y ddaear. Y mae yn amlwg, felly, eu bod yn addoli yno, fel ag y dywedir yn wir yn y darluniad hwn,—"Ei weision ef a'i gwasanaethant ef." Ond, "A theml ni welais ynddi." Dybygid nad oes un lle mwy na'i gilydd wedi ei neillduo i hyny yno. Felly y mae yma. Felly yr ydoedd gynt. Y deml oedd cartref yr addoliad a'r gwasanaeth. Yr oedd y bobl o bob man yn cyrchu yno i addoli. Yr oeddent yn cyflawni eu goruchwylion cyffredin, yn y lleoedd mwyaf manteisiol iddynt i hyny, yn ol eu dewisiad eu hunain; ond nid oeddent at eu rhyddid i ddewis pa le yr ymarferent â'r ordinhadau a sefydlasid gan yr Arglwydd yn eu plith. Duw oedd yn penderfynu hyny. "Y lle a ddewiswyf i ti." Yno yr oedd coffadwriaeth wedi ei roddi gan yr Arglwydd ei hunan o'i enw; ac yno yn unig y byddai eu gwasanaeth yn gymmeradwy ganddo. Mae yn wir fod y bobl yn mhob man i goleddu ysbryd addolgar, a bod rhyw ymarferiadau priodol i'r ysbryd hwnw yn orphwysedig arnynt yn mhob lle; ond am y gwasanaeth dwyfol, yn y ffurf arbenig a sefydlasid arno yn mhlith y genedl, yn y deml yr oedd i gael ei weinyddu. A dymuniad cryfaf y duwiolion gynt oedd cael cyfranogi yn yr addoliad dwyfol yno. "Mor hawddgor yw dy bebyll di, O Arglwydd y lluoedd. Fy enaid a hiraetha ac a flysia am gynteddau yr Arglwydd. Gwyn fyd preswylwyr dy dŷ: yn wastad y'th foliannant. Gwell yw diwrnod yn

dy gynteddau di na mil; dewiswn gadw drws yn nhŷ fy Nuw o flaen trigo yn mhebyll annuwioldeb." "Un peth a ddeisyfais i gan yr Arglwydd; hyny a geisiaf, sef caffael trigo yn nhŷ yr Arglwydd holl ddyddiau fy mywyd, i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd, ac i ymofyn yn ei deml." "Sychedig yw fy enaid am Dduw, am y Duw byw; pa bryd y deuaf ac yr ymddangosaf ger bron Duw? Tywalltwn fy enaid ynof pan gofiwn hyny; canys aethwn gyda'r gynnulleidfa, cerddwn gyda hwynt i dŷ Dduw, mewn sain cân a moliant, fel tyrfa yn cadw gŵyl." Yno yr oedd y gwasanaeth dwyfol yn cael ei gynnal, ac yr oedd calonau y duwiolion y pryd hyny, yn eu holl hoffder o addoliad eu Duw, yn cyfeirio yn naturiol tuag yno.

Ac er, o dan yr Efengyl, fod yr awr wedi dyfod pryd nad oes un lle arno ei hunan yn fwy cysegredig na'i gilydd i addoli, er cymmeradwyaeth y gwasanaeth,—ac mai yr unig beth sydd bwysig ydyw "addoli mewn ysbryd a gwirionedd,"—eto, o angenrheidrwydd, tuag at gynhaliad a pharhad addoliad Duw mewn ffurf gynnulleidfäol yn ein byd ni, y mae rhyw le yn angenrheidiol i'w weinyddu ynddo ar wahan oddiwrth leoedd cyffredin. Y mae, felly, gysegredigaeth arbenig yn dyfod yn gysylltiedig âg ef fel man neillduedig i addoliad Duw. Yno y mae yr eglwys yn ymgyfarfod; yno y mae yr ordinhadau yn cael eu gweinyddu. Lle ydyw yn unig i ddysgwyl wrth yr Arglwydd ynddo, a chael cymdeithas âg ef trwy y moddion a ordeiniwyd ganddo i hyny. Nid oes dim o orchwylion cyffredin y byd hwn i'w gyflawni ynddo. Y mae y dyn yn gadael y rhai hyny oll ar ol pan yn dyfod iddo. Tŷ Dduw ydyw. Pethau Duw, mewn modd neillduol, sydd ynddo yn cael ymdrin â hwy. Duw ei hunan, yn wir, sydd yn dyfod i gyfarfyddiad â'r meddwl ynddo. Nid ydwyf heb ofni nad

ydym, fel Ymneillduwyr yn gyffredin, wedi colli i fesur gormodol y parch sydd yn gweddu i le addoliad. Os oes rhywrai yn rhoddi gormod o barch i le, fel y cyfryw, y mae yn sicr ein bod ni yn rhoddi rhy fychan. Er nad oes un llecyn o'r ddaear nas gellir yn awr addoli yr Arglwydd yn gymmeradwy ynddo, os bydd y galon mewn agwedd briodol, a bod y byd oll, felly, wedi ei gysegru i'r Arglwydd, eto, nis gall cymdeithas agos â'r Arglwydd lai na chysylltu, yn meddwl y dyn duwiol, â'r lle y byddo iddo ei chael ryw barchedigaeth. Y mae Mr. Charles o'r Bala yn dywedyd i ni ei deimlad ef gyda golwg ar hyn, wedi ei ddychweliad i dŷ ei dad, ar ol bod Rhydychain. "Edrychwn," meddai, "ar y conglau bychain yn y tŷ, ac ar y gwrychoedd encil yn y meusydd, gydag hyfrydwch sydd yn anhawdd i'w adrodd; lleoedd y buasai fy enaid gynt mewn ymdrech â Duw ynddynt, ac mewn gweddi yn caffael y fendith. Nis gallwn lai nag edrych ar y conglau a'r manau hyny, y buaswn ynddynt yn mwynhau cymdeithas adfywiol â Duw, fel lleoedd cysegredig. Yr oedd tyddyn fy nhad megis yn gwisgo gwedd baradwysaidd; a'r coffa am yr amryw fendithion a gyfranwyd arnaf ar amryw amserau, oedd yn llenwi fy nghalon â llawenydd a mawl." Yr ydwyf yn cofio darllen am ryw esgob duwiol, wedi codi o amgylchiadau isel, pan yn teithio yn ei gerbyd gyda'i deulu ar y ffordd heibio i ryw faes, yn gorchmyn i'r cerbyd sefyll, yn myned allan o hono, a thros y gwrych i'r maes, ac yn cerdded at ryw gŵr o hono yno, yn sefyll yn ddifrifol, ac yna yn syrthio ar ei liniau, ac yn ymddangos mewn gweddi daer a gwresog. Ar ei ddychweliad fe ofynwyd iddo y rheswm am hyn, a'r ateb a roddodd ydoedd, ei fod wedi bod yn was bach ar y ffarm hono, pan yn fachgen, ac iddo wrth basio y lle gofio am lawer cymdeithas felus â Duw

a gawsai ar y gongl hono, ac iddo fyned yno yn awr i ddiolch am dani ac i ddymuno parhad o'r un peth eto. Fe ddywedir am Dr. Johnson nas gallai fyned heibio i eglwys heb dynu ei het oddiar ei ben, o barch iddi ac i'r addoliad a weinyddid ynddi. Gallai rhai feddwl nad oedd hyny ynddo ef ond coel-grefydd, ond, os coel-grefydd ydoedd, coel-grefydd ydoedd nas gallaf i lai na theimlo annhraethol fwy a barch iddi nag i'r anystyriaeth a'r dibrisdod hwnw o leoedd addoliad ag sydd yn caniatau i ryw rai ymddwyn ynddynt yn llawer mwy annheilwng nag y beiddient wneyd yn nhai eu cyd-ddynion, ac nag y byddai yn ddymunol ganddynt i neb wneyd yn eu tai hwythau. Ordeiniad y Duw mawr ydyw, cwbl angenrheidiol, yn ol cyfansoddiad ein natur a threfn gwasanaeth cyhoeddus crefydd yn y fuchedd bresennol, fod rhyw leoedd arbenig i addoliad dwyfol, a chysegredigaeth arbenig yn perthyn iddynt fel y cyfryw. Ond yn y nefoedd, dybygid, y bydd hyn oll wedi darfod. Y mae yr holl ddinas yn sanctaidd i'r Arglwydd. Nid yw yr holl nefoedd ond un addoldy mawr, ac ni bydd tragywyddoldeb ond un odfa. "Yr Arglwydd Dduw Hollalluog, a'r Oen, yw ei theml hi."

II. Ymddengys fod y darluniad yn gosod allan ryddhad hollol a thragywyddol yr holl ddinasyddion oddiwrth bechod a'u perffeithiad hollol mewn sancteiddrwydd. "A theml ni welais ynddi."

Y prif orchwyl a gyflawnid yn y deml oedd aberthu. Yno yr oedd allor y poeth-offrwm ac allor yr arogldarth, ac yr oedd yno ryw greadur yn wastad yn cael ei ladd a'i offrwm yn aberth. Yn ol ordeiniad Duw fe offrymid yno, ar ran y genedl, oen bob boreu ac oen bob hwyr, dau oen bob boreu Sabbath a dau bob hwyr Sabbath, heblaw y lliaws mawr o hyrddod a bustych a theirw a offrymid ar y gwyliau arbenig, yn neillduol gwyl y

cymmod, ac heblaw yr aberthau a offrymid dros bersonau neillduol yn ngwyneb troseddau pennodol, neu offrymau gwirfodd diolchgarwch am waredigaethau arbenig. Yn awr, pechod oedd achlysur yr holl aberthau hyn. Yr oeddent yn cael eu derbyn gan y Duw mawr fel math o iawn iddo, fel brenhin gwladol y genedl, yn ngwyneb eu troseddau yn ei erbyn yn y cymeriad hwnw; ac yr oeddent yn enwedig wedi eu bwriadu er cysgodi aberth yr Arglwydd Iesu Grist, ac yn gyfryngau i'r genedl i ddysgu rhywbeth am ystyr y drefn trwyddo i achub pechaduriaid. Ac yn gymmaint a bod y genedl yn parhau i bechu, yr oedd yn angenrheidiol parhau i aberthu. Nid oedd diwedd ar y puredigaethau, y golchiadau, a'r taenelliadau,—y lladd, y blingo, a'r llosgi,—am nad oedd diwedd ar y pechu. Pechodau oedd yn galw am danynt, a thra yr oedd y pechodau yn aros yr oedd eisiau ebyrth drostynt.

Felly y mae eto. Er nad oes eisiau offrymu un aberth mwyach dros bechod, eto y mae eisiau i ni yn ein gwasanaeth beunydd gyflwyno, trwy ffydd, Iesu Grist ger bron Duw yn aberth dros ein pechodau. Felly y mae yn cael ei osod allan yn yr Efengyl. "Crist wedi ei groeshoelio." "Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom." "Efe yw yr iawn dros ein pechodau ni." Y mae yn y swper sanctaidd yn cael ei bortreadu megis "wedi ei groeshoelio yn ein plith." A dyna ydyw defnydd ffydd o hono, ei gyflwyno ger bron y Duw mawr, yn holl haeddiant ei aberth, yn ngwyneb pechod yn ei holl euogrwydd,—edrych ato beunydd yn ngwyneb ein holl drueni,—a dysgwyl trwyddo am faddeuant a glanhâd. Ac y mae hyn i'w wneuthur genym bob dydd tra byddom yn y fuchedd hon, nid yn unig gyda golwg ar gymmeradwyaeth ein personau ger bron yr orsedd fawr, ond er maddeuant o'r newydd yn ngwyneb troseddau

newyddion. Ond yno,—"A theml ni welais ynddi." Nid oes eisiau aberthu mwy. Y mae y meddwl yn sicr yn ymlonyddu yn dragywydd yn aberth Iesu Grist fel sail cymmeradwyaeth gyda'r Brenhin Mawr; ond nid oes angen dan deimlad o euogrwydd ei gyflwyno ger bron y Tad am faddeuant; nid oes eisiau y golchiadau a'r taenelliadau a'r puredigaethau yno; rhai sanctaidd, rhai perffaith mewn sancteiddrwydd, ydyw pawb sydd o fewn y ddinas. "Nid ä i mewn iddi ddim aflan nac yn gwneuthur ffieidd-dra na chelwydd." "Y rhai sydd yn cadw ei orchymynion ef ydyw y rhai a allant fyned i mewn trwy y pyrth i'r ddinas." Y maent i gyd "yr un ffurf a delw ei Fab ef;" "yn gyffelyb iddo;" "yn bur, megis ag y mae yntau yn bur." Y mae y llygredd wedi colli yn llwyr,—dim gogwydd byth i ymadael â Duw; dim anmharodrwydd i ufudd-dod iddo; dim anmherffeithrwydd yn ymgymmysgu âg un gwasanaeth mwy; pob hunanoldeb a daearoldeb yn y serchiadau wedi cilio; pob gwamalrwydd yn y dychymyg wedi darfod; pob tuedd i bob culni yn y meddwl am y Duw mawr wedi ei golli; pob cymmysgedd yn y dyben wedi ymadael yn llwyr; y galon wedi ei phuro oddiwrth ei holl aflendid; y farn wedi ei hunioni oddiwrth ei holl wyrni; yr ewyllys wedi ei rhyddhau oddiwrth ei holl wrthryfel; y meddwl heb ddim pechod ynddo, ac heb un gogwydd byth ato. A phawb yn y lle felly,—neb a thuedd ynddo i demtio neb arall byth; a gelyn mawr yr enaid, sydd yn ei ddilyn yma i bob man, wedi ei gau allan oddiyno yn dragywydd. Y mae yma un gair nodedig o ddesgrifiadol gan Ioan, wrth ddarlunio y lle, er dynodi ei burdeb,—"A heol y ddinas oedd o aur pur, fel gwydr gloyw,"—yr heol; nid y dodrefn, nid y tai, nid y muriau,—yr heol. Y mae yn y dref hon lawer o dai gwychion, ac mewn rhai o honynt ddodrefn neu lestri o

aur pur, yn dysgleirio fel gwydr gloyw; ond ewch chwi i'r heolydd mwyaf glanwaith, gwychaf, a phrydferthaf, sydd yma, a chwi a gewch ynddynt ddigon o lwch ac o fudreddi, yn cael eu casglu gan y tramwy gan y preswylwyr ar hyd-ddynt. Ac felly y mae holl ddinasoedd ein byd ni. Ond y mae y ddinas hon mor rydd oddiwrth bob budreddi, fel y mae ei heolydd yn dysgleirio fel gwydr gloyw. Y mae pawb yno mor lân fel nad oes un brycheuyn yn disgyn oddiwrthynt i lychwino y llawr y rhodiant arno. Gall y preswylwyr dedwydd ganfod eu delw yn yr heol y rhodiant arni. Hawdd y gallant yno wisgo eu gynau gwynion, a rhodio gyda'r Oen mewn gynau gwynion. Y mae gormod o ddefnyddiau halogedigaeth yn y byd hwn i'r Duw mawr roddi y rhai hyny am ei bobl. Fe'i llychwinid yn fuan yma gan fudreddi y ddaear; ond yno nid oes dim perygl iddynt gael eu difwyno byth,—y mae yr heol yn aur pur fel gwydr gloyw; ac felly ni bydd byth eisiau yr aberthau a'r golchiadau, yr allor, y noe, sydd yn angenrheidiol yma. "A theml ni welais ynddi."

III. Ymddengys fod y darluniad yn gosod allan fod yr amglygiadau o'r Duwdod mawr yn gyffredinol.

Yr oedd hyny yn briodol yn arbenig i'r deml gynt. Tŷ yr Arglwydd ydoedd, lle preswylfod ei ogoniant. Yn y cysegr yr oedd nerth a gogoniant Duw i'w weled. Yno yr oedd cartref y gogoniant dwyfol. "Hynod yw Duw yn Judah, a mawr yw ei enw ef yn Israel. Ei babell hefyd sydd yn Salem, a'i drigfa yn Sion." "Allan o Sion, perffeithrwydd tegwch, y llewyrchodd Duw." Yr oedd yr Arglwydd yn eistedd rhwng y cerubiaid. Yr oedd yno ryw arwydd gweledig o'r gogoniant dwyfol, rhywbeth goleu, dysglaer, tanbaid, nas gallai dyn roddi bod i ddim tebyg iddo, yn tywynu oddiar y drugareddfa. Yr oedd y gogoniant hwnw, ar adegau yn hanes y

genedl, yn dyfod i olwg gyffredin y bobl—megis ag y darllenwn yn llyfrau Moses—ac yn rhywbeth oedd yn meistroli pawb. Fe ddisgynodd y gogoniant hwn i deml Solomon ar ddydd ei chysegriad, ac, er holl lygredigaeth y genedl, fe barhaodd yn y deml hono hyd o fewn ychydig amser i'w dinystr—pryd, oblegyd pechodau y bobl, ac yn rhagflaenu y farn oedd ar ddisgyn arnynt, yr ymadawodd oddiyno yn llwyr, a chollwyd ef yn y dull hwnw am byth o'n byd ni.

Mae rhyw amlygiadau eto i'w cael o'r gogoniant dwyfol yn yr ymarferiad âg ordinhadau a gwasanaeth cysegr Duw. Er nad oes dim gweledig i'r llygad, eto y mae rhywbeth nerthol i'r teimlad a dylanwadol ar y galon. Mae yr Efengyl nid mewn gair yn unig ond hefyd mewn nerth, yn yr Ysbryd Glân ac mewn sicrwydd mawr. Ni a welsom weithiau y gwirionedd yn meistroli miloedd,—y celyd yn cael eu dryllio,—rhai cyndyn, gwrthryfelgar, yn cael eu darostwng,—meddyliau yn cael eu caethiwo i ufudd-dod Crist,—cestyll yn cael eu bwrw i'r llawr,—y cryf arfog yn colli ei anrhaith—rhywbeth nas gall dyn mo'i wneyd, ond y rhaid cael Duw i'w gyflawni.

Yn awr y mae yn amlwg nid ydym i ddeall y darluniad hwn a roddir i ni gan Ioan o'r nefoedd—"A theml ni welais ynddi"—fel yn gwadu fod amlygiadau arbenig o'r gogoniant dwyfol yn y nefoedd, oblegyd yr amlygiadau hyny, mewn geiriau ereill, roddir yma ganddo yn rheswm paham nad oes yno deml,—"yr Arglwydd Dduw Hollalluog, a'r Oen, yw ei theml hi." Ond yr ystyr ydyw fod yr amlygiadau hyny yn gyffredinol i'r holl ddinas. "Y mae gogoniant Duw ganddi." "Y mae ei goleu yn debyg i faen o'r gwerthfawrocaf, megis maen jaspis, yn loyw fel grisial. Nid rhaid iddi wrth yr haul na'r lleuad i oleuo ynddi; canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi; a'i goleuni hi ydyw yr Oen. Ni bydd

nos yno, ac nid rhaid iddynt wrth ganwyll na goleuni haul; oblegyd y mae yr Arglwydd Dduw yn goleuo iddynt." Mae rhywbeth hynod o ddysgrifiadol yn y darluniad hwn. Yno y mae yr amlygiadau o'r gogoniant dwyfol y fath fel mai hyny yw cyfrwng cymundeb y preswylwyr dedwydd â'u gilydd a'u hadnabyddiaeth y naill o'r llall. Trwy y goleuni yr ydym ni yn y byd hwn yn edrych ar ac yn gweled ein gilydd; yn ei absennoldeb y mae hyny yn anmhosibl. Ond yno, "gogoniant Duw a'i goleuodd hi"; "Y mae yr Arglwydd Dduw yn goleuo iddynt." Chwi gewch edrych ar eich gilydd yno trwy y Duwdod mawr. Y mae y gogoniant dwyfol yno nid wedi ei gyfyngu i ryw un ystafell, i olwg un dyn, a hyny am un diwrnod yn y flwyddyn, ond yn gyffredinol, cyson, a pharhaus. Dyna ydyw goleuni y lle. Duw ydyw pob peth y lle. "Gweled Duw"—"gweled yr Arglwydd"—"cartrefu gyda'r Arglwydd"—"bod yn wastadol gyda'r Arglwydd." Mae agos yr holl ymadroddion Ysgrythyrol a ddefnyddir er gosod allan gyflwr y rhai dedwydd yn y byd a ddaw yn rhoddi rhyw awgrymiad i ni mai hyn fydd prif elfen eu dedwyddwch; gweled Iesu fel y mae,—bod gyda Christ. Dyna ydyw y nefoedd—y Ddinas sanctaidd; Preswylfa y Duwdod. "Yno yr wyt ti." "Y nef yw fy ngorsedd-fainc."

IV. Y mae yn ymddangos fod y darluniad hwn yn gosod allan hefyd y bydd pob gwahaniaeth swyddol rhwng duwiolion â'u gilydd wedi darfod yno.

Nid felly yr ydoedd yn y deml. Rhyw rai oedd i weinyddu yno. Nid pob un, a allasai gael ar ei galon ar y pryd, oedd i ddwyn y creadur at yr allor i'w rwymo wrthi, i'w waedu, ei ladd, a'i flingo,—i daenellu y dwfr, y lludw, a'r isop,—i wasanaethu mewn pethau cysegredig. Na, yr oedd y gwasanaeth hwnw yn perthyn i swydd a phersonau neillduol wedi eu galw iddi ac mewn

awdurdod ynddi, ac yr oedd yn drosedd marwol i neb arall ymgymmeryd â hi. "Nid pob un sydd yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw, megis Aaron." Dacw Uzzah, er ei fod, dybygid, yn un o'r Lefiaid, yn cael ei ladd yn y fan am iddo gyffwrdd â'i ddwylaw âg arch Duw. Dacw y brenhin Uzziah, ryw ddiwrnod, yn rhyfygu myned i'r deml i arogldarthu ar allor yr arogldarth, ac yn y fan fe'i tarawyd â'r gwahanglwyf yn ei dalcen, ac fe fu yn wahanglwyfus hyd ddydd ei farwolaeth. Dacw Corah, Dathan, ac Abiram, a lliaws gyda hwynt, yn hòni sancteiddrwydd cyffredinol yr holl gynnulleidfa, ac yn ymddyrchafu i hawl o'r gwasanaeth cysegredig,—ond fe ddaeth y Goruchaf allan yn mhlaid ei ordeiniadau ei hunan, ac fe lyncwyd y gwrthryfelwyr yn fyw i uffern. Nid oedd rhyddid i neb fyned i mewn i'r rhan hono o'r deml, a elwid yn arbenig felly, ond yr offeiriaid, ac nis gallai neb ond yr arch-offeiriad fyned i mewn i'r cysegr sancteiddiolaf, nac yntau ychwaith ond am un diwrnod yn y flwyddyn. Lle ydoedd y deml y cyflawnid gwasanaeth arbenig gan swyddogion neillduol.

Felly y mae eto. Y mae swyddogion yn perthyn i Eglwys Dduw yn y byd a gorchwylion neillduol i'w cyflawni ganddynt, a chanddynt hwy yn unig. Fe ddewisodd yr Arglwydd Iesu y Deuddeg ac a'u galwodd mewn modd neillduol at y gwaith mawr a ordeiniesid ganddo iddynt. Fe ordeiniodd ddeg a thriugain ac a'u hanfonodd allan i bregethu yr Efengyl. Wedi esgyniad ein Hiachawdwr, ac i'r gwaith gynnyddu dan eu dwylaw, y maent yn galw ereill, gan eu neillduo i gyflawni rhan o'r gorchwyl oedd o'r blaen yn disgyn arnynt hwy. Pa le bynnag y sefydlid eglwysi yr oedd henuriaid yn cael eu hordeinio. Y mae amryw o'r eglwysi a annerchir yn y Testament Newydd yn cael eu

cyfarch gyda'u swyddogion. Yr oedd esgobion a diaconiaid yn Philippi; yr oedd henuriaid yn Ephesus; yr oedd angylion yn perthynu i'r saith eglwys yn Asia. Y mae cyfarwyddiadau manwl wedi eu gadael yn nghylch y cymhwysderau angenrheidiol yn y swyddogion hyn,—cyfarwyddiadau manwl iddynt hwythau pa fodd i ymddwyn yn nhŷ Dduw, gyda'r cymhelliadau cryfaf i ffyddlondeb. Y mae y swyddogion hyn i barhau yn yr eglwys nes y byddo amcanion mawr crefydd tuag at y byd wedi eu cyrhaedd a'r holl eglwys wedi ei pherffeithio. "Efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon, i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corph Crist, hyd oni ymgyfarfyddom oll, yn undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist." Fe fynai rhai, yn ein dyddiau ni, newid yr ordeiniad hwn a gwneyd yr hyn sydd, yn ol trefniad Pen yr Eglwys, yn eiddo neillduol y rhai a alwyd ganddo ato, yn orchwyl rhydd i bob un ymgymmeryd âg ef. Ond y mae y fath ddychymyg mor groes i iawn drefn cymdeithas ag ydyw i reolau Gair Duw. Yn ein byd ni y mae swyddogion yn ordeiniad Crist mewn cysylltiad â'r Efengyl.

Ond, dybygid, wrth y testyn, y bydd y gwahaniaeth hwn wedi darfod yn y nefoedd. Mae yn sicr y bydd yno ryw anrhydedd arbenig yn cael ei osod ar y gweision ffyddlawn; fe fydd "y doethion yn dysgleirio fel dysgleirdeb y ffurfafen; a'r rhai a droant lawer i gyfiawnder fel y ser byth ac yn dragywydd." Fe fydd y ffyddlawn ar ychydig yn cael ei osod ar lawer; bydd yno hefyd, dybygid, un yn cael dwy ddinas, a'r llall bump, a'r llall ddeg—gwobrwyir hwynt yn ol eu gweithredoedd; ac mae yn ddiammeu y bydd anrhydedd arbenig yn cael ei osod ar rai arbenig mewn llafur a defnyddiol-

deb. Y mae yn bosibl hefyd y bydd rhyw ffurf neillduol ar y gwasanaeth a'r addoliad dwyfol yno, ac felly dichon y bydd yno rhyw arweinwyr neu flaenoriaid neillduol yn perthyn iddo.

Ond y mae yn amlwg y bydd y gwahaniaeth swyddol sydd yma wedi darfod. Y mae hwn wedi ei sefydlu er dwyn yn mlaen adeilad corph Crist, ac yno fe fydd wedi ei gwbl berffeithio. Ni bydd yno neb anwybodus i'w ddysgu—neb afreolus i'w rybuddio—neb trallodedig i'w gysuro—neb gwrthgiliedig i'w adfer—neb llwfr ac ofnus i'w galonogi—neb gwan i'w gynnal—neb euog i'w ddysgyblu—neb drylliedig i'w feddyginiaethu—na briwiedig i'w rwymo—na chlaf i'w iachau. Ni bydd eisiau cyhoeddi heddwch yno ; bydd pawb yn y cymmod ac yn ffyddlawn i'w Duw. Ni bydd eisiau traethu am ogoniant y Gwaredwr yno er cymmell neb i'w gofleidio ; byddant oll yn bwrw eu coronau wrth ei draed. Ni bydd yno neb mewn gwisgoedd offeiriadol—byddant oll yn offeiriaid ; neb yn llywodraethu—byddant oll yn frenhinoedd. Byddant oll dan arolygiad a dysgeidiaeth y Cyfryngwr mawr ei hun. Bydd y gwisgoedd swyddol wedi eu diosg. Ni bydd neb yno yn oruchwylwyr dirgeledigaethau Duw, yn yr ystyr y mae gweinidogion yr Efengyl felly yn awr.

V. Y mae y darluniad hwn yn gosod allan hefyd, dybygid, fod y saint yno yn cael cymundeb digyfrwng a mwynhad uniongyrchol o'r Duw mawr yn Nghrist.

Trwy gyfryngau yr oedd yr addolwyr yn y deml yn cael cymdeithas â Duw. Rhoddion ac aberthau, bwydydd, diodydd, ac amryw olchiadau a defodau cnawdol,—portreadau y pethau sydd yn y nefoedd,—oedd y pethau goreu oedd ganddynt hwy. Oddiallan yn y cyntedd nesaf i mewn y byddai y bobl yn addoli ; nid oedd rhyddid iddynt hwy i fyned i mewn i'r Babell ; ac

wedi cyrhaedd yno yr oedd llen wedi hyny yn gwahanu rhwng yr offeiriaid â'r cysegr sancteiddiolaf; ac wedi cyrhaedd yno drachefn, nid oedd yno ond arwydd o'r presennoldeb dwyfol. Felly yr oedd pellder mawr, cyfryngau lawer, rhwng corph yr addolwyr â Duw. Felly y mae eto arnom ninau. Trwy gyfryngau, ac yn ganlynol o angenrheidrwydd yn anmherffaith, yr ydym yma yn cael cymdeithas â Duw. "Gweled yr ydym yr awrhon *trwy ddrych*"; gweled gwrthddrych o bell, yn cael ei adlewyrchu yn dra aneglur,—nid ydym yn gweled ei holl ranau, nac yn gweled dim o hono yn berffaith; nis gallwn lefaru mewn un modd yn benderfynol am dano:—"*mewn dammeg*"; rhyw gymhariaeth,—rhyw fesur o debygolrwydd,—rhywbeth i awgrymu,—y mae yn bur hawdd methu yr ystyr,—"*yn awr yr adwaen o ran*,"—yn dra anmherffaith,—adwaen ac heb adwaen,—gwybod cymmaint ag i ddymuno gwybod mwy,—gwybod cymmaint ag i wybod nad ydym yn gwybod dim yn iawn,—"Wele efe yn sefyll y tu ol i'r pared, yn ymddangos trwy y ffenestri, yn edrych trwy y dellt"; darluniadau, dysgrifiadau, rhyw bethau i *arwyddo*,—cymundeb rhanol,—lleni lawer yn cyfryngu rhwng y llygad â'r gogoniant; ac erbyn ei weled, arwydd ydyw, nid efe ei hunan.

Ond, "A theml ni welais ynddi"; fe fydd y gymdeithas yno yn uniongyrchol a dilen,—"yno wyneb yn wyneb"; "hwy a gânt weled ei wyneb ef"; "gweled Iesu fel y mae." "Yna yr adnabyddaf megis y'm hadweinir"; nid megis *graddau*, ond megis *dull*,—yr un modd. Y mae efe yn fy adwaen i yn ddigyfrwng yma, mi fyddaf inau yn ei adwaen yntau felly yno,—"Wyneb yn wyneb"; ni bydd eisiau unrhyw gyfrwng; gallwn hebgor y portread, yr adlun, wedi cael y gwreiddiol ei hun; ni bydd eisiau bara a gwin i'w gofio yno; bydd ei

hunan o flaen y llygaid. Ni bydd eisiau yr hen Fibl yno; fe fu yn gymhorth, lawer pryd, i ddwyn gwrth-ddrychau ysbrydol ger bron y meddwl; yn help i sefydlu y myfyrdod ar Dduw ac ar Grist, ond yn awr nid rhaid wrth bortreadau y pethau sydd yn y nefoedd, dyma'r pethau nefol eu hunain yn bresennol. Ni bydd yno sancteiddiolaf y ceuir neb allan o hono; bydd yr holl nefoedd yn rhydd i'r rhai dedwydd dramwy trwyddi; ni bydd un llecyn o'r ddinas fawr yn waharddedig i neb o'r dinasyddion.

"Gwyn fyd y dinasyddion sydd
  Yn rhodio'n rhydd ar hyd-ddi;
Y nefol fraint i minau rho,
  O Dduw! i drigo ynddi."

# PREGETH X.

## Y Credadyn yn Greadur Newydd.

2 Cor. v. 17.

"*Gan hyny od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd: yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd.*"

Mae y geiriau hyn yn cael eu dwyn i mewn gan yr Apostol yn yr amddiffyniad a wneir ganddo yma iddo ei hunan, yn y brwdfrydedd a deimlid ganddo dros yr Efengyl, a'r ymdrech a wneid ganddo yn mhlaid ei lledaeniad hi. Yr oedd yr ymdrech hwnw yn gyfryw, fel yr oedd ei wrthwynebwyr, y gau-athrawon a ddaethent i Corinth, yn methu rhoddi cyfrif am dano, o leiaf yn cymmeryd arnynt hyny, ond trwy dybied fod rhyw anmhariaeth ar ei feddwl, a'i fod i raddau wedi anmhwyllo. Y mae yr Apostol yn addef y brwdfrydedd; yn cydnabod ei fod wedi ei lyncu i fyny mor lwyr gan yr Efengyl, fel ag yr oedd yn defnyddio pob moddion ag a allai er cael dynion i ymostwng iddi,—"yn deisyf," "yn erfyn," "yn attolwg," arnynt dderbyn y cymmod. Ond y mae yn dangos fod hyn oll yn cyfodi nid oddiar feddwl gwallgof, ond oddiar feddwl yn barnu yn bwyllog, dan ddylanwad cariad Crist: "Canys y mae cariad Crist yn ein cymmell ni." Nid cariad at Grist, fel egwyddor yn y galon, a olygir yn y geiriau; ond y cariad a ddangoswyd gan Grist tuag atom ni, a thuag at y byd. "Gan farnu o honom hyn"; "wedi i ni farnu hyn"; "wedi i ni ddyfod i'r farn hon": "Os bu un farw dros bawb, yna meirw

oedd pawb";—neu, yn ol darlleniad cywirach, sydd yn gadael allan yr "*os*," a chyfieithiad gwell, "fod un wedi marw dros bawb, felly fod pawb wedi marw"; hyny yw, "y pawb" y bu efe farw drostynt, wedi marw ynddo ef fel eu cynnrychiolydd. "Ac efe a fu farw dros bawb." Dyma ran arall o'r hyn ydym wedi farnu: "Ei fod ef wedi marw dros bawb," i amcan neillduol ac arbenig,—"fel na byddai y rhai byw,"—y rhai ar ol marw ynddo a gawsant fywyd trwyddo,—"fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd"; maent i gysegru eu hunain, yn y bywyd newydd yma y maent wedi ei gael, yn ngwasanaeth ac er gogoniant yr hwn y cawsant fywyd trwyddo. "Am hyny,"—yn hytrach, "Fel, o hyn allan," o'r amser y ffurfiasom y farn hon, ac y sylweddolwyd ei hystyr yn ein meddyliau,—"nid adwaenom ni neb yn ol y cnawd,"—yn ol gwahaniaethiad cenedlaethol neu gymdeithasol; "ac os buom hefyd yn adnabod Crist yn ol y cnawd,"—yn edrych arno fel Iuddew, megis brenhin daearol, a'i ddysgwyl i eistedd ar orsedd-fainc Dafydd ei dad, yn darostwng iau y Rhufeiniaid, ac yn codi yr Iuddewon yn ben-cenedl y byd,—"eto yn awr nid ydym yn ei adnabod ef mwyach," hyny yw, "yn ei adnabod ef *felly* mwyach"; y mae, erbyn hyn, yn un tra gwahanol yn ein meddyliau; ac yr ydym yn awr yn edrych arno yn unig yn gysylltiedig âg amcan ei farwolaeth.

"Gan hyny od oes neb yn Nghrist"; yn hytrach yma eto: "Fel, od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd." Y mae yn lled anhawdd penderfynu yn gwbl ar gysylltiad y geiriau. Y mae rhai yn eu cymmeryd yn gasgliad oddiwrth yr adnod flaenorol. Gan mai nid yn ol y cnawd,—yn ol yr allanol, y gweledig, a'r daearol, yr ydym ni, yn ein perthynas â Christ, yn ffurfio ein golygiadau a'n barnau, y mae yn rhaid ein bod yn hollol

wahanol i'r hyn oeddem o'r blaen, ac y mae yr hyn sydd yn wirionedd am danom ni yn wirionedd am bawb sydd yn yr un berthynas âg ef,—"fel, od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd." Dyna fel y mae Meyer, Kling, ac ereill, yn esbonio. Ond y mae yn ymddangos i ni yn llawer mwy naturiol, gydag Alford, eu cymmeryd yn ddibynol hefyd ar yr hyn a osodasid allan ganddo yn y bymthegfed adnod, fel amcan neillduol ac arbenig marwolaeth Crist, yn gystal âg ar y wybodaeth newydd a osodir allan yn yr adnod flaenorol, a gwneuthur y cysylltiad fel y canlyn:—"Fel," yn awr, "od oes neb yn Nghrist," yn credu ynddo, ac mewn undeb gwirioneddol âg ef, fel ag i fod yn un âg ef, y mae amcanion ei farwolaeth yn cael eu hateb ynddo, "y mae efe yn greadur newydd." Y mae rhyw sydynrwydd yn y testyn gwreiddiol nad ydyw y cyfieithwyr wedi ei roddi i ni yn y Gymraeg. "Od oes neb yn Nghrist,—creadur newydd." Y mae y geiriau, "y mae efe," fel y gwelwch yn y Bibl, mewn llythyrenau Italaidd; yn arwyddo mai y cyfieithwyr sydd wedi eu dodi i mewn, er cyflenwi y synwyr. Ac y mae yn ymddangos eu bod yn amheus pa fodd yn oreu i'w gyflenwi, gan eu bod, ar ymyl y ddalen, gan ddilyn Calvin, yn darllen, "bydded yn greadur newydd." Ond y mae diwedd yr adnod yn ymddangos yn bendant yn erbyn y golygiad yna: "yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd"; fel mai y cyflenwad a gawn yn y cyfieithiadau Cymraeg a'r Saesoneg yn ddiddadl ydyw y goreu; er mai gwell, hwyrach, na'r ddau, a fuasai gadael y darlleniad yn y sydynrwydd a'r byrdra a berthyn i'r testyn gwreiddiol: "Od oes neb yn Nghrist, creadur newydd." Y mae y gair a ddarllenir yma, "*creadur*," yn cael ei ddefnyddio, weithiau, yn y Testament Newydd, am y weithred o greu, a phryd arall am

gynnyrch y weithred hono; a hyny weithiau, am y greadigaeth yn ei chyfanrwydd yn gyffredinol; ac weithiau, am ddyn yn neillduol ac unigol. Ac fe ddichon fod yr Apostol, yn y testyn, yn cymmeryd mantais ar yr amwysedd yna a berthyn i'r gair, gan amcanu y ddau ystyr: "Od oes neb yn Nghrist, creadur newydd"; "Od oes neb yn Nghrist, creadigaeth newydd." Ac y mae hynyna yn ymddangos i ni yn debycach oddiwrth ddiwedd yr adnod,—fel ymhelaethiad ar y syniad am greadigaeth newydd: "yr hen bethau a aethant heibio"—y maent wedi darfod, wedi diflanu, nid ydynt yn bod mwy. "Wele"! edrychwch; dyma olygfa; "Wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd."

Ni a gymmerwn y geiriau yn awr yn yr ystyr cyntaf a nodwyd yn unig, ac mi a ddymunwn eich sylw oddiwrthynt at y mater canlynol:—

FOD UNDEB Â CHRIST YN GWNEYD Y DYN FYDDO YNDDO YN GREADUR NEWYDD. "Od oes neb yn Nghrist, creadur newydd." Dyna yn sicr ystyr yr ymadrodd, "yn Nghrist." Rhyw undeb gwirioneddol ond dirgeledig âg ef trwy ffydd, a'r fath undeb âg ef ag sydd yn achub byth yr hwn a fyddo ynddo. Mae yr undeb hwn â Christ yn diogelu y cyflwr; ac nid oes dim arall a wna hyny: "Nid oes gan hyny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu"; "Yr hwn nid adnabu bechod, a wnaeth efe yn bechod drosom ni; fel y gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Oblegyd ei fod yn dwyn pechadur i'r undeb hwn, y mae credu yn Nghrist yn cadw. "Fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol"; "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi." "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Y neb sydd yn gwrandaw fy ngair i, ac yn credu i'r hwn a'm danfonodd i, a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw

i farn; oblegyd efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." Ond yr ydym i gofio fod ffydd yn cadw nid oblegyd unrhyw werth moesol sydd ynddi hi ei hunan, nac oblegyd unrhyw ddylanwad all fod yn eiddo iddi ar feddwl ei pherchen, nac oblegyd ei bod yn cynnyrchu gweithredoedd da mewn bywyd yn y canlyniad; ond am mai hi sydd yn uno yr enaid â Mab Duw; hi sydd yn cysylltu y colledig â'r Ceidwad. Crist sydd yn cadw. Efe yw yr arch; myned i mewn iddi ydyw credu. Efe yw y mynydd; dianc yno ydyw credu. Efe yw y noddfa; ffoi iddi ydyw credu. Efe yw y graig fawr; llechu dan ei chysgod ydyw credu. Undeb â Christ, a hyny yn unig, sydd yn diogelu y bywyd.

Ond y mae o bwys mawr i ni gofio fod yr undeb hwn yn effeithio er gwneuthur cyfnewidiad nid yn unig ar gyflwr neu sefyllfa dyn, ond ar y dyn ei hunan. Y mae yn ei wneuthur yn greadur newydd. Ac y mae angen cyfnewidiad ar ansawdd calon pechadur. Ni byddai unrhyw ddarpariaeth er ymwared iddo rhag drwg oddi-allan yn ddigon i gyfarfod ei amgylchiad, oni byddai yn effeithiol i gyrhaedd i'r tu mewn. Y mae defnyddiau ei drueni ynddo ei hunan—yn ei bechadurusrwydd. Pe byddai y fath beth ag iddo gael ei waredu oddiwrth felldith y ddeddf a'r digofaint sydd ar ddyfod, a'i adael mewn gelyniaeth at Dduw, ac yn droseddwr o'r ddeddf, ei adael dan lywodraeth ei bechod, byddai yn rhwym o fod yn annedwydd. Ond y mae darpariaeth gyflawn yn yr Efengyl ar ei gyfer. Y mae ynddi ddigon gogyfer â'r drwg oddi fewn yn gystal â'r drwg oddi allan. Y mae yn ei gyfarfod yn ei aflendid yn gystal ag yn ei euogrwydd. Y mae yr un ffydd ag sydd yn ei gysylltu â Christ er diogelwch ei gyflwr, yn adnewyddu ei natur hefyd. Pan yn cael ei ddwyn i gyflwr newydd yn ngwyneb y ddeddf, y mae yn cael ei wneyd yn greadur

newydd tuag ati. "Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd."

Nid ydym i ddeall wrth hyn fod unrhyw gyfnewidiad yn cael ei wneyd ar hunaniaeth y dyn; ar alluoedd naturiol ei feddwl; ar *fod* yr enaid. Nid oes yr un gynneddf feddyliol newydd yn cael ei rhoddi iddo; dim yn cael ei ychwanegu iddo at yr hyn sydd hanfodol iddo fel creadur. Ac eto y mae, yn ngwir ystyr, ac ystyr uchaf y gair, "yn greadur newydd," "yn ddyn newydd."

Ac wrth edrych ar y cyd-destyn, a chymmeryd y darluniad a roddir gan yr Apostol yma o hono ei hunan, i'n harwain i'r hyn a amcenid ganddo yn y dynodiad hwn, ni a allwn, ni a dybiem, edrych arno yn "greadur newydd" mewn pedwar golygiad :—

1. Y mae yn coleddu syniadau ysbrydol newydd: "Am hyny, nyni o hyn allan nid adwaenom neb yn ol y cnawd; ac os buom hefyd yn adnabod Crist yn ol y cnawd, eto yn awr nid ydym yn ei adnabod ef mwyach." Lle y gwelwn yn (1) Ei fod wedi cael syniadau newydd am ddyn: "O hyn allan nid adwaenom ni neb yn ol y cnawd." Yr hen syniad, yn ol y cnawd, yr hyn oedd fawr a phwysig, oedd y gwahaniaeth cenedlaethol; y gwahaniaeth cymdeithasol; y gwahaniaeth amgylchiadol; y gwahaniaeth meddyliol; yr Iuddew neu y Groegwr; y caeth neu y rhydd; y cyfoethog neu y tlawd; y galluog a'r meddylgar, neu y dwl a'r difeddwl; y dysgedig neu yr anwybodus; yr hyn ydyw y dyn o ran ei gysylltiadau allanol, ei urddas bydol; ei berthynas â mi, ei wasanaeth i mi, ei garedigrwydd tuag ataf, fy nysgwyliadau oddiwrtho, fy nheulu, fy rhieni, fy mhlant, fy nghyfeillion, a'r rhai hyny yn unig o fewn cylch y gweledig a'r daearol, ac yn eu perthynas âg amser, ac â'r byd

presennol. Ond "o hyn allan nid adwaenom neb yn ol y cnawd." Yr ydym yn awr yn edrych ar ddyn, fel y cyfryw,—dyn yn annibynol ar ei genedl, ar ei safle gymdeithasol, ar ei amgylchiadau bydol, ar ei nodwedd meddyliol. Yr ydym yn ei adwaen yn awr fel perchen enaid, fel deiliad barn, fel creadur tragywyddoldeb. Ie, dyn yn bechadur; dyn yn elyn Duw; dyn yn euog; dyn dan gondemniad; dyn, o'i ran ei hunan, yn agored byth i ddigofaint Duw. Ie, yn awr, "o hyn allan," o'r pryd y gwelsom y groes, ac y cymmerasom hi yn safle i edrych ar bob peth; dyn a Christ o'i gariad wedi marw drosto; dyn a Duw yn Nghrist yn ei gymmodi âg ef ei hun; dyn y mae Duw yn deisyf, y mae Crist yn erfyn arno dderbyn y cymmod, a gwneuthur heddwch byth âg ef yn y groes. "Creadur newydd,"—gyda syniadau newydd am ddyn.

(2) Y mae wedi cael syniadau newydd am Grist: "Ac os buom hefyd yn adnabod Crist yn ol y cnawd, eto yn awr nid ydym yn ei adnabod ef mwyach." Mae yr Apostol yma, yn ddiammeu, yn cyfeirio at yr hen syniad oedd ganddo am Grist, cyn ei droedigaeth. Yr oedd efe, fel ei genedl yn gyffredin, yn dysgwyl y Messiah yn dywysog gwladol, ac yn frenhin i'r Iuddewon,—i eistedd ar orsedd-fainc Dafydd, darostwng iau y Rhufeiniaid, a'u codi hwy yn ben-cenedl y byd. Nid oedd ganddo un syniad am Fessiah yn cael ei eni mewn ystabl; yn byw mewn tlodi; yn rhodio y ddaear heb le i ddodi ei ben i lawr; yn cael ei wrthod gan ddynion; yn cael ei ddal, ei rwymo, ei garcharu, poeri yn ei wyneb, ei goroni â drain, yn cael ei groeshoelio, yn marw mewn gwaradwydd, yn marw dan felldith; ond yn esgyn i'w orsedd trwy y groes, ac yn cyrhaedd y dyrchafiad mwyaf a'r awdurdod uwchaf yn ganlyniad y fath ddarostyngiad. Ac am mai dyna y fath hanes oedd i Iesu o Nazareth, a

chan weled lliaws o'i gydgenedl yn myned ar ei ol, ac yntau yn credu mai twyllwr ydoedd, yr oedd yn gwneyd ei oreu yn ei erbyn, ac yn penderfynu ei erlid hyd angeu. "Crist yn ol y cnawd" yn unig a adwaenai ef. Ond, yn awr, "nid ydym yn ei adnabod ef mwyach yn ol y cnawd." Na; Crist, Mab Duw; Crist, Brenhin Israel; Crist, Iachawdwr y byd; Crist ein bywyd ni; Crist wedi ein caru nes rhoddi ei hun drosom; Crist a Duw yn cymmodi y byd âg ef ei hunan ynddo; Crist wedi ei wneuthur i ni gan Dduw yn ddoethineb, yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth; Crist yn bob peth, ac yn mhob peth. Crist, o hyn allan, yr wyf yn cyfrif pob peth yn golled er ei fwyn. Nid yw pob peth ond tom mewn cymhariaeth i'w ennill. Dymuniad cyntaf, cryfaf fy nghalon yw cael bod ynddo; fy ymdrech mwyaf ydyw ei adnabod; a'm dedwyddwch uchaf fydd cael bod ar ei ddelw. Crist yn awr yw fy nghwbl. Nid myfi sydd yn byw, ond Crist yn byw ynof fi. Yr wyf yn teimlo yn anrhydedd dioddef er ei fwyn; dyrchafiad arnaf yw cael bod yn garcharor drosto. Yr wyf yn gwbl dawel dan yr erlidiau trymaf, ïe, i farw, er mwyn enw yr Arglwydd Iesu. Y mae arnaf chwant i'm dattod a bod gyda Christ; a chymdeithas ddilen âg ef fydd fy ngwynfyd uchaf, fy nefoedd byth. Creadur newydd. Y mae wedi cael syniadau newydd am Grist.

2. Y mae yn cyfeirio at amcanion hollol newydd: "Fel na byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt ac a gyfodwyd." Nodwedd dynolryw dan bechod yw rhai "yn byw iddynt eu hunain," "â'u serch arnynt eu hunain," "yn ceisio yr eiddynt eu hunain, ac nid yr eiddo Crist Iesu." Hunanolder ydyw pechod mawr y byd. Pan syrthiodd dyn oddiwrth Dduw, fe syrthiodd iddo ei hun. Y mae yn cymmeryd ei ewyllys ei hun yn rheol, a'i foddhau ei

hunan yn amcan. Hunan-ewyllys, hunan-fwyniant, hunan-elw, hunan-ddyrchafiad, hunan-barch, hunan-glod. Dyna yr hen greadur. A dyna oedd Paul unwaith. "Yn ol y sect fanylaf o'n crefydd ni, y bûm i byw yn Pharisead." "Minau yn wir a dybiais ynof fy hun, fod yn rhaid i mi wneuthur llawer o bethau yn erbyn enw Iesu o Nazareth." "Yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahaus."

Ond edrychwch arno wedi ei gyfarfyddiad â Christ: "Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?" "Byw i mi yw Crist." "I mi i fyw, Crist." "Mawrygu Crist pa un bynnag ai trwy fywyd ai trwy farwolaeth." "Nid oes yr un o honom yn byw iddo ei hun, ac nid yw yr un yn marw iddo ei hun: pa un bynnag ai byw, i'r Arglwydd yr ydym yn byw; ai marw, i'r Arglwydd yr ydym yn marw: am hyny, pa un bynnag ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydym." "Mi a ymwnaethum i'r Iuddewon, megis yn Iuddew, fel yr ennillwn yr Iuddewon; i'r rhai dan y ddeddf, megis dan y ddeddf, fel yr ennillwn y rhai sy dan y ddeddf; i'r rhai diddeddf, megis diddeddf, fel yr ennillwn y rhai diddeddf. Ymwneuthum i'r rhai gweiniaid, megis yn wan, fel yr ennillwn y gweiniaid: mi a ymwnaethum yn bob peth i bawb, fel y gallwn yn hollol gadw rhai." "Rhyngu bodd i bawb yn mhob peth; heb geisio fy lleshad fy hun, ond lleshad llaweroedd, fel y byddont hwy cadwedig." Aberthu fy amgylchiadau, aberthu fy nheimladau, aberthu fy nghysuron, aberthu fy esmwythdra, aberthu fy nysgwyliadau, aberthu fy mywyd,—aberthu pob peth, ond y gwirionedd, yn ngwasanaeth Iesu Grist, ac er lleshad eneidiau dynion. "Ie, a phe y'm hoffrymid ar aberth a gwasanaeth eich ffydd, llawenhau yr wyf, a chyd-lawenhau â chwi oll." Gwrandewch arno yn adrodd ei hanes, a'r byd oedd arno: "Yn mhob peth yr

ŷm yn gystuddiol, ond nid mewn ing"; neu, yn well, yn cael ein gwasgu, ond nid ein llethu; "mewn cyfyng-gynghor, ond nid yn ddiobaith; yn cael ein herlid, ond nid ein llwyr-adael; yn cael ein bwrw i lawr, eithr heb ein dyfetha, gan gylch-arwain yn y corph bob amser farweiddiad yr Arglwydd Iesu, fel yr eglurer hefyd fywyd Iesu yn ein corph ni. Canys yr ydys yn ein rhoddi ni, y rhai ydym yn fyw, yn wastad i farwolaeth er mwyn Iesu, fel yr eglurer hefyd fywyd Iesu yn ein marwol gnawd ni. Felly y mae angeu yn gweithio ynom ni, ac einioes ynoch chwithau. Canys y mae pob peth er eich mwyn chwi, fel y byddo i ras wedi amlhau trwy ddiolchgarwch llaweroedd, ymhelaethu i ogoniant Duw." Fel hyn y mae yn byw, nid iddo ei hun,—nid i'w chwantau, nid i'w bleserau, nid i'w esmwythdra, nid i'w anrhydedd, nid yn uniongyrchol i'w leshad personol ei hun,—ond i Grist Iesu, i'r hwn a fu farw drosto ac a gyfodwyd. Y mae yn amlwg yn cyfeirio at amcanion newydd. "Creadur newydd."

3. Y mae yn cael ei lywodraethu gan gymhelliadau newydd: "Canys y mae cariad Crist yn ein cymmell ni." Nid fel hyn yr oeddem o'r blaen. Yr oeddem yn cael ein llywodraethu gan ein teimladau, gan ein blysiau, gan ein nwydau, gan ein tueddiadau. Beth sydd hawdd? Beth sydd hyfryd? Beth sydd ennill-fawr? Pa beth a rydd i ni y dyrchafiad mwyaf? Beth a ddaw i ni â'r dylanwad cryfaf? Rhyw ystyriaethau o'r fath sydd yn llywodraethu y dyn anianol. Yr hunanoldeb y soniasom am dano sydd—yn y naill ffurf neu y llall—yn ei arwain fel y myno ei hunan. Ond am y dyn sydd yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd; y mae yn cael ei lywodraethu gan gymhelliadau cwbl wahanol; "Y mae cariad Crist yn ein cymmell ni." Nid, fel y sylwasom eisoes, ein cariad ni at Grist a

olygir yma, ond ei gariad ef atom ni, ei gariad ef at y byd, cariad mor fawr fel y bu farw drosto. Yn y fan yma yr ydym yn gweled gwagedd y byd, a gwerth enaid; drwg pechod a pherygl y pechadur; mawredd cariad Duw a manylrwydd ei gyfraith. Dyma, meddai y credadyn, yr hyn ddylwn inau fod. A garodd efe ei elynion? A garodd efe hwynt nes marw drostynt? A garodd efe fi nes marw drosof? Yn sicr mi a'i caraf inau yntau. "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." Wrth edrych ar Grist ar y groes, yr wyf finau yn cael fy nghroeshoelio i bob amcanion hunanol a bydol. Nid oes dim yn ddrwg ond pechod; dim yn werthfawr ond enaid; dim yn bwysig ond cadwedigaeth. Nid oes dim yn fychan ond ceisio fy hunan; dim yn fawr ond hunan-aberthu; dim yn anrhydeddus ond sancteiddrwydd. "Creadur newydd,"—yn cael ei lywodraethu gan gymhelliadau newydd.

4. Y mae yn gweithredu yn mhob peth oddiar egwyddor newydd: "Canys wrth ffydd yr ydym yn rhodio, ac nid wrth olwg." "Tra na byddom yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir." "Canys ni a wyddom os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd." Mae dyn yn naturiol yn byw wrth olwg,—golwg synwyr neu olwg rheswm. Y mae yn barnu, yn synio, yn gweithredu, yn ol y gweledig, y daearol, yr allanol. Pa beth i'w fwyta? pa beth i'w yfed? ac â pha beth i ymddilladu;—ei amgylchiadau yn y byd, ei gysuron ar y ddaear,—y wraig, y plant, y teulu, bywioliaeth gysurus, sefydlu yn y byd yn anrhydeddus, osgoi tlodi, ennill cyfoeth, dianc rhag blinderau, ymddyrchafu i awdurdod, cael byd esmwyth, didrafferth, cysurus, parchus; dim cystudd os gellir;

dim cyfyngder mewn amgylchiadau, dim pryder. Byw ar y ddaear cyhyd ag y gallwn, a mwynhau cymmaint ag a allwn mewn bywyd. Ond yn awr, "creadur newydd"; yn rhodio wrth ffydd; yn edrych ar y pethau ni welir. Y mae y cystudd, er trymed, yn ysgafn, ac er yn wastadol, eto yn fyr, ac yn gweithredu yn odidog ragorol. Yr ydym yn gorfoleddu mewn gorthrymderau,—yn hyf ac yn gweled yn dda yn hytrach fod oddi cartref o'r corph a chartrefu gyda'r Arglwydd. Y mae i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd. Ac yr ydym yn ocheneidio, nid oblegyd y cystudd, ond yn deisyfu cael ein harwisgo â'n tŷ sydd o'r nef. "Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd."

---

# PREGETH XI.

## Ymdeimlad ag Anmherffeithrwydd yn Gymhelliad i Ymdrech.

Phil. iii. 13, 14.

"*Y brodyr, nid wyf fi yn bwrw ddarfod i mi gael gafael: ond un peth, gan anghofio y pethau sydd o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen, yr ydwyf yn cyrchu at y nôd, am gamp uchel alwedigaeth Duw yng Nghrist Iesu.*"

Mae y geiriau hyn, yn y cysylltiad y cawn hwynt ynddo yma, wedi eu bwriadu, dybygid, er rhagflaenu cam-gasgliad yn meddwl y Philippiaid, oddiwrth yr hyn a ddywedasid ganddo yn yr adnodau blaenorol, o'i fod yn hòni rhyw berffeithrwydd mewn crefydd ag yr oedd ef ei hunan yn gwbl ymwybodol na chyrhaeddasid ganddo. Yr ydoedd, yn y geiriau blaenorol, wedi gwneuthur proffes uchel iawn o'i gariad at a'i gysegr-edigaeth i Grist Iesu. Yr oedd wedi ei lyncu mor lwyr ganddo fel yr oedd pob peth mewn cymhariaeth iddo yn gwbl ddirmygedig yn ei olwg; amcan uchaf ei fywyd oedd undeb âg ef, adnabyddiaeth helaethach o hono, profiad o ddylanwad ei adgyfodiad, cymundeb ysbryd â'i ddioddefiadau i'r fath raddau ag i'w ddwyn i ddeall fod amcanion ei farwolaeth yn cael eu hateb ynddo, a'u hateb ynddo mor lwyr ag y byddant yn y saint pan wedi eu cwbl berffeithio yn ad-gyfodiad y meirw. "Ond tra yn gwybod ac yn teimlo ac yn hòni fy mod fel hyn mor gysegredig iddo, peidiwch â'm cam-gymmeryd, fel pe byddwn am i chwi ddeall fy mod i wedi cyrhaedd y cwbl a ellir gyrhaedd, na'r cwbl yr wyf yn gobeithio ei gyrhaedd";

—"*Nid fel pe bawn wedi ei gyrhaeddyd eisoes.*" Nid yw yn hollol hawdd penderfynu at ba beth y cyfeiria pan y dywed nad oedd "Wedi ei gyrhaeddyd eisoes." Y mae rhai yn deall y cyfeiriad at yr hyn a nodasid ganddo eisoes—"ardderchawgrwydd gwybodaeth," neu "Grist Iesu," neu "ei adnabod ef." Y mae ereill yn cymmeryd y cyfeiriad at y "gamp," a nodir ganddo ychydig yn mlaen. Ond y mae yn ymddangos yn debycach mai y perffeithrwydd a gynnwysir yn y prifair sydd yn canlyn,—"wedi fy mherffeithio," a olygir ganddo. Wrth fod "wedi ei berffeithio," y mae i ni ddeall yr un peth ag a osodir allan ganddo fel y "nôd" yr oedd yn cyrchu ato; yr ansawdd hwnw ar ei ysbryd mewn sancteiddrwydd, ag oedd megis amcan yn ngolwg yr Anfeidrol i'w godi iddo, pan y galwyd ef trwy ras. Mae yn deilwng o sylw mai nid yr un gair a ddarllenir yma "cyrhaeddyd," ag a arferir mewn cysylltiad âg "adgyfodiad y meirw." Y mae y gair yno yn arwyddo *dyfod at;* a'r gair a arferir yma yn arwyddo *cymmeryd, cymmeryd gafael, cydio yn:* neu ynte, weithiau, *derbyn.* "Eithr dilyn yr wyf, fel y gallwyf ymaflyd yn y peth hwn hefyd yr ymaflwyd ynof gan Grist Iesu." Ond er fy ymdeimlad â'm hanmherffeithrwyddd, nid wyf yn llwfrhau ac yn digaloni, ond yn hytrach yn ymroddi â'm holl egni tuag at gyrhaedd perffeithrwydd hollol,—"dilyn yr wyf." Mae y gair a ddarllenir yma "dilyn" yn air nodedig o gryf. Nid yw y gair *dilyn* o gwbl yn cyfateb iddo. Yr un gair ydyw ag a arferir ganddo yn y chweched adnod am dano ei hunan yn "*erlid* yr eglwys." Mae yn arwyddo yr egni a arferir gan yr heliwr yn erlyn ei ysglyfaeth,—gan y rhyfelwr yn ymlid y gelyn,—ac yn neillduol, yn y lle hwn, yn arwyddo yr ymdrech a arferid gan y rhedegwr i gyrhaedd y nòd o flaen ei gydymgeiswyr; ac yn dynodi yr ymröad, y llafur, yr egni,

yr ymdrech a arferid gan yr Apostol i gyrhaedd at, i ymaflyd yn, y peth, er mwyn yr hwn yr oedd Crist Iesu wedi ymaflyd ynddo ef. "Fe ymaflwyd ynof fi gan Grist Iesu; ac yr oedd amcan neillduol ger bron ei feddwl gyda golwg arnaf fi pan ymaflodd ynof, a'm holl ymdrech inau yn awr yw, cyrhaedd, cael gafael ar yr hyn oedd yn ngolwg Crist Iesu o berthynas i mi pan ymaflodd ynof."

"Y brodyr, nid wyf fi yn bwrw ddarfod i mi gael gafael." Y mae fod yr Apostol yn dychwelyd drachefn at ei ymwrthodiad â phob honiad o'i fod ef wedi cyrhaedd y perffeithrwydd y soniasai am dano, ac at yr ymdrech, er hyny, a arferid ganddo tuag at ei gyrhaedd, yn arwyddo, dybygid, ei fod yn amcanu yn arbenig y fath gyfaddefiad, naill ai er mwyn bod yn ocheliad i'r Philippiaid eu hunain rhag pob gau hyder ac ymffrost a diofalwch, neu ynte, yr hyn sydd debycach, er condemniad ar y gau-athrawon yr oeddent mewn perygl oddiwrthynt, yn y fost a wnelid ganddynt hwy o'u crefydd, tra eto yn ymollwng i bob llygredigaeth.

"Ond un peth," hyny yw, "un peth" yr ydwyf yn ei fwrw, yn ei gyfrif, yn ei feddwl. "Gan annghofio y pethau sydd o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen." Mae yr Apostol yn edrych ar ac yn llefaru am dano ei hunan, yn ei fuchedd grefyddol, megis rhedegwr ar yrfa; ac, megis mai yr hyn sydd bwysig i hwnw ydyw, nid pa gymmaint o dir yr aeth drosto, ond pa faint sydd rhyngddo â'r nôd; felly yr oedd meddwl yr Apostol wedi ei lyncu i fyny mor lwyr gan awydd am gyrhaedd perffeithrwydd, fel nad oedd pa gynnydd bynnag a wnelsid ganddo tuag ato yn cael dim lle yn ei feddwl mewn cymhariaeth i'r pellder a deimlid ganddo oedd rhyngddo âg ef. "Gan annghofio y pethau sydd o'r tu cefn." Wrth "y pethau sydd o'r tu cefn" y mae

i ni ddeall, nid ei fywyd Iuddewig, a ddarlunir ganddo yn yr adnodau blaenorol, oblegyd yr oedd wedi ymwrthod yn gwbl â hwnw pan yn cychwyn ar yr yrfa Gristionogol; ond yr holl gynnydd blaenorol a wnelsid ganddo ar yr yrfa hono o'i droedigaeth hyd yn hyn. "Ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen." Mae y gair a ddarllenir yma "ymestyn," drachefn, yn cyfeirio at yr yrfa, ac yn neillduol yn golygu yr ystum a'r osgo a wneir gan y rhedegwr, yn taflu ei ddwylaw yn mlaen ac yn tynu ei holl gorph rhagddo, er mwyn myned, can gynted ag y gallo, dros y tir sydd eto o'i flaen ac yn gorwedd rhyngddo â'r nôd.

"Yr ydwyf yn cyrchu at y nôd." Yr un gair a ddarllenir yma "*cyrchu*" ag a gawn yn yr adnod flaenorol yn cael ei ddarllen "*dilyn*," ac "*erlid*" yn y chweched adnod; ac y mae yn gosod allan yma eto yr egni mwyaf oedd bosibl iddo tuag at gyrhaedd ei amcan. Y mae cryn amrywiaeth golygiadau yn mhlith esbonwyr yn nghylch yr hyn a amcenid yn uniongyrchol gan yr Apostol yn y gair a ddarllenir "*nôd*" yma. Y mae rhai, megis Macknight, Adam Clarke, Peile, a Charles o'r Bala, yn ei gymmeryd i ddynodi y llinell wen oedd yn nodi ymyl yr yrfa, a thu fewn i'r hon yr oedd yn rhaid i'r rhedegwr ymgadw. Fe wnelai hwnw ystyr prydferth i'r geiriau, a byddai yn gwbl gydweddol â'r gymhariaeth a ddefnyddir gan yr Apostol, ac yn ateb yn hollol i ystyr uniongyrchol y gair a ddarllenir "at" yma, "yn ol." Ond nid ydym yn gweled fod digon o awdurdod dros roddi yr ystyr yna i'r gair, ac felly rhaid ei adael heibio. Y mae yn ymddangos i ni mai yn yr ystyr a roddir i'r gair gan ein cyfieithwyr ni y mae i ni ei ddeall, am ben neu derfyn yr yrfa, fel ag y cawn ef yn nghyfieithiad y Deg-a-Thriugain (Job xvi. 12; Galarnad iii. 12), ac yn yr Apocrypha (Doethineb Sol. v. 12), am

y nôd y byddo saethyddion yn annelu ac yn saethu ato. Ac y mae y gair a ddarllenir "*at*" yma i'w gymmeryd yn yr ystyr *tua*, *yn nghyfeiriad*, fel yn Act. viii. 26, Dos tua'r dehau. Yr oedd yr Apostol yn canfod y fath bellder rhyngddo â'r nôd, fel nad oedd yn gallu defnyddio y gair cyffredin am *at* er gosod allan ei sefyllfa gyda golwg arno; ond yr oedd yn ymwybodol ei fod ar yr yrfa, ac yn yr ymdrech, ac yn myned rhyw gymmaint rhagddo, a hyny oll *tua*, yn nghyfeiriad, y nôd.

"Am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu." Mae y gair a ddarllenir "*camp*" yma yn arwyddo, nid yn ol ystyr uniongyrchol y gair Cymraeg, yr ymdrech neu yr orchest, ond y *wobr*, y *camp-dlws*, y *goron*, â'r hon y gwisgid y buddugwr yn yr ymdrech; ac yma yn golygu y goron anllygredig, y gwynfyd digymmysg a thragywyddol sydd yn nghadw i'r saint yn y nefoedd, y wobr sydd yn perthyn i uchel alwedigaeth Duw. Mae y gair "uchel" i'w gysylltu nid â'r gair "camp," ond â'r gair "galwedigaeth," ac yn arwyddo galwedigaeth oddi fyny—galwedigaeth nefol—galwedigaeth Duw. Mae Chrysostom a Meyer yn cymmeryd y geiriau "yn Nghrist Iesu" yn gysylltiedig â'r gair "*cyrchu*." Y mae y gystrawen yn caniatau yr ystyr yna, ac y mae yr ystyr yn gwbl gydweddol â'r hyn sydd yn dynodi holl dystiolaeth yr Apostol am dano ei hunan yn y bennod hon, mai yn ei undeb â Christ, ac er mwyn Crist, yr oedd efe yn gwneyd pob peth yn ei grefydd. Ond y mae cyflead y geiriau a threfn y frawddeg yn hytrach yn pleidio y golygiad eu bod i'w cysylltu â'r geiriau "galwedigaeth Duw," ac fel y mae Duw yn dynodi awdwr yr alwedigaeth, felly y mae "yn Nghrist Iesu" yn dynodi cylch, a chyfrwng, a phosibilrwydd y fath alwedigaeth.

Dyna fel yr wyf fi yn deall y geiriau; a'u deall fel yna,

yr oeddwn am gael eich meddwl at yr egwyddor a ddysgir i ni ynddynt. YMDEIMLAD AG ANMHERFFEITHRWYDD YN GYMHELLIAD I YMDRECH: "Nid fel pe bawn wedi ei gyrhaeddyd eisoes, neu fod eisoes wedi fy mherffeithio, eithr dilyn yr wyf: nid wyf fi yn bwrw ddarfod i mi gael gafael, ond gan annghofio y pethau sydd o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen, yr ydwyf yn cyrchu at y nôd," &c. Yr wyf am i chwi ddal sylw manwl mai ymdeimlad âg anmherffeithrwydd sydd yma, ac nid ansicrwydd yn nghylch diogelwch cyflwr. Mae lliaws o'r Pabyddion yn cymmeryd y geiriau er prawf o'r anmhosibilrwydd i ddynion gyrhaedd sicrwydd yn y byd hwn am eu dedwyddwch yn y byd a ddaw, gan fod Paul, un oedd mor hynod mewn crefydd, heb ei gyrhaedd; ac y mae rhai Cristionogion Protestanaidd wedi defnyddio y geiriau fel esgus drostynt eu hunain am beidio a llafurio am gael sicrwydd felly. Ond, yn sicr, nid hyny oedd meddwl yr Apostol. Yr oedd efe, fel y mae yn amlwg oddiwrth y llythyr hwn, yn gystal a'i lythyrau ereill, wedi cael y sicrwydd yna. "Byw i mi yw Crist, a marw sydd elw," "Gan fod genyf chwant i'm dattod, ac i fod gyda Christ; canys llawer iawn gwell ydyw." Nid heb gael gafael ar sicrwydd am ddiogelwch ei gyflwr, gan hyny, yr ydoedd; ond heb gael gafael ar y perffeithrwydd yr oedd ei feddwl arno, ac yr oedd yn dyheu am dano. Ac er fod y geiriau yn neillduol yn cyfeirio at brofiad y credadyn, eto y maent yn ymddangos i mi yn cynnwys yr egwyddor fawr gyffredinol y cyfeiriais ati, ag y gellir ei chymhwyso at ddynion yn ddiwahaniaeth, gan nad beth a fyddo eu safle neillduol mewn cysylltiad â chrefydd, ac un y carwn gael eich sylw ati yn bresennol.

YMDEIMLAD AG ANMHERFFEITHRWYDD YN GYMHELLIAD I YMDRECH. Y mae rhai yn ngwyneb eu

hanmherffeithrwydd yn llwfrhau ac yn digaloni; rhai, o'r ochr arall, yn ymddiofalhau, gan adael ar y Duw mawr wneuthur y cwbl drostynt, heb iddynt hwy ymgais at ddim. Ond nid felly yr Apostol. Yr oedd efe yn gwbl ymwybodol o'i anmherffeithrwydd; ond, yn lle llwfrhau yn ngwyneb ei ddiffyg ynddo ei hunan, nac ymhyderu trwy adael y cwbl ar yr Arglwydd, y mae yn ymroddi i ymdrech mwy egniol. Ac fe ymddengys priodoldeb hyn, a chymmeryd ein harwain gan y drych a ddygir ger ein bron yn y testyn, ond i ni ystyried—

I. Mai perffeithrwydd ydyw y nôd yr ydym yn ein crefydd i gyrchu ato.

Nid oes dim sydd amlycach na bod yr ymdrech a gymmerir gan ddyn gyda golwg ar unrhyw beth yn cael ei benderfynu gan y nôd a rodder ganddo iddo ei hunan yn y peth hwnw ger bron ei feddwl. Os bydd y nôd yn uchel, y mae yn annelu ac yn saethu yn uchel; eithr os bydd y nôd yn isel, ni wna ond annelu a saethu yn isel. Os na bydd ond yn amcanu am ddim ond bywioliaeth gyffredin, ni chymmer y drafferth i gynllunio a llafurio i gasglu arian ac ychwanegu cyfoeth; ond os bydd wedi gwneyd ei feddwl i fyny i fyned yn gyfoethog, y mae yn dyfeisio pob cynllun, ac yn arfer pob ymdrech posibl iddo tuag at hyny. Os ychydig wybodaeth a'i boddlona, ychydig draffereth a gymmerir ganddo i'w chasglu; ond os bydd wedi penderfynu ymyryd â phob gwybodaeth, y mae yn cymmeryd pob llafur a all i'w sicrhau. Yr un modd os bydd y nôd a roddir gan ddyn iddo ei hunan gyda chrefydd yn isel, ni chymmer, ac nid rhaid iddo gymmeryd, ond ychydig ymdrech tuag at ei gyrhaedd. Ac nid oes dim braidd amlycach, gyda golwg ar liaws o broffeswyr crefydd yn ein dyddiau ni, na bod y nôd a roddir ganddynt iddynt eu hunain yn llawer iawn rhy isel. Digon gan laweroedd ydyw bod fel ereill; bod yn

ddi-sôn-am-danynt ; peidio cyflawni pechodau gwarthus cyhoeddus ; cadw eu hunain yn glir oddiwrth bob dysgyblaeth eglwysig ; a chael eu cyfrif gan eu cymmydogion yn bobl grefyddol a da. Y mae ereill yn myned ychydig yn mhellach, ac am osgoi uffern ; cadw y gydwybod rhag terfysgu ac anesmwytho yn ddirfawr ; rhoi rhyw le i'r dyn obeithio y goreu, er mewn cryn ddiofalwch, y câ beidio myned i uffern ; ond yn gymmaint a bod Duw mor drugarog, y cyrhaedda nefoedd yn y diwedd. Ond y mae yn amlwg iawn, yn ngwyneb yr Ysgrythyrau sanctaidd, nad hyn, na dim fel hyn, ydyw y nôd a gyfodir ger ein bron gan yr Anfeidrol i ni gyrchu ato. Y mae y ddeddf y mae dyn yn naturiol ac fel creadur dani, ac nas gall byth ymryddhau oddiwrthi, yn gofyn nid rhyw raddau mewn ufudd-dod, ond perffeithrwydd hollol : "Ar garu o honot yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl nerth, a'th gymmydog fel ti dy hun ;" ac nis gall cydwybod dyn lai na'i gondemnio am bob peth a gaffo ynddo islaw hyny. Y mae Duw yn gofyn y dyn yn gwbl, yn ei holl natur ac am ei holl fodolaeth, iddo ei hun. Perffeithrwydd dihalog, a hyny byth, yw gofyn Duw yn ei ddeddf oddiwrtho.

Ac yn gymmaint ag mai darpariaeth er adfer dyn i gydymffurfiad â deddf fawr ei natur ydyw yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist Iesu, ni a welwn, pan edrychwn ar amcan yr Anfeidrol yn yr iachawdwriaeth hono, mai at hyn y mae yn cyfeirio. Edrychwch arni yn y bwriadau tragywyddol, cyn bod y byd ; a hyn a welwn ni yno : "Megis yr etholodd efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd, fel y byddem yn sanctaidd ac yn ddifeius ger ei fron ef mewn cariad." "Oblegyd y rhai a rag-wybu, a ragluniodd efe hefyd i fod yn un ffurf â delw ei Fab ef." Dyma hefyd amcan mawr y Prynedigaeth ar y groes :

"Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun, yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da." "Y gwyr, cerwch eich gwragedd, megis ag y carodd Crist yr eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti; fel y sancteiddiai efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr, trwy y gair; fel y gosodai efe hi yn ogoneddus iddo ei hun, yn eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw, ond fel y byddai yn sanctaidd ac yn ddifeius." Dyma amcan yr heddwch sydd yn cael ei wneuthur rhwng y pechadur â Duw, yn y cyfiawnhad: "A chwithau, y rhai oeddech ddieithriaid, a gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg, yr awrhon hefyd a gymmododd efe yn nghorph ei gnawd ef trwy farwolaeth, i'ch cyflwyno chwi yn sanctaidd ac yn ddifeius, ac yn ddiargyhoedd, ger ei fron ef." Dyma, y mae yn amlwg, y nôd oedd yn ngolwg yr Anfeidrol gyda golwg ar ddynion yn yr oll o'r iachawdwriaeth. Ac y mae mor amlwg eto yn yr Ysgrythyrau mai dyma y nôd sydd i grefydd yn meddwl pob un sydd yn berchen arni. At hyn y mae ei holl elfenau yn cyfeirio yn enaid y credadyn. Y mae y ffydd sydd yn cysylltu yr enaid â Christ er cyfiawnhad, yn puro y galon. Y mae pob un sydd yn meddu y gobaith da, am fod yn gyffelyb i Dduw,—yn ei buro ei hun megis y mae yntau yn bur. Y mae cariad am gadw y gorchymynion, ac yn cael yn eu cadw yr hyfrydwch mwyaf. Y mae yr anian dduwiol am ei pherffeithiad mewn dianc oddiwrth y llygredigaeth sydd yn y byd trwy drachwant; yn dyheu am burdeb—cyfnewid y dyn yn raddol i'r unrhyw ddelw.

Yn awr, dyma y mae yn eglur y nôd y cyfeirir ato yn y geiriau hyn,—"adgyfodiad y meirw"—y perffeithrwydd y bydd saint yr Arglwydd wedi cyrhaedd iddo pan y cyfodir eu cyrph o'r bedd—diwrnod "prynedig-

aeth y corph"—"dydd datguddiad meibion Duw"—pan y bydd y gwaith da wedi ei gwbl orphen—llygredigaeth wedi ei ddarostwng yn llwyr—a sancteiddrwydd wedi ei berffeithio am byth yn yr enaid. "Yr hyn yr ymaflwyd ynof gan Grist Iesu"; neu, "er mwyn yr hyn." Pan ymaflodd Crist Iesu ynof yr oedd ganddo ef amcan gyda golwg arnaf; y perffeithrwydd y mae cyfaddasrwydd yn fy natur iddo, ond nad wyf eto wedi ei gyrhaedd. Eithr dyna y nôd sydd o flaen fy meddwl, dyna yr hyn yr wyf yn cyrchu ato, ac nas boddlonir fi nes ei gyrhaedd.

Yn awr, gan mai dyma y nôd sydd genym i gyrchu ato, y mae yn amlwg mai cymhelliad i ymdrech newydd ac ychwanegol a ddylai fod pob ymdeimlad o'r eiddom â'n hanmherffeithrwydd. Yn lle llwfrhau a digaloni, ymroddi i egni mwy. Darllen y Bibl yn fwy gofalus; cadw y myfyrdod yn gaethach ar bethau Duw; gweddio yn amlach ac yn daerach; gwylio yn fanylach ar y dymmer a'r geiriau; rhodio yn fwy sanctaidd; cadw yn nes yn nghymdeithas yr Iesu; edrych llai ar y pethau a welir, a mwy ar y pethau ni welir; bod â'r serch yn fwy sefydlog ar y pethau sydd uchod; yr ymarweddiad yn fwy cyson yn y nefoedd; cyfaddef yn fwy croyw mai dieithriaid a phererinion ydym ar y ddaear, a dangos yn fwy eglur ein bod yn ceisio gwlad. Cofiwn y nôd sydd genym i gyrchu ato, a chymharwn yr holl bellder a all fod rhyngom âg ef i'n cynhyrfu i ymdrech mwy am ei gyrhaedd. "A ydwyf yn mhell oddi cartref? oes ffordd llawer eto i'w theithio? Rhaid i mi gerdded yn galetach er mwyn bod adref cyn y nos. A ydwyf ar ol yn fy ngwersi? Rhaid i mi ymegnïo yn ddyfalach rhag i mi fethu diwrnod yr Arholiad." "Nid wyf yn bwrw ddarfod i mi gael gafael,—ond ydwyf yn cyrchu at y nôd."

Fe ymddengys hyn eto, os ystyriwn—

II. Mai ymdrech ydyw deddf fawr llwyddiant: "dilyn yr wyf fel y gallwyf ymaflyd; . . . . gan annghofio y pethau sydd o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen, yr ydwyf yn cyrchu at y nôd." Y mae o bwys neillduol i un a fyddo wedi gwneuthur rhyw amcan arbenig yn nôd iddo ei hunan, na byddo yn esgeuluso dim ag a fyddo yn angenrheidiol i'w sicrhau. Yn awr y mae yn ddiamheuol nad oes dim mwy, os mor, hanfodol tuag at lwyddiant gydag unrhyw beth ag ymdrech. Y mae yn sicr fod eisiau pethau ereill. Y mae eisiau ymdrech yn yr iawn gyfeiriad, a chyda moddion cyfaddas; y mae eisiau amser i ymdrech; y mae eisiau i'r amcan fod ynddo ei hunan yn gyrhaeddadwy. Ond pa mor gyrhaeddadwy bynnag fyddo yr amcan, pa mor gyfaddas bynnag fyddo y moddion, pa faint bynnag o amser a roddir i'r dyn gydag ef, aflwyddiannus a fydd efe yn y diwedd heb ymdrechu. Y mae hyny yn wirionedd gyda golwg ar bob peth y mae a wnelo dyn âg ef. Edrychwch ar lwyddiant tymhorol, gyda golwg ar amgylchiadau y fuchedd hon. Wel, y mae yn sicr fod rhagluniaeth ddwyfol yn goruwch reoli—mai Duw sydd yn gostwng y naill ac yn dyrchafu y llall, fel y gwelir eto dan haul, fel y gwelwyd gan y Pregethwr gynt, nad yw y rhedfa yn eiddo y cyflym, na'r rhyfel yn eiddo y cedyrn, na'r bwyd yn eiddo y doethion, na chyfoeth yn eiddo y pwyllog, na ffafr yn eiddo y cyfarwydd, ond fod amser a damwain yn dygwydd iddynt oll. Eto fel rheol gyffredin, yn Rhagluniaeth y Duw mawr, "Llaw y diwyd a gyfoethoga"; "Enaid y diog a ddeisyf, ac ni chaiff ddim; ond enaid y diwyd a wneir yn fras"; "Llaw y diesgeulus a deyrnasa: a llaw y twyllodrus (diog) fydd dan deyrnged." "Y neb a lafurio ei dir a ddigonir o fara, ond y neb a ganlyno oferwyr a gaiff ddigon

o dlodi." "Y diog nid ardd o herwydd oerder y gauaf, am hyny y cardota efe y cynhauaf, ac ni chaiff ddim." "Cerdda at y morgrugyn, tydi ddiogyn; edrych ar ei ffyrdd ef a bydd ddoeth: nid oes ganddo neb i'w arwain, i'w lywodraethu, nac i'w feistroli; ac er hyny y mae efe yn parotoi ei fwyd yr hâf, ac yn casglu ei luniaeth y cynhauaf. Pa hyd, ddiogyn, y gorweddi? pa bryd y cyfodi o'th gwsg? Eto ychydig gysgu, ychydig hepian, ychydig blethu dwylaw i gysgu. Felly y daw tlodi arnat fel ymdeithydd, a'th angen fel gwr arfog." Dyma ddysgeidiaeth y Bibl ar y mater, ac nid rhaid i neb ond sylwi ar y byd o'i amgylch na chenfydd ddigon o brofion o'i gwirionedd. Deddf llwyddiant ydyw ymdrech.

Dyma y ddeddf eto gyda golwg ar wybodaeth. Nid oes modd ei meddiannu heb ymdrech. Y mae athrawon yn werthfawr. Y mae rhyw fath yn y dechreu yn anhebgorol angenrheidiol. Ond nis gall yr athraw goreu yn y byd wneyd dim ond dangos, rhaid i'r dyn ei hunan edrych. Gall ef ei roddi mewn lle manteisiol i weled, ond wedi cyrhaedd yno rhaid iddo ddefnyddio ei lygaid ei hunan. Nis gall neb ymdrech drosto am wybodaeth. Fe ddywedir fod y brenhin Ptolemy wedi gofyn i Euclid, a oedd dim modd gwneyd Mesuroneg yn haws? "Na," meddai Euclid," nid oes yr un ffordd freiniol i Fesuroneg." Ac felly y mae gyda phob gwyddor. Nis gellir ei phrynu âg arian. Rhaid i'r dyn lafurio; tynu ei enaid allan; edrych yr anhawsder yn ei wyneb; peidio cymmeryd ei ddigaloni ganddo; edrych ac edrych ac edrych; ymgais fel hyn, cynnyg fel arall; gwneyd ei feddwl i fyny i beidio cymmeryd ei darfu gan unrhyw ddyryswch; dileu, fel y dywedai yr hen Charles o'r Bala, y gair anmhosibl o'i Eiriadur, yn gwbl hyderus y bydd iddo, ond ymdrechu, lwyddo. Fel

yna y llwyddodd pawb a ennillasant enwogrwydd arbenig mewn unrhyw wyddor neu gelfyddyd. Edrychwch ar Demosthenes, yn ymdrechu gwneyd ei hunan yn areithiwr. Y mae ryw fodd wedi cael y meddwl am fod felly, er y gallasid tybied fod rhwystrau naturiol anorfod yn ei ffordd tuag at hyny; yn gymmaint a bod ei lais yn nodedig o wanaidd, a bod math ar ddeilen ar ei dafod, fel nas gallasai swnio rhai llythyrenau yn groyw, a chyda hyny fod attal dywedyd poenus arno. Ond y mae wedi penderfynu ymroddi i'r amcan, ac nid oes dim ymdrech yn ormod ganddo tuag at ei gyrhaedd. Y mae yn ymgais i lanw ei feddwl â chydnabyddiaeth fanwl a helyntion amgylchiadau dinesig Athen ac â chysylltiadau Groeg â'r gwledydd cymmydogaethol. Y mae yn astudio rheolau cyfansoddiad, ac yn neillduol cyfansoddiadau llafaredig, yn y modd mwyaf manwl a gofalus. Y mae yn ysgrifenu â'i law ei hunan holl Hanes Thucydides, a hyny wyth o weithiau drosodd, er perffeithio ei arddull. Er mwyn ei gadw ei hunan gyda'i efrydiau, y mae yn eillio yn hollol un ochr i'w ben, fel nas gallai gan gywilydd fyned allan i'r heol, ac y mae yn ei gau ei hunan am fisoedd bwygilydd yn ei gell, yno yn perffeithio ei hunan yn ei gelfyddyd; y mae ganddo ddrych yno, o flaen yr hwn y mae yn siarad, er dysgu y ffurfiau gweddus i ymddangos ger bron cynnulleidfa; dyna gleddyf noeth yn crogi yn y fan yna, yn lled agos i'w ben, wedi ei ddodi ganddo yna yn fwriadol er ei attal i daflu ei fraich mewn rhyw gyfeiriad yr arferai ei thaflu, a ymddangosai iddo ef yn wrthun. Y mae yn troi pob hanes a glyw, pob chwedl a ddaw i'w glust, yn araeth, ac yn ceisio ei thraddodi iddo ei hunan yn y drych gyda'r fath fanylder, a gofal a grym, a phe buasai yn llefaru yn y farchnad gyhoeddus. Er llyfnhau ei dafod a rhwyddhau ei ymadrodd, y mae yn

arfer ei hunan i siarad â cherrig bychain llyfnion yn ei enau. Er cryfhau ei ysgyfaint a'i lais, y mae yn siarad yn uchel pan yn cerdded yn gyflym i fyny bryn serth, ac yn neillduol yn ddioed wedi cyrhaedd i'w ben. Er mwyn parotoi ei hunan i gyfarfod sŵn a chynhwrf yr Atheniaid, y mae yn arfer ei hunan i siarad yn sŵn tonau cythryblus y môr; a thrwy ymdrech fel hyn yn ddiball, ac am flynyddoedd lawer, y cyrhaeddodd efe i'r safle anrhydeddus a roddir yn awr yn gyffredinol ac yn gwbl deilwng iddo, fel pen areithiwr y byd.

Ni a allem gyfeirio, pe byddai yn angenrheidiol, er prawf o'r un peth, at ffeithiau cyffelyb mewn cysylltiad â rhai o brif areithwyr yr oesoedd diweddaraf, a rhai sydd eto yn fyw. Ymdrech ydyw deddf fawr llwyddiant. Yn awr, y mae yr un peth yn arbenig yn wirionedd mewn cysylltiad â chrefydd. Nid wyf yn dywedyd mai peth naturiol ydyw crefydd. Na, y mae yn beth goruwch-naturiol o ran ei tharddiad. Ac eto y mae o bwys cofio yn wastadol mai nid peth gwyrthiol ydyw. Nid gwyrth ydyw ail-eni pechadur; ac nid peth gwyrthiol ydyw y cynnydd a wneir gan y credadyn yn y bywyd ysbrydol. Y mae y gwaith yn cael ei ddechreu ac yn cael ei ddwyn yn mlaen nes ei orphen, nid yn unig yn gydweddol â deddfau naturiol y meddwl, ond trwy y meddwl ei hunan. Ac felly y mae ymdrech yn hanfodol iddo. Mewn llafur yma, fel yn mhob peth arall, y mae elw. Rhaid i'r dyn ei ymarfer ei hun i dduwioldeb. "Llafuriwch nid am y bwyd a dderfydd, ond am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol." "Ymdrechwch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng; canys llawer, meddaf i chwi, a geisiant fyned i mewn, ac nis gallant." "Byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr." "Gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo ef mewn tangnefedd, yn ddifrycheulyd, ac yn ddiargy-

hoedd." Dyma y wedd sydd ar grefydd yn yr holl Fibl. Y mae yn wir fod iachawdwriaeth yn gwbl o ras. Teimlad duwiolion pob oes ydyw, "Nid i ni, O Arglwydd, nid i ni, ond i'th enw dy hun dod ogoniant." A'r anthem dragywyddol fydd, "Iddo ef yr hwn a'n carodd"; ac eto nid yw o ras fel ag i gau allan ymdrech. "Dawn Duw ydyw bywyd tragywyddol"; eto, "Ymdrecha hardd-deg ymdrech y ffydd; cymmer afael ar y bywyd tragywyddol." Deddf y llwyddiant ydyw ymdrech.

Y mae hyn yn cael ei osod allan yn arbenig yn y wedd neillduol ar grefydd a gyfodir ger ein bron yn y testyn: ymdrech y rhedegwr ar yr yrfa; ac ar yr yrfa, i ennill y gamp, nid oes dim a wna yn lle *rhedeg*. Nid esgeiriau cryfion,—*rhedeg*. Nid gwybod deddfau yr yrfa,—*rhedeg*. Nid deall hyd yr yrfa,—*rhedeg*. Nid gwybod pwy fu ar yr yrfa o'r blaen,—*rhedeg*. Nid gwybod enwau yr holl rai a goronwyd fel buddugwyr trwy yr holl oesoedd,—*rhedeg*. Nid cymeriad dichlynaidd yn y wlad,—*rhedeg*. Nid dysgeidiaeth uchel yn yr ysgolion,—*rhedeg*. Nid gwaedoliaeth anrhydeddus,—*rhedeg*. Nid bod yn fab i un a fu yn fuddugol o'r blaen; na, nid oes dim a wna y tro yn lle *rhedeg*. Nid oes dim a etyb y dyben er llai o redeg. Rhedeg yn unig ydyw deddf llwyddiant ar yr yrfa. Ac nid gwaith esmwyth oedd rhedeg. Y mae holl egni y dyn yn cael ei dynu allan i redeg. Y mae wedi bod am fisoedd yn ei gymhwyso ei hunan ar gyfer y rhedeg. Yn gofalu am y cymmedrolder mwyaf mewn bwyta ac yfed a chysgu a moethau. Y mae wedi bod yn rhedeg laweroedd o weithiau o'r blaen ar gyfer y rhedeg heddyw. Ac edrychwch arno, yn taflu ei freichiau yn mlaen; yn tynu ei holl gorph rhagddo; ac â chymmaint o yni ag a berthyn i'w natur yn rhedeg fel y caffo afael. Beth

ydyw hynyna? Darlun ysbrydoliaeth o'r dyn sydd yn myned i'r nefoedd.

Ac y mae yna, nid yn unig ymdrech, ond ymdrech cyson, gwastadol. Nid rhedeg ychydig, ac yna troi yn ol i sylwi gyda boddlonrwydd ar y tir yr aeth drosto. Nage; "Annghofio y pethau sydd o'r tu cefn." Nid edrych ar y golygfeydd cylchynol—ar y lluoedd sydd yna â'u llygaid arno ar yr yrfa; nage,—*rhedeg*. Nid rhedeg am ychydig yn dda, ac yna eistedd neu orwedd i orphwyso; nage,—rhedeg. Nid rhedeg a cherdded bob yn ail; nage,—rhedeg diball, rhedeg cyson nes cyrhaedd y terfyn. Beth yw y gwirionedd a ddysgir? Beth? Rhaid i chwi, os ydych am gyrhaedd y nôd ac ennill y gamp, ymroddi yn gyson i fywyd duwiol. Nid crefydd yn y Sassiwn, ac annghrefydd yn y ffair. Nid duwiol iawn ar y Sabbath, ond mor annuwiol ddydd Mercher yn y farchnad. Nid crefydd yn y capel, a rhywbeth arall yn y tŷ, neu yn y gweithdŷ, neu ar y maes. Nid cam heddyw tua'r nefoedd, a dau yfory tuag uffern; ond ymroddi i grefydd yn wastadol, ac yn mhob man. "Oliver," meddai Carlyle, wrth son am Cromwell wedi ei droedigaeth,—"Oliver was henceforth a Christian man; believed in God, not on Sundays only, but on all days, in all places, and in all cases."*

Rhaid hefyd i'r ymdrech fod yn barhaus; rhaid rhedeg i'r pen; rhedeg nes gorphen yr yrfa; rhedeg nes cyrhaedd y nôd. Nid y rhedegwr da am ran o'r yrfa, nac am y rhan fwyaf, sydd yn cael ei goroni, oddieithr iddo barhau hyd y diwedd. "Chwi a redasoch yn dda; pwy a'ch rhwystrodd chwi?" "Fe'n gwnaed ni yn gyfranogion o Grist, os daliwn ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd." "A chwithau a gymmododd efe, . . . . os ydych yn parhau yn y ffydd, wedi eich seilio

* *Letters and Speeches*, Vol. I., page 52.

a'ch sicrhau, ac heb eich symmud oddiwrth obaith yr efengyl."

Ond yn awr, gan mai hyn ydyw deddf llwyddiant, nid oes achos i neb anobeithio, pa mor ddiffygiol bynnag y gall ei deimlo ei hunan. Nis gall neb aflwyddo yma ond iddo ymdrechu. "Pob un sydd yn gofyn sydd yn derbyn." Pob un; pob un; pob un. Y cwestiwn i gyd ydyw, a yw ef yn gofyn. Nid y mawr, nid y doniol, nid y parchus, nid y dysgedig, nid yr un sydd o deulu duwiol,—"pob un sydd yn gofyn, sydd yn derbyn; a'r hwn sydd yn ceisio sydd yn cael; ac i'r hwn sydd yn curo, yr agorir." Peidiwch llwfrhau oblegyd eich hanmherffeithrwydd, ond defnyddiwch ef yn gymhelliad i ymdrech, oblegyd ymdrech ydyw deddf llwyddiant. "Nid wyf fi yn bwrw ddarfod i mi gael gafael: ond un peth, gan annghofio y pethau sydd o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen, yr ydwyf yn cyrchu at y nôd, am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu."

---

# PREGETH XII.*

## YSBRYD FFYDD YN YR EFENGYL YN GYMHWYSDER I'W GWEINIDOGAETH.

2 COR. iv. 13.

"*A chan fod gennym yr un ysbryd ffydd, yn ol yr hyn a ysgrifenwyd, Credais, am hyny y lleferais; yr ydym ninnau hefyd yn credu, ac am hynny yn llefaru.*"

Mae y geiriau hyn yn cael eu dwyn i mewn yma gan yr Apostol, er mwyn egluro yr ymroddiad, yr ymdrech, a'r gwroldeb a ddangosid ganddo yn y cyflawniad o'r weinidogaeth a ymddiriedasid iddo, er yr erlidiau trymion a ddioddefid ganddo mewn cysylltiad â hi. Yr oedd yr erlidiau hyny yn fawrion iawn. Y mae yr Apostol yn defnyddio y geiriau cryfaf er eu gosod allan; ac y mae yn sicr nad oedd un tuedd ynddo ef i'w gosod allan yn fwy nag oeddent: "Gan gylch-arwain—gan gludo o amgylch—yn y corph bob amser farweiddiad yr Arglwydd Iesu." "Yr wyf yn teimlo fy mod âg angeu fel angeu yr Arglwydd Iesu,—angeu treisiol, angeu trwy ddwylaw dynion drygionus ac annuwiol,—yn mhob man yn fy nilyn. Y mae yr erlidiau mor drymion ac mor gyson, fel yr wyf beunydd megis ar fin trancedigaeth; ac eto, yn gwbl groes i amcanion fy erlidwyr, y mae y gwaredigaethau hynod ydwyf yn gael o ganol y fath

* Traddodwyd y Bregeth hon yn Nghymdeithasfa Llanerchymedd, Mehefin 16eg, 1887, ar Ordeiniad Un-ar-bymtheg o Weinidogion,—sef Mri. Robert Williams, Nantgwytheyrn; R. D. Rowland, Caernarfon; Robert Griffith, Dinbych; William Owen, Bodffari; Edward Pierce, Trelogan; Thomas M. Jones, Bagillt; W. Williams, Helygain; Robert Williams, M.A., Corwen; John Owen, Abergynolwyn; John Evans, Llanfachraeth; E. Vaughan Humphreys, Bont-ddu; T. E. Roberts, M.A., Croesor; John Williams, B.A., Festiniog; R. O. Morris, M.A., Trallwm; John Roberts, Huyton Quarry; ac Owen Jones, Spennymoor.

beryglon, a'r cysur cryf wyf yn fwynhau er fy holl ddioddefiadau, yn gwasanaethu i mi fy hunan, ac i ereill a sylwont arnaf, i 'egluro bywyd Iesu'; yn ddigon o brawf ei fod ef yn fyw, ac mewn gallu ac awdurdod i ofalu am danaf, ac i weini y fath waredigaethau rhyfedd i mi: 'fel yr eglurer hefyd fywyd Iesu yn ein corph ni.'" Ac yna y mae yn myned rhagddo i egluro yn fanylach yr hyn a ddywedasid ganddo yn y geiriau blaenorol: "Canys yr ydys yn ein rhoddi ni, y rhai ydym yn fyw, yn wastad i farwolaeth er mwyn Iesu." "Yr ydwyf wedi dywedyd ein bod 'yn cludo o amgylch yn y corph bob amser farweiddiad yr Arglwydd Iesu,'—farwolaethiad o nodwedd gyffelyb i'r eiddo ef; ac felly mewn gwirionedd yr ydwyf: canys y mae y fath ymosodiadau yn cael eu gwneuthur arnaf fi, a'm brodyr ereill, 'y rhai ydym yn fyw'; y mae rhai eisoes wedi eu cymmeryd ymaith; y mae Stephan wedi ei labyddio; y mae Iago wedi ei ladd â'r cleddyf; ond yr ydym ni eto 'yn fyw.' Eithr bywyd yn nghanol marwolaeth ydyw. Yr ydwyf mewn marwolaethau yn fynych; beunydd yn marw; ac y mae y cwbl 'er mwyn Iesu,' o achos yr Iesu; oblegyd fy nghysylltiad â'r Efengyl am dano ef, a'm hymdrech yn mhlaid ei llwyddiant. Ond y mae hyn oll yn effeithio er dwyn yn amlycach i'r goleu 'fywyd Iesu yn fy marwol gnawd i.' Yn y cynhaliaeth wyf yn gael, yn y cysur wyf yn fwynhau, yn y nerth rhyfedd a roddir i mi yn y cyflawniad o'm gweinidogaeth, y mae y prawf beunydd yn cael ei roddi fod Iesu yn fyw, i ofalu am ei bobl ac am ei achos. 'Felly, y mae angeu yn gweithio ynom ni, ac einioes ynoch chwithau.' Er mai gwanhau y mae fy natur, a bod fy nerth yn raddol yn pallu, ac arwyddion sicr yn amlhau ynof fy hunan fod angeu yn nesâu ataf, a'i fod yn wir yn gweithio eisoes yn fy nghyfansoddiad, eto y mae hyn oll yn fantais i chwi; y

mae, yr wyf yn hyderu, 'yn gweithio *cinioes* ynoch chwi.' Y mae yr ymröad hwn i'r Efengyl, y galluogir ni i'w arddangos dan y fath amgylchiadau, yn gymhorth i chwi i weled y rhinwedd a berthyn i, ac sydd yn deilliaw oddiwrth, fywyd yr Iesu, yr hwn sydd yn ein cynnal, ac felly yn foddion er ychwanegu at nerth eich bywyd ysbrydol chwithau."

Ac yna, yn y testyn, y mae yn rhoddi y rheswm oedd yn ei gymmell i'r ymröad a ddangosid ganddo i'w lafur gweinidogaethol, er yr holl ymosodiadau a wneid arno, a'r holl beryglon yr oedd yn agored iddynt: "A chan," neu yn hytrach, "Eithr gan fod genym yr un ysbryd ffydd." "Er bod fy nioddefiadau yn gyfryw ag i'm sicrhau mai marwolaeth, a hyny nas gwn pa mor fuan, fydd y canlyniad iddynt, eto nid ydwyf mewn un modd am roddi heibio, na lleihau dim yn fy llafur; oblegyd y mae rhywbeth ynof yn fy nghymmell i'r gwaith." Wrth "ysbryd ffydd," y mae amryw esbonwyr cyfrifol, megis Meyer, yn deall yr Ysbryd Glân, megis awdwr ffydd. Ond y mae yn ymddangos i mi yn debycach fod y gair "*ysbryd*" i'w gymmeryd yn arwyddo yr ansawdd meddwl, a nodir yma, oedd yn ei lywodraethu. Y mae hwna yn ystyr cyffredin i'r gair yn y Testament Newydd, megis, "Ni wyddoch o ba *ysbryd* yr ydych." Weithiau y mae yn cael ei ddefnyddio am ansawdd ansanctaidd a drwg: megis, "*ysbryd* cyfeiliorni," "*ysbryd* y byd," a'r cyffelyb. Ond gan amlaf mewn ystyr dda: megis, "ysbryd doethineb a deall, ysbryd gwybodaeth ac ofn yr Arglwydd"; "ysbryd nerth a chariad a phwyll," "ysbryd addfwynder," "ysbryd mabwysiad," &c. Ac felly yma,—"ysbryd ffydd"; ansawdd ffyddiog, grediniol, ar y meddwl; parodrwydd i dderbyn gyda gostyngeiddrwydd calon y dystiolaeth ddwyfol, ac i ymddiried gyda hyder tawel yn y doethineb a'r gofal

dwyfol. Wrth yr "*un* ysbryd ffydd," y mae rhai, megis Estius a Bengel, yn deall yr un ysbryd ag a dybid ganddo oedd yn y rhai a annerchai, am y rhai y dywedai fod y dioddefiadau ag oeddent yn gweithio angeu ynddo ef, yn gweithio bywyd ynddynt hwy; ac felly mai y meddwl yw, fod yr un ysbryd ffydd ganddo yntau yn ei gymmell i lefaru, ag oedd ganddynt hwythau er eu galluogi i dynu maeth a chynhaliaeth i'w bywyd ysbrydol oddiwrth ei ddioddefiadau ef. Eithr yn gymmaint ag nad ydyw wedi son un gair am eu ffydd hwy, y mae yn dra annhebyg mai dyna ydyw yr ystyr. Y meddwl, yn hytrach, ydyw "yr un ysbryd ffydd" ag a osodir allan yn y geiriau a ddyfynir ganddo: "yn ol yr hyn a ysgrifenwyd," yn cyfateb i'r hyn a ysgrifenwyd, "Credais, am hyny y lleferais." Y mae y geiriau yn cael eu dyfynu allan o Psalm cxvi. 10. Y mae yn hawdd gweled i'r Psalm gael ei chyfansoddi wedi adferiad yr awdwr sanctaidd o ryw gystudd trwm, a thrwm iawn, y buasai yn dioddef oddiwrtho: pan oedd "gofidion angeu wedi ei gylchynu, gofidiau y bedd wedi ei ddal, a'i enaid mewn ing a blinder." Yn y cystudd hwnw, yr oedd wedi nesâu at yr Arglwydd, gyda theimlad dwys, i lefain am arbediad; ac fe wrandawodd yr Arglwydd ar ei lef a'i weddiau; gwaredwyd ei enaid oddiwrth angeu, ei lygaid oddiwrth ddagrau, a'i draed rhag llithro o dir y rhai byw, ac adferwyd ef, dybygid, i'w iechyd a'i nerth arferol; ac y mae y Psalm wedi ei bwriadu ganddo yn gydnabyddiaeth ddiolchgar i'r Arglwydd am y waredigaeth fawr a gawsai. Er fod yn hawdd gweled fod rhyw gyffelybrwydd rhwng yr amgylchiadau yr oedd yr Apostol y pryd hwn ynddynt, â'r amgylchiadau yr oedd y Psalmydd ynddynt ar yr achlysur y cyfansoddwyd y Psalm ganddo, eto nid ydym i'w ddeall yn amcanu gwneuthur un gymhariaeth

rhyngddynt â'u gilydd, oddieithr yn unig yn y peth hwn a nodir yn bendant ganddo: "Credais, am hyny y lleferais; yr ydym ninau hefyd yn credu, ac am hyny yn llefaru." Mae yr Apostol yn dyfynu y geiriau yn ol cyfieithiad y Deg-a-Thriugain, ac er fod y beirniaid yn gyffredin yn dadleu nad ydynt yn rhoddi allan yn hollol ystyr y testyn gwreiddiol, eto, tra nad oes prin ddau o honynt yn cytuno ar yr ystyr hono, y maent oll yn cytuno fod y syniad i fesur yr un—sef fod y llefaru yn canlyn y credu. Dichon fod credu y Psalmydd yn cyfeirio at ei ffydd yn ngallu yr Arglwydd i'w waredu o'r cyfyngder yr oedd ynddo, a hyny yn peri iddo, pan yn cael ei gystuddio yn ddirfawr, lefaru yn daer mewn gweddi ger ei fron am arbediad. Yn awr, meddai yr Apostol, yr un peth sydd yn cyfrif am fy ymdrech inau gyda'r Efengyl: "Yr ydym ninau hefyd yn credu, ac am hyny yn llefaru."

Mae y gair a ddarllenir "*llefaru*" yma, yn ei ystyr gyntaf, yn arwyddo siarad, siarad yn rhydd, ymddyddan rhydd ar yr aelwyd neu rhwng dau gyfaill. Eithr y mae yn cael ei ddefnyddio yn fynych yn y Testament Newydd am lefaru yn fwy ffurfiol a threfnus, cyfarch cynnulleidfa, neu bregethu. Y mae weithiau, yn ein cyfieithiad ni, yn cael ei ddarllen "pregethu;" megis, "Efe a bregethodd y gair iddynt hwy" (Marc ii. 2); "a attolygasant gael pregethu y geiriau hyn iddynt y Sabbath nesaf" (Act. xiii. 42): "ac wedi pregethu y gair yn Perga" (Act. xiv. 25); "a gwarafun iddynt gan yr Ysbryd Glân bregethu y gair yn Asia" (Act. xvi. 6); ac y mae yn sicr ei fod i'w ddeall yn yr un ystyr mewn lliaws o fanau ereill. Dyma, yn wir, y gair cyffredin yn y Testament Newydd am lefaru cyhoeddus ein Harglwydd a'i Apostolion; ac yn yr ystyr yna, yn ddiammeu, y mae i'w ddeall yn y testyn hwn: "Yr ydym ninau hefyd yn

credu, ac am hyny yn llefaru." Ni ddywedir ganddo yma yn uniongyrchol pa beth yr oedd yn ei gredu. Y mae rhai esbonwyr cyfrifol yn tybied mai hyny a osodir allan ganddo yn yr adnod ganlynol: "Gan wybod y bydd i'r hwn a gyfododd yr Arglwydd Iesu, ein cyfodi ninau hefyd trwy Iesu, a'n gosod ger bron gyda chwi." Y mae yn ddiammeu fod ei grediniaeth yn cynnwys hyny; ond nid oes angenrheidrwydd am ei chyfyngu i hyny: yn hytrach y mae yn cymmeryd i mewn yr oll a leferid ganddo, yr holl Efengyl ag yr ymddiriedasid ei gweinidogaeth iddo, ac y bu efe, er yr holl wrthwynebiadau y cyfarfu â hwynt, mor gysegredig iddi a llwyddiannus ynddi.

Yn awr, anwyl frodyr, y mae yr un weinidogaeth wedi ei hymddiried i chwithau. Y mae Pen yr eglwys ei hunan, mi a obeithiaf, wedi eich galw iddi; y mae yr Eglwys, pa fodd bynnag, y dydd hwn, wedi eich gosod yn gyhoeddus ynddi; ac yr ydych chwithau, yn y modd mwyaf difrifol, wedi ymgymmeryd â hi. Yn awr, dyna eich cymeriad ger bron y byd; gweinidogion Duw; cenhadau dros Grist; rhai wedi eich cysegru eich hunain o ran proffes i wasanaethu Duw yn Efengyl ei Fab ef. A chan y gosodwyd arnaf fi roddi gair o gynghor i chwi, yn ol ein harfer, ar yr achlysur pwysig hwn yn eich hanes, nis gallwn feddwl am ddim mwy cyfaddas i'ch hamgylchiad, a chyda golwg ar y gwaith y neillduwyd chwi yn awr iddo, na'r un a gyflwynir ger ein bron yn y geiriau a ddarllenais megis testyn, ac y dymunwn yn neillduol eich sylw ato:—YSBRYD FFYDD YN YR EFENGYL FEL CYMHWYSDER ARBENIG I'W GWEINIDOGAETH HI. Ac ni a allwn edrych arno felly mewn amryw ystyriaethau:—

I. Ysbryd ffydd yn unig a'ch galluoga i gyrhaedd dirnadaeth gywir o ystyr yr Efengyl. Y mae yn amlwg

mai yr Efengyl yw testyn y weinidogaeth. Gweinidogaeth yr Efengyl ydyw. Gweinidogaeth bersonol Iesu Grist ei hunan ydoedd, "Edifarhewch a chredwch yr Efengyl;" "pregethu Efengyl y deyrnas." A phan yn gadael y byd, ei orchymyn diweddaf i'w Apostolion ydoedd, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr Efengyl i bob creadur." A'r hyn y mae yn wneyd â'r rhai oll a gyfrifir ganddo yn ffyddlawn, ac a osodir ganddo yn y weinidogaeth, ydyw ymddiried iddynt am yr Efengyl; a theimlad pob un o honynt pan yn ei le ydyw, "Gwae fydd i mi oni phregethaf yr Efengyl." Yr *Efengyl:* nid hanesiaeth; nid athroniaeth; nid gwleidyddiaeth; nid moesoldeb. Hon ydyw "gallu Duw er iachawdwriaeth." "Gair yr iachawdwriaeth;" "Efengyl iachawdwriaeth" ydyw. Yn awr, tuag at gyflawniad priodol o'i gweinidogaeth hi, y mae yn gwbl angenrheidiol cael dirnadaeth o'i hystyr hi. Ac y mae y Duw mawr wedi rhoddi i ni ddatguddiad cyflawn a chywir o honi yn yr Ysgrythyrau sanctaidd. Dyna ydyw y Bibl,—meddwl Duw—meddwl Duw ei hunan, am ffordd cadwedigaeth; y datguddiad a roddwyd ganddo o'i ewyllys rasol gyda golwg ar drefn cadw trwy yr Arglwydd Iesu Grist, yn gystal a'r cymhelliadau a gyflwynir ganddo ger bron dynion i wneuthur derbyniad o honi er bywyd ac iachawdwriaeth iddynt eu hunain. Pregethu yr Efengyl, gan hyny, ydyw pregethu y Gair; eglurhau y Gair trwy bregethu; pregethu y gwirioneddau pwysig a gwerthfawr a gogoneddus ag sydd yn cael eu gosod allan yn y datguddiad a roddes yr Arglwydd i ni o honynt, a hyny yn eu perthynas uniongyrchol â'r rhai y pregether hwynt iddynt, ac fel unig foddion eu hiachawdwriaeth. Dirnadaeth gywir o ystyr y datguddiad yn unig a all roddi dirnadaeth gywir o ystyr yr Efengyl.

Nid ydych i esgeuluso dim a all fod o unrhyw fantais

i chwi i hyny. Dygwch bob peth a'r a alloch dan ddarostyngiad i hyny. Olrheiniwch yr amgylchiadau dan ba rai y rhoddwyd y datguddiad neillduol fyddo genych dan sylw; ymgydnabyddwch âg ansawdd meddyliau y rhai y rhoddwyd ef yn gyntaf iddynt; astudiwch nodweddau arbenig, a dulliaith neillduol y sawl y rhoddwyd y datguddiad trwyddo; ceisiwch allan yr amcan uniongyrchol oedd ganddo ar y pryd mewn golwg; mynwch wybod ystyr fanwl a phendant y geiriau a ddefnyddir ganddo; craffwch ar gysylltiad naturiol a phriodol y geiriau a'r brawddegau â'u gilydd, yn eu perthynas â'r amcan, yr ydych wedi eich boddloni eisoes, oedd mewn golwg gan yr awdwr ar y pryd; ymboenwch i wybod pob peth a fyddo yn fantais i chwi i fyned i mewn i'r meddwl dwyfol—meddwl yr Ysbryd —yn yr adran neillduol fyddo genych dan sylw; dygwch bob peth, hyd ag y galloch, dan deyrnged i'r Efengyl. Eithr mi a ddymunwn adael yr argyhoeddiad yn ddwfn yn eich meddyliau na bydd y cwbl yn y diwedd ond hollol annigonol er eich galluogi i'w dirnad hi heb "ysbryd ffydd." Y mae ei gwirioneddau hi oll yn ysbrydol. Nid pethau y synwyrau corphorol ydynt, nid pethau rheswm dynol mo honynt; nid pethau darganfyddiad dyn ydynt, ond cynnyrch datguddiad Duw. Ac fel nas gallasai rheswm eu darganfod, felly nis gall ychwaith eu dirnad. Pethau ydynt na welodd llygad, ac na chlywodd clust, ac na ddaeth i galon dyn un syniad am danynt. Y maent yn rhy uchel i'r rheswm cryfaf eu cyrhaedd; yn rhy fawrion i'r deall eangaf eu cynnwys; yn rhy ogoneddus i'r dychymyg mwyaf bywiog a barddonol eu dysgrifio; ac nid oes modd cael dirnadaeth briodol am danynt ond trwy ffydd—dirnadaeth ysbrydol. "Duw a'u heglurodd i ni trwy ei Ysbryd." "Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd

Duw: canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegyd yn ysbrydol y bernir hwynt." "Nis gall eu gwybod." Nid na all wybod rhyw bethau am danynt: gall wybod trwy glywed; gwybod eu hanes; gwybod eu ffurfiau; gwybod eu gwisg. Ond y mae yna rhyw weddau arnynt, "nis gall eu gwybod"; eu gogoniant; eu gwerth; eu perthynas uniongyrchol âg ef ei hunan; eu haddasrwydd perffaith ar gyfer ei amgylchiad; ac yn arbenig y llawenydd annhraethadwy a gogoneddus a brofir gan y credadyn yn ei enaid ei hunan trwyddynt; y mae y pethau hyn oll yn gwbl guddiedig oddiwrth bawb ond perchenogion ffydd. Trwy gredu yr Efengyl, trwy dderbyn ei gwirioneddau dwyfol i'r meddwl, a gadael yr holl enaid yn rhydd ac yn agored i'w dylanwad, yn unig y gellir cael dirnadaeth briodol am ei hystyr hi.

Y mae ffydd, yn ol trefn natur, yn myned o flaen gwybodaeth. Yr ydym yn cael Aristotle* yn dysgu hyny. Pa fodd y mae y plentyn bychan yna yn dyfod i wybod y llythyrenau, ac i'w gwahaniaethu oddiwrth eu *gilydd?* pa fodd hefyd? ond trwy gredu y fam, neu y tad, neu yr athraw, sydd yn ei addysgu. Trwy gredu y mae yn gwybod mai y wraig yna yw ei fam; mai y gwr yna ydyw ei dad; fod y bachgen yna yn frawd, a'r eneth yna yn chwaer iddo. Y mae yn credu nid oblegyd ei fod yn gwybod, ond yn gwybod oblegyd ei fod yn credu. Y mae yn sicr y gwybod fod ei fam yn ei addysgu, ac yn gwybod ystyr yr hyn a ddysgir ganddi; ond y mae y wybodaeth hono drachefn yn gorwedd ar ryw gredu blaenorol; ac y mae hanfod y wybodaeth a ddysgir yn awr ganddo, yn dyfod iddo yn unig trwy ffydd. Yr un modd yr ydym yn cael yr Ysgrythyrau yn ein dysgu am ein gwybodaeth o bethau dwyfol.

* *Sophistici Elenchi*, cap. 2.

"Wrth ffydd yr ydym *yn deall* wneuthur y bydoedd trwy air Duw." Yn ganlynol, y cymhwysder i ddeall ydyw "ysbryd ffydd." "I ti," meddai ein Harglwydd, "yr ydwyf yn diolch, O Dad, Arglwydd nef a daear, am i ti guddio y pethau hyn rhag y doethion a'r rhai deallus, a'u datguddio o honot i rai bychain"; i fabanod: rhai yn teimlo yn fabanaidd, rhai isel a gostyngedig, rhai diragfarn yn erbyn y gwirionedd, parod i ymostwng i'w awdurdod, ac i dderbyn oddiwrtho yr argraffiadau priodol iddo ar eu meddyliau. Ac o'r tu arall, "y rhai *digred*," y rhai di-ffydd, y mae "duw y byd hwn" yn llwyddo i "ddallu eu meddyliau, fel na thywyno iddynt lewyrch Efengyl gogoniant Crist, yr hwn yw delw Duw." Fel ag y mae cydymdeimlad â'r trallodedig yn galluogi un i fyned i mewn i ystyr ei gwynfanau, mewn modd ag a fyddai yn hollol anmhosibl i un cwbl amddifad o'r cydymdeimlad hwnw; felly y mae cydymdeimlad calon â gwirioneddau yr Efengyl, yr hyn yw "ysbryd ffydd," yn rhoddi meddwl ac ystyr a gwerth a phwys, yn y gwirioneddau hyny i'r dyn sydd yn ei feddu, ag sydd gwbl anmhosibl i bawb amddifaid o hono. Ac felly, cofiwch fod credu yr Efengyl o bwys annhraethol i chwi, nid yn unig mewn cysylltiad â'ch achos personol rhyngoch chwi eich hunain â Duw, ond hefyd ac yn neillduol, fel efrydwyr o'r Efengyl, ac fel rhai yr ymddiriedwyd iddynt am ei gweinidogaeth hi. Tuag at ddirnad pethau ffydd, y mae yn gwbl angenrheidiol meddu "ysbryd ffydd."

II. Ysbryd ffydd yn yr Efengyl ydyw y cymhelliad cryfaf i ymgysegriad i'w gweinidogaeth hi.

Dichon mai dyna oedd yn uniongyrchol yn meddwl yr Apostol pan yn dyfynu y geiriau hyn o eiddo y Psalmydd, ac yn eu cymhwyso ato ei hunan: "Credais, am hyny y lleferais; yr ydym ninau hefyd yn credu, ac

am hyny yn llefaru." "Hynyna yn unig sydd yn cyfrif am fy ymroddiad i i'r gwaith, yn ngwyneb yr erlidiau trymion a ddioddefir genyf yn y cyflawniad o hono. Gallai fod rhai, ac yr wyf yn gwybod fod rhai yn eich plith chwi, yn edrych arnaf fel wedi anmhwyllo rhyw gymmaint, ac nad oes un esboniad arall i'w roddi ar fy ymddygiad dan y fath amgylchiadau. Eithr camgymmeriad mawr yw hyny. Na,—credu y pethau yr ydwyf fi: ac y mae y pethau yn gyfryw fel nad oes modd i mi, tra yn eu credu, ymattal oddiwrth eu llefaru, gan nad beth fyddo y canlyniad."

Y mae ymgysegriad ysbryd i'r weinidogaeth yn anhebgorol tuag at gynnyrchu gweinidogaeth effeithiol. Y mae y gweinidog i deimlo mesur o argyhoeddiad ei fod yn cael ei alw at y gwaith gan Iesu Grist ei hunan. Yr ydwyf yn gobeithio nad ydych chwi yn gwbl ddibryder yn nghylch eich anfoniad ganddo ef. Y mae efe yn gwneuthur hyny y dyddiau hyn mor wirioneddol, er nad yn hollol yn yr un dull, ag yr anfonodd allan yr Apostolion cyntaf. Efe ydyw Arglwydd y cynhauaf, ac efe yn unig a all anfon gweithwyr iddo. Efe sydd yn ymddiried iddynt am y weinidogaeth. Y maent yn genhadau dros Grist, a gair y cymmod wedi ei osod ynddynt. Y mae gorchymyn eu Meistr yn eu meddyliau: "Ewch a dysgwch yr holl genhedloedd"; "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr Efengyl i bob creadur." A chan ymdeimlo â'r awdurdodiad hwn, ac â'u cyfrifoldeb yn ei wyneb, y maent yn teimlo i fesur, fel Paul, angenrhaid wedi ei osod arnynt, fel mai gwae hwynt oni phregethant yr Efengyl. Ac felly nis gallant ymattal. Pwy bynnag fyddo yn ymgais at hyny, y mae eu meddyliau wedi eu gwneyd i fyny: "Rhaid yw ufuddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion." Ond heblaw yr angenrhaid hwn arnynt oddiwrth eu hanfoniad i'r

gwaith, angenrhaid ag y gallant fod yn fynych yn amheus o berthynas iddo, yn gymmaint ag mai rhywbeth megis o'r tu allan iddynt ydyw, heb fod, fe allai, i sicrwydd ond yn unig yn ngalwad yr eglwys arnynt,—y mae yna angenrhaid arall, *tufewnol*, yn cyfodi oddiwrth yr hyn sydd genym yn awr dan sylw, "ysbryd ffydd"; crediniaeth o'r pethau: "yr ydym ninau hefyd yn credu, ac am hyny yn llefaru." "Ni allwn ni na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom." Nid nad ydynt, weithiau, yn teimlo tuedd i lwfrhau a digaloni, ac weithiau, fe ddichon, i ddywedyd fel Jeremïah, "Ni soniaf am dano ef, ac ni lefaraf am ei enw ef mwyach"; eto megis yntau, yn eu crediniaeth o'r Efengyl, y maent dan angenrhaid i lefaru: "ei air ef oedd yn fy nghalon yn llosgi fel tân, wedi ei gau o fewn fy esgyrn, a mi a flinais yn ymattal, ac ni allwn beidio" (Jer. xx. 9).

Y mae gwirioneddau yr Efengyl yn gyfryw ag sydd yn gosod angenrhaid ar y sawl a'u credont i'w llefaru. Oblegyd pa beth a ddysgir yn yr Efengyl? Pa beth? Y mae yn dysgu fod pawb yn bechaduriaid; nad oes neb cyfiawn, nac oes un; fod yr holl fyd yn gorwedd mewn drygioni, yr holl fyd dan farn Duw. Pa beth felly a gynnwysir mewn credu yr Efengyl, ond fod yr hyn a deimlir gan y dyn yn wirionedd am dano ei hun, yn wirionedd am ei frawd, am ei gymmydog, am y byd? Yn yr un goleuni ag y mae yn gweled ei golledigaeth ei hunan, y mae yn gweled hefyd fod pawb yn golledig, ac y mae yn naturiol yn dyfod i deimlo yn eu hachos, ac awydd ar ei galon i'w rhybuddio i ffoi rhag y llid a fydd. Y mae crediniaeth o'r Efengyl yn cynnwys crediniaeth fod Iesu Grist wedi dyfod i'r byd i gadw pechaduriaid, i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid, ei fod yn iawn dros bechodau yr holl fyd, fod digonolrwydd ac addasrwydd ynddo ar gyfer pawb, ei fod yn

galw ar bawb i droi ato am faddeuant ac iachawdwriaeth, gyda sicrwydd llw y Duw Mawr ei hunan y bydd iddynt gael eu derbyn ganddo. Yn ganlynol, pan y mae dyn yn gweled addasrwydd Iesu Grist fel Ceidwad iddo ei hunan, y mae yn gweled hyny mewn goleuni ag sydd yn ei ddangos yn Geidwad digonol ar gyfer byd cyfan, ac y mae awydd ar ei galon cael y byd i gyd ato. Pan y mae un yn credu yr Efengyl, y mae nid yn unig yn credu fod Iesu Grist yn Geidwad, ond mai efe yw yr unig Geidwad, nad oes iachawdwriaeth yn neb arall, nac enw arall dan y nef, wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y mae cadwedigaeth yn bosibl; nad oes neb yn dyfod at y Tad ond trwyddo ef; mai efe yw yr unig arch rhag boddi, yr unig noddfa rhag y dialydd, yr unig gysgod rhag y gawod ofnadwy, unig obaith y byd am ddianc rhag y digofaint sydd ar ddyfod. Yn awr, y mae yn anmhosibl i un gredu hyn heb fod yn awyddus i lefaru am dano, gwneuthur yr iachawdwriaeth sydd ynddo ef yn hysbys i bawb, a gwneyd ei oreu i gymmell pawb ato. Yr oedd yr Apostol Paul mor ymroddedig i hyn, fel nad oedd pob peth arall ond hollol ddibwys, mewn cymhariaeth, yn ei olwg: "Nid wyf yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniais gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu Efengyl gras Duw." "Parod wyf fi, nid i'm rhwymo yn unig, ond i farw hefyd yn Jerusalem, er mwyn enw yr Arglwydd Iesu." Dan ddylanwad crediniaeth o'r gwirioneddau mawrion sydd hanfodol i'r Efengyl, y mae yn anmhosibl peidio ymgais i'w llefaru. Yn wir, y mae ei chynnwysiad y fath fel y mae yn amheus ai ni byddai i grediniaeth sylweddol, wirioneddol, o honi effeithio er peri gwedd

newydd yn fuan iawn ar holl lafur crefyddol eglwysi ein gwlad. Fe ddywedir mai yr hyn a effeithiodd gyntaf ar feddwl y Parch. John Philip (wedi hyny Dr. Philip, ac arolygwr Cenhadaeth Llundain yn Mhenrhyn Deheuol Affrica), i'w gyflwyno ei hunan i'r gwaith cenhadol, oedd gair rhyw wr, crydd wrth ei alwedigaeth, os wyf yn cofio yn iawn, ag oedd yn gwrandaw yn gyson arno bob Sabbath yn Aberdeen, lle yr oedd efe yn weinidog poblogaidd, pan aeth Mr. Philip ato ryw ddiwrnod i'w gymmell i wneyd proffes gyhoeddus o grefydd ac ymuno â'r eglwys i gofio angeu y Gwaredwr. "Nid ydwyf fi yn credu yr Efengyl, syr," meddai y dyn. "Pa beth," meddai Mr. Philip, "ac yn gwrandaw mor astud bob Sabboth? "Yr ydwyf fi," meddai y dyn, "yn hoffi clywed siarad da, ac felly yr wyf yn dyfod i wrandaw arnoch chwi, ond nid wyf fi yn credu yr Efengyl mwy nag yr ydych chwi eich hunan yn ei chredu." "Beth," ebe Mr. Philip, "a ydych chwi yn tybied mai rhagrithio yr ydwyf gyda'r Efengyl?" "Na," meddai y dyn, "nid wyf yn dywedyd eich bod yn gwneyd hyny, ond nid wyf yn meddwl eich bod chwi, nac yr un o'r gweinidogion ereill sydd yn y dref yma, yn ei chredu yn iawn." "Paham," meddai Mr. Philip, "yr ydych yn tybied hyny am danom?" "Wel," ebai yntau, "os ydyw yr Efengyl yn wir, y mae holl Baganiaid a Mahometaniaid y byd yn golledig, ac heb un gobaith iddynt; ac a ydych chwi yn tybied pe bawn i yn credu yr Efengyl y gallwn i aros yn y dref yma, fel yr ydych chwi yn y gwahanol eglwysi yn sathru traed eich gilydd, yn pregethu i bobl sydd yn ei gwybod er pan yn blant, a miliynau y byd heb glywed dim am dani?" Fe benderfynodd Mr. Philip ar unwaith na chai neb godi yr wrthddadl yna mwy oddiwrtho ef yn erbyn yr Efengyl; fe aeth adref i'w dŷ, ac fe

ysgrifenodd lythyr at Gyfarwyddwyr Cymdeithas Genhadol Llundain yn cynnyg ei wasanaeth iddynt yn mha barth bynnag o'r byd y dewisent ei anfon iddo; fe'i derbyniwyd yn llawen ganddynt, ac fe'i hanfonwyd i Ddeheubarth Affrica, lle y bu yn llafurio am flynyddoedd lawer gydag ymröad a llwyddiant mawr. Nid wyf wrth adrodd yr hanesyn hwn mewn un modd yn tybied fod un grym yn ngwrthddadl y gwr y cyfeiriwyd ato yn erbyn cywirdeb ffydd gweinidogion yr Efengyl, hyd yn nod pan y byddant yn llawer yn yr un man, yn ei gwirionedd a'i dwyfoldeb hi: yr un pryd y mae yn amlwg ei bod yn gorphwys ar honiadau yr Efengyl ei hunan, ac yn cymmeryd yn ganiatäol fel peth hanfodol i ffydd ynddi, ymgysegriad i'w lledaeniad hi. "Yr ydym ninau hefyd yn credu, ac am hyny yn llefaru."

III. Ysbryd ffydd yn yr Efengyl yn unig a all gynnyrchu y difrifwch hwnw yn ysbryd y pregethwr ag sydd briodol i bwysfawrawgrwydd pethau ei gweinidogaeth hi.

Nid oes dim yn fwy angenrheidiol er sicrhau llwyddiant dyn gydag unrhyw amcan na'i fod yn ddifrifol gyda'r peth hwnw. Y mae hyny yn arbenig yn wirionedd am ymdrech dyn i berswadio ei gyd-ddynion i dderbyn unrhyw athrawiaeth, neu ymgymmeryd âg unrhyw anturiaeth, ag y gall fod gwrthwynebiad cryf iddi yn flaenorol yn eu meddyliau. Mewn amgylchiad felly nis gellid dysgwyl i ddynion dderbyn argyhoeddiad, os byddai dim amheuaeth yn eu meddyliau yn nghylch ffydd yr hwn a geisiai eu perswadio yn ngwirionedd yr athrawiaeth neu yn noethineb a gwerth yr anturiaeth. "Os mynwch i mi wylo," meddai un o'r hynafiaid, "wylwch eich hunan." Yr un modd, os mynwch i mi gredu, credwch eich hunan. "Pa fodd," meddai un o esgobion Llundain wrth Thomas Betterton,

y chwareuydd goreu yn ei oes, "Pa fodd yr ydych chwi yn cael y fath effaith yn y chwareudai, wrth draethu dim ond chwedlau, tra nad wyf fi a phregethwyr ereill yn cael ond ychydig neu ddim effaith yn yr eglwysi er traethu y gwirioneddau mwyaf pwysig?" "O, fy Arglwydd," meddai Betterton, "y mae yn eithaf hawdd cyfrif am hyny: yr ydym ni yn traethu chwedlau fel pe byddent wirioneddau; yr ydych chwithau yn adrodd gwirioneddau fel pe na byddent ond chwedlau." Y mae dwysder a difrifwch yn hanfodol i effeithiolrwydd.

Yn awr, y mae pethau yr Efengyl y pethau mwyaf pwysig, ac yn eu natur eu hunain y rhai mwyaf cyfaddas i gynnyrchu difrifoldeb o ddim sydd yn bod. Yn wir y mae yn anmhosibl eu credu heb deimlo yn ddifrifol, ac y mae yn anmhosibl llefaru am danynt, gan eu credu, heb adael argraff o'r difrifoldeb hwnw ar feddyliau y rhai a fyddont yn gwrando. Meddyliwch am un yn credu, ac yn gallu sylweddoli y gwirionedd am gyflwr dyn dan bechod; ei golledigaeth hollol ynddo ei hunan: y trueni ofnadwy a gynnwysir yn hyny; mai yn nhrefn yr Efengyl yn unig y mae gobaith am waredigaeth o'r cyflwr hwn; ac mai yn y byd hwn yn unig y mae cyfleusdra i hyny; a bod y fath ansicrwydd pa bryd y bydd y cyfleusdra hwnw drosodd am byth; a ellir tybied yn bosibl i un gredu y fath bethau a hyn a bod yn ddiofal a difater o berthynas iddynt? Oni byddai i'w credu ar unwaith yn ei wneyd yn ddifrifol? Ac ai ni byddai i'r difrifwch hwnw ei ddatguddio ei hunan yn edrychiad ei lygaid, yn nhôn ei lais, ac yn ei holl agweddau pan yn llefaru am danynt? Dyma y pethau, anwyl frodyr, yr ydych chwi yn eich gweinidogaeih i ymwneyd â hwynt. Pethau bywyd, pethau bywyd tragywyddol eich gwrandawyr; pethau y bydd eu derbyn yn iachawdwriaeth iddynt byth, a phethau y bydd eu gwrthod yn sicrhau iddynt

gospedigaeth drymach na phe heb eu clywed erioed. Byddwch eto yn cyfarfod â'ch gwrandawyr, ac O! gan Dduw, mynwch fod yn lân oddiwrth waed pawb oll. Na fydded i gymmaint ag un o'r rhai ag y pregethoch iddynt, feiddio cymmeryd unrhyw esgus oddiwrth ddiffyg difrifoldeb yn eich gweinidogaeth chwi dros ei wrthodiad o'r Efengyl, na chael lle i fwrw dim o fai colledigaeth ei enaid ar eich dull chwi yn cyhoeddi trefn cadwedigaeth iddo. Fe fendithiwyd Cymru â phregethwyr ag yr oedd pawb yn teimlo eu bod yn ddifrifol; ac y mae meddwl am eu cyfarfod hwy yn "y dydd hwnw," ac heb gredu yr Efengyl a gyhoeddid ganddynt gyda'r fath ddwysder teimlad, i'w hen wrandawyr yn rhywbeth annioddefol. Byddwch chwithau, anwyl frodyr, yn hyny, beth bynag, yn gyffelyb iddynt. Cymdeithaswch lawer â gwirioneddau yr Efengyl yn eu perthynas â chwi eich hunain yn bersonol. Defnyddiwch Grist Iesu trwy ffydd, bob dydd, fel Ceidwad i chwi eich hunain, fel pa beth bynnag arall all fod yn ddiffygiol ynoch, y byddoch yn hyderus eich hunain, ac y gadawoch argyhoeddiad dwfn a sefydlog yn nghydwybodau eich gwrandawyr, mai dynion yn credu ydych, ac "am hyny yn llefaru."

---

# PREGETH XIII.

## Nad Gair Ofer yw Galwad Crefydd ar Ddynion.

Deut. xxxii. 47.

"*Canys nid gair ofer yw hwn i chwi: o herwydd eich einioes chwi yw efe; a thrwy y gair hwn yr estynwch ddyddiau yn y tir yr ydych yn myned iddo dros yr Iorddonen i'w feddiannu.*"

Mae y dadleuon a ddefnyddir yn yr Ysgrythyrau sanctaidd er cymmell dynion i ymroddi i grefydd yn amrywiol, ac wedi eu bwriadu, dybygid, i gyfarfod yn uniongyrchol yr amrywiol egwyddorion a theimladau sydd yn gyffredin yn llywodraethu eu hymddygiadau tuag at wrthddrychau ereill. Weithiau fe'i cymhellir arnom fel peth sydd briodol ac iawn ynddo ei hun, gan apelio atom fel creaduriaid yn adnabod ac yn gwneyd gwahaniaeth rhwng drwg a da. Brydiau ereill y mae yn dyfod ger ein bron fel ein dyledswydd i'r Anfeidrol yn ei hawl ynom a'i awdurdod arnom, fel ein Creawdwr a'n Llywodraethwr mawr, a'n rhwymedigaeth hollol i ufudd-dod iddo. Weithiau fe'n hannogir iddi fel ein cydnabyddiaeth briodol a dyledus iddo am ei gymmwynasgarwch mawr i ni yn y trugareddau aneirif a dderbynir genym o'i law. Brydiau ereill y mae yn cael ei dwyn yn mlaen fel peth sydd ynddo ei hunan y mwyaf hyfryd a boddhäol, tra y mae annghrefydd ac annuwioldeb yn cael eu gosod allan fel y pethau sydd ynddynt eu hunain yn boenus a blinderus. Ond yn fynychaf o gwbl y mae yn cael ei chymmell arnom fel peth anhebgorol angenrheidiol er osgoi y trueni dyfnaf, ac i gyrhaedd y dedwyddwch uchaf—ysbrydol a thragy-

wyddol. A dyna y wedd, chwi a welwch ar unwaith, y mae yn cael ei chymmell arnom yn y geiriau a ddarllenwyd yn awr yn destyn: "Canys nid gair ofer yw hwn i chwi: o herwydd eich einioes chwi yw efe."

Mae y geiriau yn rhan o gyfarchiad diweddaf Moses, gwr Duw, i genedl Israel cyn ei farwolaeth. Y mae yn awr wedi eu harwain trwy yr anialwch hyd at rosydd Moab, yn agos i'r Iorddonen. Y mae y wlad yn eu golwg. Ond ni chaniateir iddo ef fyned drosodd iddi. Rhaid iddo ef esgyn i'r mynydd gerllaw a marw yno. Ond y mae yn llawn pryder yn nghylch dyfodol y genedl, ac yn defnyddio yr ychydig amser oedd ganddo i ail fyned dros y deddfau a'r barnedigaethau a roddasai yr Arglwydd iddynt trwyddo, gan eu cymmell, yn y modd mwyaf difrifol a chyda'r serchawgrwydd mwyaf, i gydymffurfio â hwynt. Y mae yn awr wedi gorphen y cwbl. Y maent wedi cael y wers ddiweddaf ganddo. Ond y mae fel yn methu eu gadael heb eu cymmell unwaith drachefn i ofalu am ufuddhau i'r datguddiad gwerthfawr a roddasid iddynt, ac i ofalu am fod yn ffyddlawn i addysgu eu plant a'r rhai a ddelent ar eu hol, trwy yr holl oesoedd, ynddo: "Meddyliwch yn eich calonau am yr holl eiriau yr ydwyf yn eu tystiolaethu wrthych heddyw." Nid digon i chwi eu clywed, na'u cofio; y mae eisiau i chwi eu troi yn ol ac yn mlaen yn eich meddyliau—eu gosod yn agos at eich calon fel peth pwysig—ymgydnabyddu â'u hystyr a phenderfynu ymddwyn yn eu hol. "Y rhai a orchymynwch i'ch plant, i edrych am wneuthur holl eiriau y gyfraith hon." Y maent yn cael eu hymddiried i chwi i'w trosglwyddo genych trwy yr oesoedd i'r rhai a ddelont ar eich ol, fel y cydymffurfiont hwythau hefyd â hwynt. Ac yna y mae y testyn yn cael ei ddwyn yn mlaen fel rheswm dros y gofal a'r ufudd-dod hwn: "Canys nid gair ofer

yw hwn i chwi." Mae gradd o anhawsder penderfynu yn hollol pa beth yn uniongyrchol a amcenir yma wrth "y gair hwn." Y mae y Saesonaeg yma yn darllen "y peth hwn"; ac y mae yn sicr fod yr un gair gwreiddiol yn cael ei ddefnyddio yn yr ystyr yna laweroedd o weithiau yn yr Hen Destament; ac, o ran y gair ei hunan, y gallai fod felly yma. Os cymmerir ef felly, gall y cyfeiriad fod at yr ufudd-dod a gymhellir arnynt, "nid peth ofer ydyw, ond eich einioes, a thrwy ufuddhau fel hyn yn unig y byddwch byw ac y ffynwch yn y wlad yr ydych yn myned iddi." Neu ynte, os cymmerir y cyfieithiad Cymraeg, â'r hwn y cytuna y Deg-a-Thri-ugain, a'r rhan fwyaf o'r cyfieithiadau, gall y cyfeiriad fod at yr holl orchymynion a roddasid i'r bobl trwy law Moses, yn cyfansoddi un gyfraith—"y gyfraith hon." Os darllenir "*peth*," y mae y cyfeiriad, fe ddichon, yn uniongyrchol at yr ufudd-dod; ond os darllenir "gair," dichon fod y cyfeiriad at y datguddiad yr oeddent i ufuddhau iddo. I'r un man, braidd, y mae y naill a'r llall yn dyfod. Yn awr, "meddyliwch yn eich calonau am y geiriau yr ydwyf yn eu tystiolaethu i chwi heddyw; y rhai a orchymynwch i'ch plant, i edrych am wneuthur holl eiriau y gyfraith hon." Y mae hyny o bwys mawr i chwi,—"Canys nid gair ofer yw hwn i chwi: o herwydd eich einioes chwi yw efe." Ar ei gadw, ar ufuddhau iddo, y mae eich einioes,—eich bywyd a'ch bod fel gwladwriaeth yn dybynu. "A thrwy y gair hwn yr estynwch ddyddiau yn y tir yr ydych yn myned iddo dros yr Iorddonen i'w feddiannu." Bydd parhad eich meddiant, fel cenedl, o'r wlad, ac estyniad oes i chwi, fel personau unigol, ynddi, yn dybynu ar y ffyddlondeb a ddangosir genych i'r "gair hwn." Os cydymffurfiwch âg ef, eich einioes yw hyny; eithr os anufuddhewch iddo, nis gallwch ddysgwyl ond marwol-

aeth. A dyna oedd natur y cyfammod rhwng yr Arglwydd â meibion Israel. Yr oedd ufudd-dod i'w ammodau yn cael ei wobrwyo yn arbenig â bendithion tymhorol; fe addewid ffyniant iddynt yn eu hamgylchiadau allanol,—ar lafur eu dwylaw, ar gnwd y maes, ar eu cawell a'u toes; ac o'r tu arall, fe'u bygythid am anufudd-dod âg aflwyddiant yn mhob peth. Yn wir, yr oedd yr holl oruchwyliaeth yn tynu ei chymhelliadau, mewn modd neillduol, oddiwrth y byd a'r bywyd hwn; llwyddiant tymhorol yn dilyn ufudd-dod, a dinystr yn canlyn anufudd-dod. "Os byddwch ewyllysgar ac ufudd, daioni y tir a fwytewch; ond os gwrthodwch, ac os anufuddhewch, â chleddyf y'ch ysir; canys genau yr Arglwydd a'i llefarodd."

Ond yr oedd ystyr uwch na bywyd naturiol ac estyniad dyddiau yn Nghanaan, yn addewid Duw, ac yn gysylltiedig âg ufudd-dod iddo; a rhywbeth annhraethol fwy pwysig na lleihad o ychydig flynyddoedd ar eu hamser a'u cysuron ar y ddaear yn gysylltiedig âg anufudd-dod. Ac yn y golygiad yna, y mae geiriau y testyn yn hollol briodol i'w cymhwyso at y datguddiad cyflawnach,—grasol a gogoneddus,—y mae yr Anfeidrol wedi roddi i ni yn yr Efengyl. Ac felly y ceisiwn, am ychydig amser, edrych arnynt yn awr. Mi a ddymunwn eich sylw yn neillduol oddiwrthynt at ddau beth,—

I. Fod dynion yn dra thueddol i edrych ar, ac i ymddwyn tuag at, grefydd fel pe na byddai ond "gair ofer."

II. Yn lle bod felly, fod y pwysfawrawgrwydd mwyaf yn perthyn iddi: "Eich einioes chwi yw efe; a thrwy y gair hwn yr estynwch ddyddiau yn y tir yr ydych yn myned iddo dros yr Iorddonen i'w feddiannu." Ond yn

I. Mae dynion yn dra thueddol i edrych ar, ac yn enwedig i ymddwyn tuag at, grefydd, fel pe na byddai ond "gair ofer."

Ac er gosod hyn allan, ni a gymmerwn y gair a ddarllenir yma "ofer," yn yr amrywiol ystyron a gawn iddo yn Ysgrythyrau yr Hen Destament.

1. Y mae llawer yn ymddwyn tuag ati fel pe byddai yn beth cwbl *ddisail*, ac *heb un* rheswm drosti. Y mae y gair "ofer" yn cael ei ddefnyddio yn fynych genym ni yn yr ystyr yna; am beth na byddo un achos am dano, na rheswm drosto. Ac yr ydym yn cael yr un gair ag a ddarllenir yma "ofer," yn ei ffurf oreiriol, yn cael ei ddefnyddio yn gwbl felly. Dyna fel y cawn ef yn Psalm vii. 4,—"Mi a waredais yr hwn sydd elyn i mi *heb achos*"—"yn elyn i mi yn ofer." Un na wnaethum erioed un niwed iddo, ac nad oes ganddo un rheswm am ei ymddygiad, un, yn wir, y dangosais tuag ato y caredigrwydd mwyaf, ac y bûm bob amser yn ffyddlawn iddo. Yn yr un ystyr y cawn ef yn cael ei ddefnyddio yn Psalm xxv. 3,—"Gwaradwydder y rhai a droseddant heb achos;"—"a droseddant yn ofer;" heb unrhyw reswm ganddynt i'w roddi dros eu hymddygiad,—yn groes i'r hawliau uchaf, ac i'r caredigrwydd mwyaf.

Yn awr, y mae lliaws yn edrych fel hyn ar grefydd. Y mae rhai—yn wir, y mae llawer—yn gwadu ei hawliau yn gwbl; yn gwadu, nid yn unig ei hawdurdod ddwyfol, ond gwirionedd hanesyddol y ffeithiau y mae yn gorphwys arnynt; yn dadleu nad ydyw ond peth heb un rheswm drosti, ac heb unrhyw sail iddi; dim ond rhywbeth yn cyfodi oddiar ryw wendid, neu ofn, neu anwybodaeth, neu benboethni,—a'i bod yn hollol annheilwng o sylw gwyddonwyr galluog a dysgedig y dyddiau presennol; nad oes un Duw uwchlaw natur, neu ar wahan oddiwrthi; fod gwyrthiau yn anmhosibl,

ac yn tybied attaliad ar ddeddfau angenrheidiol tragywyddol a digyfnewid; nad oes dim mewn dyn, ysbrydol ac anfarwol; nad ydyw byd arall ond dychymyg; barn ond breuddwyd; nad ydyw uffern ond bwbach i ddychryn plant, nefoedd ond twyll i siomi ffyliaid—"gair ofer." Ond y mae miloedd nad ydynt yn siarad neu yn synio fel hyn, yn ymddwyn tuag ati yn dra chyffelyb. Heb argyhoeddiad dwfn a dwys a gwirioneddol yn eu meddyliau o'i hawliau; yn agored i, ac yn coleddu amheuon cryfion am ei seiliau; ac felly yn byw yn ddiofal yn ei chylch.

2. Y mae llawer yn ymddwyn tuag at grefydd fel pe na byddai ond *ysgafn a dibwys a disylwedd.*

Y mae y gair a ddarllenir yma "ofer," yn cael ei ddefnyddio yn fynych yn yr ystyr yna, am rywbeth gwâg, heb ddim pwys ynddo, na sylwedd yn perthyn iddo. Dyma y gair a gawn ni yn Genesis xxxvii. 24, am y pydew y dodwyd Joseph ynddo: "A'r pydew oedd wâg, heb ddwfr ynddo." Dyma y gair yn Genesis xli. 27, am y tywysenau a welwyd gan Pharaoh yn ei freuddwyd: "Saith dywysen wâg, wedi deifio gan y dwyreinwynt"; heb ddim ynddynt, nad oedd bosibl byth cael ŷd a blawd a bara oddiwrthynt. Dyma y gair yn Barnwyr vii. 16, am y "piserau gwâg" a roddodd Gedeon yn nwylaw ei dri chan' wr,—piserau heb ddim ynddynt, yn gyfaddas i ddal y lampau o'u mewn, ac yn gwneyd digon o swn wrth eu dryllio. Dyma y gair yn 2 Bren. iv. 3, am y "llestri gweigion, nid ychydig," y gorchymynodd Eliseus i'r wraig weddw eu casglu i ddal yr olew. A'r un gair a ddefnyddir yn Esaiah xxix. 8, am y newynog yn breuddwydio ei fod yn bwyta, "a phan ddeffrô, gwâg fydd ei enaid." Y bwyta ond breuddwyd disylwedd, heb dori dim ar eisiau y creadur. A'r un modd mewn manau ereill.

Yn awr, er na cheir neb o'r rhai sydd yn cydnabod fod rhyw wirionedd yn yr Efengyl a honant, mewn cynnifer o eiriau, mai dibwys a disylwedd ydyw ei chynnwysiad, eto, y mae ymddygiadau miloedd tuag ati yn gyfryw ag sydd yn profi nad oes un argyhoeddiad yn eu meddyliau o'r pwys a berthyn iddi. Y mae y diffyg ystyriaeth o'i hawliau ; y diffyg teimlad ac ymdrech i sicrhau meddiant o honi; y flaenoriaeth arni a roddir, nid yn unig i bethau cyfreithlawn y byd hwn, ond i'w bleserau gwàg ac annuwiol, gan laweroedd, sydd yn addef ei gwirionedd ; yr esgeulusdra, gan filoedd, i wneyd ymarferiad â'r moddion i'w meddiannu ; a'r dibrisdod cyffredinol a ddangosir o honi ;—y mae y cwbl yn profi fod lliaws yn edrych arni fel peth ysgafn a dibwys a disylwedd,—fel gair ofer. Ystyriwch gymmaint a glywsoch am dani—gymmaint gymhellwyd arnoch i'w cheisio—gymmaint a ddywedwyd wrthych am y perygl o fyned o'r byd yma hebddi—a chymharwch eich ymddygiadau tuag ati â'r hyn a ddysgwyd i chwi am dani, ac a addefir genych yn ei chylch, a pha fodd y cyfrifwch am eich esgeulusiad o honi, ond eich bod heb ystyr na theimlo y pwys sydd ynddi, ac yn edrych arni fel "gair ofer ?"

3. Y mae llawer yn ymddwyn tuag at grefydd fel pe na byddai ond *diles ac anfuddiol* iddynt.

Y mae y gair a ddarllenir yma "ofer" yn fynych iawn yn cael ei ddefnyddio yn y golygiad yna. Felly pan y mae yr Arglwydd yn bygwth cenedl Israel am beidio gwrando arno, yn mhlith pethau ereill, fe ddywedir (Lev. xxvi. 16),—"A heuwch eich had yn ofer; canys eich gelynion a'i bwyty":—ni bydd dim ffrwyth arno i chwi. A thrachefn (Lev. xxvi. 20),—"A'ch cryfder a dreulir yn ofer: canys eich tir ni rydd ei gynnyrch, a choed y tir ni roddant eu ffrwyth." Er i chwi roddi eich holl

nerth yn y llafur, ni bydd ond aneffeithiol ac anfuddiol. Yn yr un ystyr y cawn y gair yn Psalm ii. 1 :—"Paham y terfysga y cenhedloedd, ac y myfyria y bobloedd beth ofer?" Peth na chyflawnir mo hono byth,—peth anobeithiol ac anmhosibl—peth y mae gallu ac awdurdod a phenderfyniad a threfn a gogoniant, "yr hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd," yn sicrhau y bydd yn aflwyddiannus. Drachefn yn Psalm lxxiii. 13 : "Diau mai yn ofer y glanhêais fy nghalon, ac y golchais fy nwylaw mewn diniweidrwydd." Yn ddifudd, yn ddielw, yn ddiennill, yr ydwyf wedi trafferthu gyda chrefydd, os fel yna y mae ; "yr annuwiol yn llwyddiannus yn y byd, yn amlhau golud"; a minau "ar hyd y dydd yn cael fy maeddu, a'm cerydd yn dyfod bob boreu." Yr un modd yn Esaiah xxx. 7 :—"Yn ddiles ac yn ofer y cynnorthwya yr Aiphtiaid." Wedi i chwi anfon eich cenhadon, trwy draul a thrafferth, gydag anrhegion i'r Aiphtiaid, er mwyn sicrhau eu cymhorth—ni bydd y cwbl ond hollol aneffeithiol ac ofer i chwi ymddiried ynddynt. Yr un modd drachefn yn Esaiah xlix. 4 :—"Yn ofer y llafuriais ; yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth." Wedi fy holl ymdrech,—ac yr wyf wedi ymdrechu nes treulio fy holl nerth,—y mae y cwbl yn hollol ddifudd. Yr wyf wedi bod yn llafurio gyda chenedl mor wàr-galed ac anufudd, fel nad yw y llafur ond ofer a diles a diffrwyth. A'r un modd yn Esaiah lv. 11 :—"Felly y bydd fy ngair, yr hwn a ddaw o'm genau : ni ddychwel ataf yn wâg"—yn ddieffaith, yn ddiles, yn ddifudd, heb wneyd fy mwriad, heb gyflawni fy amcan. Fe fydd y byd yn well o'i gael. "Yn lle drain y cyfyd ffynnidwydd, yn lle mieri y cyfyd myrtwydd"; nid "ofer" fydd.

Yn awr, y mae miloedd yn ymddwyn tuag at grefydd fel pe na byddai, yn y golygiad hwn, ond gair ofer ; fel pe na byddai dim budd, dim lles na llwyddiant, i'w gael

oddiwrthi. Y mae hi yn hòni bod yr elw mwyaf. Y mae ganddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon ac o'r hwn a fydd, ac y mae yn troi yr angeu, sydd rhwng y ddau, yn elw i'w pherchen. Y mae yn addaw i'r rhai a'i carant etifeddu sylwedd a llanw eu trysorau. Y mae coron a theyrnas yn nghadw i'w pherchenogion hi yn y nefoedd. Ac y mae dynion yn cael dylanwadu arnynt yn rhyfeddol gan obaith rhyw ennill. Y mae y dyn yn codi yn foreu, yn myned yn hwyr i gysgu, yn llafurio yn galed, yn croesi moroedd, yn anturio i wledydd pellenig, yn amddifadu ei hunan am flynyddoedd o gysuron bywyd gwareiddiedig,—er mwyn rhyw ennill; yn y posibilrwydd a'r gobaith o hyny. A ydyw yn codi yn foreu i ddarllen y Bibl? A ydyw yn ymdrech gyda Duw mewn gweddi? A yw yn ceisio crefydd gyda'r yni a'r ymroddiad y mae yn ceisio y byd? A yw yn cloddio yn ddwfn i gael gafael ar y graig? A yw yn ymdrechu am fyned i mewn trwy y porth cyfyng? A yw yn gwneyd ei oreu am ei gael ganddo ef mewn tangnefedd? Och fi! Na: nid yw yn meddwl dim am y pethau hyn. Yr oedd rhyw rai gynt, yn eu trafferth a'u llwyddiant gyda'r byd, yn siarad (Job xxi. 15),—"Pa beth ydyw yr Hollalluog, fel y gwasanaethem ef? a pha fudd fydd i ni os gweddiwn arno?"—ac ereill, mewn rhagrith gyda chrefydd, ac yn aflwyddo yn y byd, yn dywedyd (Malachi iii. 14, 15),—"Oferedd yw gwasanaethu Duw: a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef, ac er i ni rodio yn alarus ger bron Arglwydd y lluoedd? Ac yr awr hon yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig: ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd; ïe, y rhai a demtiant Dduw, a waredwyd." A lle na ddywedir geiriau fel hyn, y mae ymddygiadau miloedd fel yn dywedyd, nid mewn crefydd y mae y gwerth, ond yn y byd hwn a'i bethau.

Mor wahanol ydyw ymddygiadau dynion i ystyr yr annogaethau dwyfol: "Yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg." Ie, dyna fel y mae yr adnod yn Mat. vi. 33. Dyna fel y dywedodd Iesu Grist yn ei bregeth ar y mynydd. Ond, gadewch i ni edrych pa fodd y mae yn darllen ar dy ymddygiadau di:—"Yn gyntaf ceisiwch y pethau hyn,"—pa beth a fwytawn? pa beth a yfwn? ac â pha beth yr ymddilladwn?—cyfoeth, anrhydedd, dylanwad, "a theyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef a roddir i chwi yn ychwaneg." "Ceisiwch y pethau sydd uchod. Rhoddwch eich serch ar bethau sydd uchod, nid ar bethau sydd ar y ddaear." Ie, dyna y geiriau yn Col. iii. 1, 2. Ond ai fel yna y maent i'w darllen ar gannoedd? O nage: ond,—"Ceisiwch y pethau sydd isod. Rhoddwch eich serch ar bethau sydd isod, ac nid ar y pethau sydd yn y nefoedd." "Llafuriwch nid am y bwyd a dderfydd, ond am y bara a bery i fywyd tragywyddol." Ond, pe darllenid yn ol ymddygiadau miloedd, yr ystyr fyddai,—"Llafuriwch am y bwyd a dderfydd, ac nid am y bara a bery i fywyd tragywyddol." Y byd hwn a'i bethau, fe ellid meddwl, ydyw y cwbl sydd o werth, a chrefydd yn cael ei diystyru fel peth diles a difudd—fel "gair ofer." A dyna fi yn gadael y sylw cyntaf,—Fod dynion yn dra thueddol i edrych ar grefydd fel "gair ofer."

Yr ydym yn dyfod yn awr at y peth arall a nodwyd genym,—

II. Fod crefydd, yn lle bod yn "air ofer," a'r pwysfawrawgrwydd mwyaf yn perthyn iddi:—"Eich einioes chwi yw efe; a thrwy y gair hwn yr estynwch ddyddiau yn y tir yr ydych yn myned iddo dros yr Iorddonen i'w feddiannu."

Y pwysfawrawgrwydd mwyaf a ddywedais, a chwi a

welwch hyny, ar unwaith, oblegyd pwys bywyd ydyw,—"Eich einioes chwi yw efe." Ac fe gydnabydda pawb fod y pwys mwyaf yn hwnw. Nid oes gan ddyn ddim mor werthfawr â'i einioes. "Croen am groen," meddai Satan wrth yr Arglwydd, pan yn ymliw âg ef yn nghylch Job, "a'r hyn oll sydd gan wr a ddyry efe am ei einioes." Y mae pob bywyd yn werthfawr. Y mae y bywyd llysieuaidd felly. Gwelwch y drafferth y mae y dyn yn gymmeryd gyda'r maes yna; beth sydd ganddo mewn golwg? Ah, dim ond codi y bywydau llysieuaidd yna o'r ddaear. Ond y mae y bywyd anifeilaidd yn werthfawrocach fyrdd o weithiau na hwnyna. Mae y dyn yna, ar ol yr holl drafferth a gymmerodd i'w cynnyrchu, yn lladd miloedd a myrddiynau o'r llysiau i gynnal un fuwch—un bywyd anifeilaidd. Ond y mae y bywyd dynol yn werthfawrocach fyrdd o weithiau na hwnyna eto. Fe laddai y dyn filoedd o fywydau anifeilaidd, pe byddai yn eu meddu, i gynnal bywyd ei deulu,—i gynnal bywyd un plentyn. Ond y mae y bywyd ysbrydol,—bywyd yr enaid,—yn werthfawrocach fyth eto. Yn wir, hyn sydd yn rhoddi gwerth mawr a gwirioneddol ar fywyd naturiol dyn. Yn awr, dyma ydyw pwys a gwerth crefydd yn ein testyn: "Eich einioes chwi yw efe; a thrwy y gair hwn yr estynwch ddyddiau yn y tir yr ydych yn myned iddo dros yr Iorddonen i'w feddiannu." Ac i osod hyn allan, ni a allwn nodi tri pheth:—

1. Fod crefydd yn cynnwys y fantais oreu sydd bosibl i barhad a chysur y bywyd naturiol.

Fel creadur pechadurus y mae dyn wedi dyfod yn agored i gystuddiau ac angeu. Bywyd drwyddo oedd dyn cyn pechu. "Cyflog pechod yw marwolaeth." "Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod." Ac er, yn awr, y "gosodwyd i ddynion farw unwaith,"—a bod y gosodiad hwn yn gwbl gyffred-

inol, fel nas gall un cyflwr y byddo dyn ynddo, nac un gradd o sancteiddrwydd a gyrhaedder ganddo, gadw angeu draw, na diogelu rhag y cystuddiau sydd yn arwain i farwolaeth, a bod lliaws o rai hollol ymroddedig i grefydd â chyfansoddiadau naturiol mor weiniaid ganddynt fel y maent yn wastadol yn eiddil a nychlyd ac afiach, ac yn fynych yn marw yn ieuainc iawn; eto nid yw hyn oll yn annghytuno â'n gosodiad fod crefydd y fantais oreu i barhad a chysur y bywyd naturiol. Lle y byddo pethau ereill yn gyd-wastad, y mae crefydd yn dyfod yn elfen bwysig iawn gyda golwg ar estyniad dyddiau. Mae yn amlwg ei bod yn diogelu ei pherchen yn hollol rhag y pechodau hyny sydd yn dal cysylltiad uniongyrchol â'r cnawd, ac y mae ymroddi iddynt yn tueddu yn naturiol i ddifetha y cyfansoddiad ac i fyrhau yr oes. Y mae lliaws a fendithiwyd yn wreiddiol â chyfansoddiad naturiol cryf a defnyddiau yr iechyd goreu, ac y gallesid dysgwyl iddynt fyw i hir ddyddiau i weled daioni, trwy ymroddi i fywyd llygredig ac annuwiol wedi eu difetha eu hunain cyn hanner eu dyddiau. Pan y gwelsoch y dyn y tro cyntaf, yn lled fuan wedi iddo ddyfod o Gymru, yr oedd yn ymddangos megis iechyd ei hunan wedi ymgnawdoli; ond trwy redeg i rysedd pechadurus y dref, ymollwng i feddwdod ac anlladrwydd a nwydau cythreulig, y mae y dwylaw yn crynu, y cefn wedi crymu, y pen wedi moeli, y gwyneb wedi llwydo, y cnawd wedi curio, yr holl gyfansoddiad yn adfeiliedig; y dyn yn hen wr cyn bod yn ddeg-ar-hugain oed, ac yn marw mor wirioneddol yn ganlyniad i'w fywyd halogedig a phe buasai yn cymmeryd rhyw offeryn angeuol i'w ladd ei hunan.

Ac nid yn unig megis ag y mae yn diogelu rhag pechodau y cnawd, y mae crefydd yn fantais i barhad a chysur y bywyd naturiol, y mae felly hefyd megis ag y

mae yn lladd pechodau yr ysbryd, ac yn meithrin y rhinweddau hyny ag sydd yn bleidiol i foddlonrwydd, tawelwch, a sirioldeb meddwl. Y mae cysylltiad mor agos ac mor ddylanwadol rhwng yr enaid â'r corph fel y mae gan y teimladau a goleddir yn y fynwes, y dymher a lywodraetho yr ysbryd, y boddlonrwydd neu yr anniddigrwydd a fyddo yn y meddwl, y fath ddylanwad ar ansawdd yr iechyd, fel nad oes dim sydd sicrach na bod iechyd ysbryd yn iechyd i'r corph, a bod pa beth bynnag a dueddo i dawelwch a boddlonrwydd a sirioldeb meddwl yn tueddu hefyd i wella yr iechyd ac i estyn y dyddiau. "Ysbryd gwr a gynnal ei glefyd ef: ond ysbryd cystuddiedig, pwy a'i cyfyd?" Y mae "tristwch y byd yn gweithio angeu." "Calon lawen a wna les fel meddyginiaeth." Y mae dynion yn fynych dan ddylanwad nwydau cynhyrfus wedi eu taflu eu hunain ar unwaith i'r parlys mud, nes marw yn y fan. Yn awr, y mae crefydd yn llonyddu y meddwl, yn ei gymmedroli, ac yn ei godi i ymddiried yn yr Arglwydd, ac ymdawelu fel y mae yn gwasanaethu yn uniongyrchol er daioni i'r iechyd ac i barhad y bywyd naturiol. Ac onid oes rhywbeth yn mhrophwydoliaethau y Bibl yn awgrymu pan y bydd crefydd wedi meddiannu y byd y bydd oes dyn wedi ei hestyn? "Ni bydd o hyny allan blentyn o oed, na henafgwr, yr hwn ni chyflawnodd ei ddyddiau: canys y bachgen a fydd marw yn fab canmlwydd; ond y pechadur yn fab canmlwydd a felldithir. A hwy a adeiladant dai, ac a'u cyfaneddant; planant hefyd winllanoedd, a bwytant eu ffrwyth. Nid adeiladant hwy, fel y cyfaneddo arall; ac ni phlanant, fel y bwytäo arall: eithr megis dyddiau pren y bydd dyddiau fy mhobl; a'm hetholedigion a hir-fwynhant waith eu dwylaw." "Ni bydd o hyny allan faban o ychydig ddyddiau, na henafgwr yr hwn ni chyflawnodd

ei ddyddiau; canys yr hwn a fydd marw yn gan' mlwydd a fydd marw yn blentyn, a'r pechadur a fydd marw yn gan' mlwydd, a ystyrir dan felldith." Fel yna y mae Lowth yn darllen, ac y mae Cheyne yn cytuno âg ef. Pa fodd bynnag y cyfieithir, y mae yn amlwg mai y meddwl ydyw fod hir oes yn cael ei addaw yn y dyddiau gwynfydedig y cyfeirir atynt. Fel hyn, y mae crefydd mewn gwirionedd yn fantais i fywyd naturiol: "Eich einioes chwi yw efe."

2. Crefydd yn unig a all ddwyn dyn i feddiant o fywyd ysbrydol.

Ac, fel y sylwasom eisoes, dyma y bywyd pwysicaf a berthyn i ddyn. Nid ydyw pob bywyd islaw hwn prin yn werth ei alw yn fywyd; nid ydyw, yn wir, ond cysgod marwolaeth. Ac, yn annibynol ar grefydd, y mae dyn yn farw—yn farw yn ngwyneb deddf—yn farw o ran dedfryd. "Gan farw y byddi farw." "Cyflog pechod yw marwolaeth." Ac fel pechadur, y mae dyn yn "aros yn marwolaeth"—yn aros yn meddiant marwolaeth. Y mae gan farwolaeth hawl arno, ac y mae yn teyrnasu ynddo. Mae yn farw mewn camweddau a phechodau—yn farw i bob peth da—yn farw tuag at Dduw. Ond y mae y "gair hwn" yn cynnwys datguddiad o drefn, trefn bywyd, a thrwy dderbyn y drefn y mae achos y pechadur,—ei sefyllfa yn ngwyneb y ddeddf,—yn cael ei newid am byth: "Yr hwn y mae y Mab ganddo y mae y bywyd ganddo." "Yr hwn sydd yn gwrando fy ngair i, ac yn credu i'r hwn a'm hanfonodd i, a gaiff fywyd tragywyddol, ac ni ddaw i farn: eithr efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." Bywyd ger bron Duw, a bywyd tuag at Dduw. Bywyd yn ngwyneb cyfraith; bywyd erbyn y farn; bywyd yn nghanol gelynion; bywyd dan ddwylaw marwolaeth. Bywyd yn y diogelwch per-

ffeithiaf: "wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw." Y mae yr Anfeidrol ei hunan yn gysgod drosto. Bywyd yn dybynu ar fywyd Crist ei hunan—"Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Bywyd Crist ei hunan ydyw. "Nid myfi, ond Crist sydd yn byw ynof fi." "Eich einioes chwi yw efe."

3. Mae crefydd yn sicrhau i'w pherchen, ac yn raddol yn ei gymhwyso i fwynhau bywyd tragywyddol: "A thrwy y gair hwn yr estynwch ddyddiau yn y tir yr ydych yn myned iddo dros yr Iorddonen i'w feddiannu."

Ond y mae yn rhaid marw—rhaid gadael y byd. Dyna yr afon. Y mae lliaws o'n perthynasau agosaf, o'n cyfeillion anwylaf wedi myned iddi. Fe'u collwyd genym ni ynddi. Ond, aroswch! Nid ydynt wedi darfod am danynt. "Yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." "Estyn dyddiau yn y tir"—y wlad dda odiaeth—y Ganaan nefol.

"Byw heb wres na haul yn taro,
Byw heb ofni marw mwy."

"Nis gallant farw mwy." Angeu wedi ei basio, yn gallu edrych arno o'r tu ol iddynt; a bywyd fydd yn eu haros bellach; bywyd pur, bywyd digymmysg, bywyd diddiwedd.

# PREGETH XIV.

## LLEFERYDD Y MEIRW.

### HEB. xi. 4.

"*A thrwyddi hi y mae efe, wedi marw, yn llefaru etto.*"

Fe leferir y geiriau am Abel a'i ffydd. Y mae yr Apostol, er mwyn annog yr Hebreaid Cristionogol yr ysgrifenai atynt i lynu yn eu proffes, er yr holl ymosodiadau a wneid yn eu herbyn,—yn eu harwain at egwyddor fawr eu crefydd, trwy yr hon yr oeddent wedi cael eu bywyd, a thrwy weithrediad yr hon yr oeddent i barhau ynddo. Fel cymhelliad arnynt i'r ymlyniad hwn, trwy yr egwyddor hon, y mae yn dangos iddynt mai dyma yr egwyddor oedd wedi bod yn ysgogi y saint trwy yr holl oesoedd; ac y mae yn dilyn y rhai enwocaf o honynt, o un i un, yn ol yr hanes Ysgrythyrol am danynt, gan ddechreu gydag Abel, y cyntaf y cawn hanes uniongyrchol am gymmeradwyaeth Duw o hono. "Trwy ffydd yr offrymodd Abel i Dduw aberth rhagorach na Chain." Yr ydym yn darllen yn Genesis i'r ddau frawd ddwyn offrwm i'r Arglwydd. "A bu wedi talm o ddyddiau" (Gen. iv. 3); "yn niwedd y dyddiau,"—yn niwedd y flwyddyn, medd rhai—yn niwedd y cynhauaf; ond fe allai mai cyfeiriad sydd at y Sabbath,—yn niwedd dyddiau yr wythnos. Rywbryd wedi i'r meibion dyfu i fyny; wedi ymadael, fe allai, â thŷ eu tad, a dechreu gwasanaethu Duw drostynt eu hunain, y mae y ddau yn dyfod ar ryw adeg nodedig i offrymu i'r Arglwydd. Y mae y ddau yn offrymu yn ol yr hyn oedd ganddynt. Yr oedd Cain yn llafurio y ddaear, ac fe ddug "o ffrwyth y ddaear offrwm i'r Arglwydd." Bugail defaid oedd Abel, ac fe "ddug yntau o flaenffrwyth ei ddefaid, ac o'u brasder hwynt." Y mae yn ymddangos, wrth iaith yr

Apostol, fod ffydd Abel yn gweithredu yn netholiad ei offrwm; "efe a offrymodd aberth rhagorach na Chain," —rhagorach yn ei natur; heblaw ei fod yn dwyn y goreu a'r brasaf: "blaenffrwyth ei ddefaid, ac o'u brasder hwynt" i'w hoffrymu i'r Arglwydd. Yr oedd offrymau ac aberthau wedi eu sefydlu cyn hyn gan y Goruchaf fel rhan o'i wasanaeth a'i addoliad. Yr oedd y ddau frawd felly yn cydffurfio âg ordinhad Duw. Ond yr oedd mantais i ganfod agwedd meddwl yr addolydd yn netholiad yr offrwm a wneid ganddo. Y mae Cain yn dwyn o ffrwyth y ddaear offrwm i'r Arglwydd; offrwm priodol i greadur—yn cynnwys cydnabyddiaeth o'i ddybyniad ar y Goruchaf am fendithio llafur ei ddwylaw —ond heb gynnwys unrhyw gydnabyddiaeth o'i bechadurusrwydd, o'r diffyg ynddo ef yn y cyflawniad o'r dyledswyddau gorphwysedig arno. Ond fe "ddug Abel o flaenffrwyth ei ddefaid ac o'u brasder hwynt,"—fe ddug ef greadur i farw ar yr allor; yn ei iaith yn dywedyd,— "Yr wyf yn haeddu marw fy hunan; wele fi yn dwyn creadur i farw i gydnabod hyny; nid wyf yn ystyried fod digon o werth yn hwn yn iawn droswyf; ond yr wyf wedi clywed fy nhad yn dywedyd fod genyt drefn, trwy ryw un a alwai ef yn 'Had y wraig,' i ni, er haeddu marw, gael byw; ac yn awr yr wyf yn dyfod atat â'm haberth hwn, gan ddysgwyl fy mywyd yn haeddiant hwnw." Fe wnaeth hyn mewn ffydd. "Trwy ffydd yr offrymodd Abel i Dduw aberth rhagorach na Chain," "trwy yr hon y cafodd efe dystiolaeth ei fod yn gyfiawn, gan i Dduw ddwyn tystiolaeth i'w roddion ef." Fe "edrychodd yr Arglwydd ar Abel, ac ar ei offrwm; ond nid edrychodd efe ar Cain nac ar ei offrwm ef." Rywbryd ar ganol y gwasanaeth, pan yr oedd y ddau yno ger bron Duw, fe ddangosodd yr Arglwydd trwy ryw arwydd amlwg i'r ddau frawd, trwy, fe allai, i dân

ddisgyn o'r nef ac ysu aberth Abel; ryw fodd, ni ddywedir wrthym am y dull, fe ddangosodd yr Arglwydd ei gymmeradwyaeth o Abel: "Fe ddug Duw dystiolaeth i'w roddion ef." Pan y canfu Cain fod aberth ei frawd yn dderbyniol, ac nad oedd un arwydd o gymmeradwyaeth i'w wasanaeth ef, "fe lidiodd yn ddirfawr, fel y syrthiodd ei wyneb-pryd ef." Y mae y teimlad siomedig oblegyd gwrthodiad ei wasanaeth, yn lle troi yn ddefnydd ymchwiliad i gywirdeb ei egwyddorion, purdeb ei ddybenion, a sefyllfa ei gyflwr ei hun, yn disgyn yn ddialedd ar ei frawd diniwed; y mae yn penderfynu dwyn ymaith ei fywyd; y mae yn ei hudo i ryw le manteisiol i hyny; yn y maes fe gododd yn ei erbyn, fe'i lladdodd, a dyna Abel, yn wr ieuanc, yn cael ei hyrddio i dragywyddoldeb trwy ddwylaw gwaedlyd ei frawd ei hunan, ddylasai fod yn garedig wrtho ac y gallesid dysgwyl iddo, oblegyd ei fod ryw gymmaint yn hŷn nag ef, fod yn amddiffyn iddo. Er ei fod yn ieuanc, bu farw; er ei fod yn gyfiawn, bu farw; er i Dduw ddwyn tystiolaeth i'w roddion ef, bu farw;—ond er marw, ac er ei fod wedi marw bellach er ys miloedd o flynyddoedd, "y mae trwy ffydd yn llefaru eto." Y mae yn yr hanes Ysgrythyrol am dano yn llefaru wrth bawb a ddelont ar ei ol, trwy yr holl oesoedd ac hyd ddiwedd y byd, mai trwy ffydd, mewn ufudd-dod i osodiadau Duw yn unig y mae cael ei heddwch a'i gymmeradwyaeth. Ystyr ei leferydd, fe allai, yn uniongyrchol gyda golwg ar yr Hebreaid oedd, "Yr ydych chwithau yn cael eich erlid gan eich brodyr annghrediniol. Nid ydych allan o'r perygl i wadu y gwirionedd, a dychwel at yr hen grefydd. Ond y mae Abel yn gwaeddi arnoch i lynu yn eich proffes. 'Yr oedd fy aberth i yn rhagorach na'r eiddo fy mrawd, am fy mod yn credu yr addewid am Had y wraig, ac yn offrymu á'm gobaith am fywyd yn unig yn haeddiant hwnw.

Nid oedd fy mrawd yn gweled angen am un haeddiant ond oedd ganddo ei hun; yr oedd yn tybied fod ei galon a'i fuchedd yn gyfryw ag y gallasai esgeuluso trefn y nefoedd am ei iachawdwriaeth; ond fe brofodd, trwy fy lladd i, pa egwyddorion a'i llywodraethent. Felly y mae eich cydgenedl chwithau yn tybied eu bod yn gyfiawn, yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain ac heb ymostwng i gyfiawnder Duw; eto lladdasant y Sanct a'r Cyfiawn, ac y maent yn eich erlid chwithau hyd angeu. Ond na lwfrhewch, glynwch yn eich proffes. Er fy hyrddio i dragywdydoldeb trwy ddwylaw fy mrawd fy hunan, derbyniwyd fy aberth, cefais gymmeradwyaeth Duw; deuwch ar fy ol os bydd raid i chwi trwy ddioddef hyd angeu yn hytrach na gwadu y ffydd.'" "A thrwyddi hi y mae efe, wedi marw, yn llefaru eto."

Ond yn awr, heb wneuthur cyfeiriad pellach at Abel yn neillduol, ni a ddefnyddiwn y geiriau yn sail i alw eich ystyriaeth at—LLEFERYDD Y MEIRW.

Y mae y byw, ni a wyddom oll, yn llefaru yn uchel, ac yn aml yn fostfawr ac yn gynhyrfus. Ac er, ar ryw ystyr, mai lle dystaw iawn ydyw y bedd; lle nad oes na gwaith, na dychymyg, na gwybodaeth, na doethineb—lle nad oes llef na neb yn ateb—lle na chlywir llais y gorthrymmydd—lle y mae yr annuwiolion wedi peidio â'u cyffro; eto, ar ystyr arall, y mae ganddo iaith eglur—a llais uchel—a chenadwri bendant a phwysig, sydd yn galw am ein sylw mwyaf difrifol. Ac yn awr yr oeddwn i am eich arwain i gynnulleidfa y meirw, i wrandaw am ychydig ar eu lleferydd atoch. Ydych chwi yno? yn mro marwolaeth, uwch ben y fynwent fawr, yn ymwrandaw â'r llais sydd yn dyfod atoch o'r byd anweledig trwy byrth y bedd. Ydych chwi yn ei glywed? A ellwch chwi wneyd ystyr y swn? Dyna fo, onide? O, ïe, yn hyglyw,

I. *Y mae yn rhaid i chwithau hefyd farw.* Dyma wirionedd pwysig a gymhellir yn fynych ar ein sylw yn yr Ysgrythyrau sanctaidd. "Gosodwyd i ddynion farw unwaith." "Pa wr a fydd byw ac ni wel farwolaeth?" "Mi a wn y dygi di fi i farwolaeth, ac i'r tŷ rhagderfynedig i bob dyn byw." "Ffordd yr holl ddaear ydyw." Y bygythiad a gyhoeddid yn erbyn dyn os troseddai ydoedd, "gan farw y byddi farw"; ac wedi troseddu o hono, fe ddaeth yn ddioed i afael rhwymedigaeth i ddioddef y gospedigaeth a fygythid arno; a byth er hyny y mae marwolaeth mewn rhwysg mawr yn teyrnasu yn ein byd ni. Y mae tymhorau y flwyddyn, cyfnewidiadau bywyd, adfeiliad y llysiau a'r coed, gruddfanau a dioddefiadau a marwolaethau y creaduriaid direswm, yn arwyddion fod marwolaeth wedi gweithio ei ffordd i'n byd ni, ac yn rhyw awgrymiadau y dichon nad yw dyn yn ddiogel rhagddo. Y mae llawer cenadwri, yn rhagluniaeth y nef, yn dyfod at ddyn yn bersonol i'r un perwyl. Y mae pob cur yn y pen, pob poen yn y fron, pob gwaew yn yr ystlys, pob anhwyldeb, pob gwendid, pob anesmwythder yn y cyfansoddiad, yn rhyw ragarwyddion dattodiad y babell, adfeiliad y natur,—fod marwolaeth yn dyfod. Y mae angeu fel hyn yn taflu ei gysgod o'i flaen, ac yn tywyllu y llwybr am feithder mawr mewn cymhariaeth, cyn i'r dyn ei gyfarfod. Er hyn oll y mae rhyw duedd ryfedd mewn dyn i fyw fel pe na byddai raid iddo farw. Er nas gall wadu ei rwymedigaeth, eto ryw fodd y mae yn gallu ei anghofio; fel, er mor bendant y tystiolaethir am hyn yn y Bibl, ac er mor aml y rhybuddion a roddir iddo yn y greadigaeth o'i amgylch ac yn ei gyfansoddiad ei hunan, nad ydynt yn cael ond ychydig iawn o ddylanwad arno er peri iddo ystyried ei ddiwedd.

Ond os mynwch gael tystiolaethau pendant, cedyrn,

amlwg, o hyn, gwrandewch ar leferydd y meirw. Clywch lais Adda ac Efa a'u plant i gyd, oddieithr dau, yn cyd-dystio, oddiar eu profiadau eu hunain, y sicrwydd hwn. Ac y mae y rhifedi sydd yn llefaru yn annhraethol, miloedd o filoedd o filoedd, o bob oedran, o bob amgylchiadau, o bob cyflwr, o bob gwlad, o bob oes, o bob iaith, o bob lliw, o bob syniadau unwaith am bethau ereill, yn cyduno mewn un floedd uchel, eglur, ddiammwys, arnoch chwi sydd yma heddyw, *y mae yn rhaid i chwithau hefyd farw.* Y mae lliaws o honynt fu yn benau coronog, yn chwifio eu teyrnwïail,—rhai o honynt fu yn llywodraethu gyda rhwysg mawr—y bu y byd yn crynu gan eu hofn—Nimrod, Pharaoh, Nebuchodonozor, Alexander, Cesar, Attila, Napoleon,—fu yn diorseddu brenhinoedd, yn dymchwelyd teyrnasoedd, yn chwalu ymerodraethau—yr oedd eu hewyllys yn ddeddf, eu gair yn gyfraith—nas gomeddent iddynt eu hunain ddim a ddymunai eu llygaid—yn ymrwysgo mewn gallu oedd yn ymddangos yn anorchfygol; ond yn awr o fro marwolaeth yn gwaeddi âg un llef,—Cyfarfuasom ninau â'n trech; daeth angeu i'n hattal yn nghanol ein rhwysg; dysgwch yn ein darostyngiad ni eich cwymp eich hunain.

Yn eu plith, chwi ganfyddwch filoedd o filoedd *fu yn ymroddi i blescrau bywyd*, yn byw yn unig i'r munudyn presennol; yn eistedd i fwyta ac i yfed, ac yn cyfodi i chwareu; yn rhedeg i bob rhysedd, mewn anystyriaeth hollol o bob peth ond yr hyn a foddiai eu chwantau; yn cymmeryd byd da yn helaethwych beunydd; phiol eu mwyniant bob amser yn llawn ac yn rhedeg drosodd. Ahasuerus, Belsassar, Xerxes, Nero, Caligula, a lluoedd gyda hwynt, yn gwaeddi âg un floedd,—"Fe droed ein llawenydd yn dristwch, ein dawns yn wylofain; cymmerwch rybudd oddiwrthym ni na cheidw digrifwch

angeu draw." Yn eu plith y mae miloedd lawer *a gasglasant gyfoeth mawr, a amlhasant olud;* marsiandwyr oeddent dywysogion; yr oedd eu cyfoeth heb fesur braidd arno; eu haur a'u harian fel cerrig; yr oedd y byd yn cenfigenu wrth eu llwyddiant, a phawb yn barod i'w tybied wedi cyrhaedd pen pinacl hapusrwydd; eu palasau yn odidog, eu meusydd yn helaeth ac yn gnydfawr, eu hanifeiliaid yn dwyn miloedd a myrddiwn yn eu heolydd, eu celloedd yn llâwn yn trefnu pob rhyw luniaeth, eu llygaid yn sefyll allan gan frasder, wedi myned dros feddwl calon o gyfoeth, yn ymwisgo mewn sidan a phorphor; marsiandwyr Tyrus, Croesus, Attalus, a'u cyffelyb, y mae eu henwau yn ddiareb yn y byd am eu cyfoeth. Clywch hwynt yn gwaeddi,—"Gallasem â'n haur a'n harian brynu moethau, parch, ac awdurdod; llwgr-wobrwyasom lawer llys, ond ni chymmerai angeu yr un wobr genym; ni thyciai cyfoeth rhag marwolaeth; bu raid i ni adael ein holl olud ar ein hol; o ganol ein cyfoeth mawr wele ni heb ddim; cymmerwch rybudd oddiwrthym ni nad oes ymwared i chwithau."

Y mae miloedd yn eu plith *oedd ddoethion ar y ddaear*, fu yn treiddio i ddyfnderoedd anian, yn olrhain ei deddfau, yn ymgyfrinachu â'i dirgelion, yn ei holi â chwestiynau celyd ac yn mynu atebion ganddi, yn esgyn i'r nefoedd uchod, yn disgyn i ddyfnderoedd y ddaear isod; yn llwybro y nefoedd, yn mesur ac yn pwyso y bydoedd fry, yn datguddio gydag eglurder bethau oeddynt yn ddirgeledigaethau i bawb nes eu canfod ganddynt; dewiniaid yr Aipht, brudwyr Caldea, doethion Groeg, athronwyr yr oesoedd diweddaraf, dynion talach o fwy na'u hysgwyddau i fyny na'r cyffredin o'u cyddynion; cewri mewn gwybodaeth a dawn a doethineb. Clywch hwynt yn gwaeddi âg un llef,—"Nid yw gwybodaeth yn un amddiffyn rhag y bedd; y mae y

doeth yn marw fel yr annoeth; nid oes un ffordd i osgoi marwolaeth. Credwch ni, y mae yn rhaid i chwi farw."

Yn eu plith *y mae miloedd lawer o dduwiolion*, o blant Duw, o deulu yr Oen, o ddinasyddion y nefoedd; rhai, mewn rhyw odfa ar y ddaear, a waredwyd odditan gyfammod marw, rhai ag achos marwolaeth wedi ei dynu o'r cyflwr, rhai wedi myned trwodd o farwolaeth i fywyd; rhai i deyrnasu byth mewn bywyd trwy Iesu Grist,—eto âg un floedd ŷn tystio,—"Y mae yn rhaid i chwi farw; cymmerwch rybudd oddiwrthym ni. Bu raid i ni farw, er i Iesu farw yn ein lle, tynu colyn angeu, myned yn angeu i angeu, ac yn dranc i'r bedd; er hyny, bu raid i ni fyned dan y ddedfryd. Yr oedd y llygredigaeth wedi ymdaenu mor llwyr drwy ein natur, fel nad oedd modd ein gwaredu oddiwrtho heb ei malurio yn llwyr. Yr oedd y gwahanglwyf wedi treiddio trwy yr holl adeilad, nid oedd gobaith puro y tŷ heb dynu y muriau i lawr."

Yn lleferydd y meirw, gan hyny, chwi glywch mewn llais eglur, cryf, treiddgar, ac mewn iaith hollol ddiammwys, y sicrhad cryfaf sydd yn bosibl ei roddi o gyffredinolrwydd marwolaeth.

II. Ond wrth ymwrando ar leferydd y meirw y mae yna lais arall i'w glywed agos mor eglur, os nad mor gyffredinol a chryf. Ydych chwi wedi gwneyd yr ystyr allan? *Wyddoch chwi ddim pa bryd y byddwch chwi marw; y mae adeg eich angeu yn hollol ansicr.* Y mae hwn eto yn wirionedd a gymhellir ar ein sylw yn eglur ac yn fynych yn yr Ysgrythyrau. "Am hyny byddwch chwithau barod: canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." "Y mae Mab y dyn yn dyfod yn ddisymmwth"; "y rhai ni wyddoch beth a fydd yfory." "Nac ymffrostia o'r dydd yfory, canys ni wyddost beth a ddygwydd mewn diwrnod." "Beth yw eich einioes

chwi? tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu." Ond os ydyw dynion yn anystyriol o'r gwirionedd y rhaid iddynt farw oll, y maent yn fwy anystyriol o'r gwirionedd na wyddant pa bryd y rhaid iddynt farw. A wnewch chwi roddi clust gan hyny am funudyn i leferydd y meirw ar hyn? Dyna filoedd lawer o honynt yn y fan yna yn gwaeddi,—"Yr oeddem ni yn y boreu yn iach, ac yn gryf, yn gwbl ddifeddwl am farw, yn edrych rhagom am flynyddoedd lawer i fyw yn y byd mewn llwyddiant a chysur; ond yr oedd un o weision cryfion marwolaeth ar ei wib trwy ein gwlad,—fe'n daliwyd ninau ganddo; cyn y nos yr oeddem, trwy y geri marwol, wedi ein dal yn ngharchar angeu. Wele ni yma yn rhybudd i chwi i beidio ymddiried mewn nerth, nac iechyd, nac ieuenctyd, na dim fel amddiffyn rhag y bedd." "Ni chawsom ni," meddai miloedd lawer ereill, yn y cwr draw yna, "ddim cymmaint oediad a hynyna; daeth atom ni trwy y parlys, trwy gyfyngiad y galon, trwy ymollyngiad gewynau yr ymenydd; ac mewn amrantiad fe'n dygwyd yma. Ar y ffordd yr oeddem ni yn rhodio yn ddiofal, a phwy gyfarfyddodd â ni ond angeu. Eistedd yr oeddem ni wrth y bwrdd mewn ymddyddan â'r teulu, ond cyn ei orphen yr oeddem wedi ein gwysio o'r byd. Yr oeddem ninau wedi ein rhoddi ein hunain i orwedd yn dawel yn ein gwelyau, yn meddwl codi drannoeth fel arferol; thybiasom ni ddim nad rhoddi ein hunain i freichiau cwsg yr oeddem; fe'n cafwyd, pa fodd bynnag, yn nwylaw angeu." "Yr oeddem ni," meddai rhyw ferched ieuainc, "yn y cyfarfod llawen ar ganol y ddawns, yn yfed mwyniant o gwpan y cnawd, heb feddwl dim y gallasai angeu feiddio i'r fath le; ond yno yr ymaflodd ynom ni, a chyn i'r chwareu ddarfod, yr oeddem wedi ein taflu yma." "Yr oeddem ninau," meddai rhyw

ferched ieuainc ereill, "ar fin priodi; yr oedd gwisgoedd y briodas wedi eu gwneyd, y fodrwy wedi ei chael, pob darpariadau wedi eu gorphen,—yr oeddem wedi cytuno i ba le i fyned, yn mha dŷ i fyw, ac yn addaw mwyniant lawer am amser maith; ond yn lle modrwy a phriodas, arch, ac amdo, a bedd a gawsom ni." "Yr oeddem ni," meddai ereill, "yn llawn cynlluniau at ddefnyddioldeb gyda theyrnas yr Emmanuel." "Yr oeddwn i," meddai Dr. Thomson, "yn dychwelyd o'r cyfarfod Henaduriaethol ar neillduad gweinidog i India y Gorllewin, i wasanaethu i'r caethion oedd mor anwyl genyf; ond pan yn cydio yn y glicied i agor drws fy nhŷ, agorodd angeu ddrws tragywyddoldeb i mi."* "Yr oeddwn i," meddai Dr. Chalmers, "wedi myned i'm gwely i orphwys dros nos, yn meddwl codi drannoeth fel arferol i gynnal addoliad teuluaidd, i lafurio gydag achos yr Efengyl, gorphen *Corph o Dduwinyddiaeth*, ac *Esboniad Ymarferol* ar yr Ysgrythyrau, a rhyw orchwylion ereill yr oedd fy mryd arnynt; ond gyda fy mod wedi fy rhoddi fy hunan i orphwys, heb yn wybod i neb yn y teulu, daeth angeu ac a'm cymmerodd i blith y meirw." "Yr oeddwn inau," meddai Beaumont, "yn y pulpud, wedi dechreu y gwasanaeth, yn rhoddi hymn i'w chanu cyn pregethu; ond, ar ganol adrodd y pennill, fe fûm farw." "Yr oeddwn inau," meddai Saunders, "ar ganol pregethu, yn cymmell Iesu Grist ar fy nghynnulleidfa yn Waredwr; ond ar amrantiad, o flaen eu llygaid, mi a fûm farw." "Yr oeddwn inau," meddai rhyw un o'r fan yna, Talfourd oedd ei enw pan yn y byd, "yn y llys barnol yn eistedd ar y fainc,—myfi oedd y barnwr, yr oedd y llys wedi ei agor; yr oeddwn ar ganol traddodi y *charge* i'r *grand jury*, ond yn ddisymmwth fe'm gwysiwyd o flaen gorsedd-fainc uwch;

* Chwefror 9fed, 1831.

yno, yn y llys, ar y fainc, mi fûm farw." Nid ydych yn ddiogel yn un lle rhag ymosodiad angeu. Gellwch farw pan yn eistedd yn y tŷ, yn rhodio ar yr heol, yn cysgu yn eich ystafelloedd, yn addoli yn y gynnulleidfa, ar eich gliniau yn gweddio, yn pregethu yn y pulpud, yn barnu ar y fainc. Y mae Mab y dyn yn dyfod yn ddisymmwth,—dysgwch hyny oddiwrth y meirw.

III. Ond wrth ymwrandaw ar leferydd y meirw y mae yna lais arall i'w glywed, onid oes? yn groew ac uchel ac eglur. Ydych chwi yn ei glywed? Allwch chwi wneyd allan ei ystyr? Dyna fo, onide? *Oferedd gwneyd pethau y byd a'r bywyd hwn yn brif bethau ciniocs.* Y mae y meirw, os gallaf ddefnyddio gair felly, yn teimlo i'r byw bwys a grym y gwirionedd hwn. Y mae amgylchiadau dyn ar y ddaear yn galw am ofal priodol. Tra byddo yn y byd y mae yn sefyll mewn angen am ei bethau, ac felly yn rhwymedig i'w ddyledswyddau; a byddai yn greulawn wrtho ei hunan, yn ddifudd i'w deulu, ac yn ddiogoniant i Dduw, pe byddai iddo eu hesgeuluso. Ond y mae y gofal cymmedrol ac angenrheidiol yn myned gyda llaweroedd yn rhagofal pechadurus a niweidiol; y mae yr hyn a ddylai, yn ol ei bwys, gael rhyw gymmaint o sylw, yn myned a'r holl sylw, fel nad yw y dyn yn byw i ddim arall. Ei holl ymofyniad ydyw y bwyd, y ddiod, y dillad; y corph, y drafferth, yr amgylchiadau; y ffair, y *shop*, y fasnach; y ffarm, y da, y cnwd; y byd, y byd, y byd,—y byd y dydd, y byd y nos; y byd ddydd gwaith, y byd y Sabbath; y byd yn y ffair, y byd yn y capel; y byd mewn iechyd, y byd mewn cystudd; y mae yn llunio, yn ymboeni, yn cynllwyn, yn ymdrech, nes o'r diwedd y mae wedi myned mor llwyr dan ei feistrolaeth fel y mae yn methu mwynhau yr hyn sydd ganddo, gan awydd a thrafferth cael

ychwaneg; y mae erbyn hyn nid yn trafferthu i fyw ond yn byw i drafferthu. Y mae yr hyn a fu unwaith yn foddion ganddo erbyn hyn wedi dyfod yn amcan iddo, nes y mae y creadur yn teimlo anfoddlonrwydd i ymadael, hyd yn nod er mwyn ei gysur, ei iechyd, ïe, ei fywyd ei hunan, â'r hyn y gosododd ei fryd mor llwyr arno. Yn y cyfamser y mae yr enaid yn cael ei annghofio, y byd arall yn gwbl ddisylw ganddo; yn byw fel pe yma y byddai i fod byth, ac nad oedd gorchwyl pwysicach yn gorphwys arno na chasglu yn nghyd yr hyn na allant byth ddigoni yr enaid, ac nad oes dim cymhwysder ynddynt at hyny, ac sydd mor werthfawr bellach yn ei olwg, fel nas gall ymadael â hwynt er mwyn ei gorph ei hun. A oes rhai o'r cyfryw yma yn awr? A oes yma rai, os nad ydynt wedi myned mor hollol ag y darluniwyd yn awr dan lywodraeth yr ysbryd yna, sydd, er hyny, yn gosod gormod o fri ar y byd, a'r gydwydod yn tystiolaethu eu bod yn gwasanaethu *mammon?* Oh, nad allwn i eich arwain i'r fynwent i roddi clust am ychydig i leferydd y meirw. Nid ydwyf yn dywedyd, nac yn meddwl, mai dyna y lle goreu i ladd yr ysbryd. O, na! Y mae gwell lle o lawer tua Bethlehem, yn yr olwg ar yr hwn ac efe yn gyfoethog a ddaeth er ein mwyn ni yn dlawd,—tua Nazareth a Chapernaum, droed yn mhwll a Mab y dyn, heb le i roddi ei ben i lawr,—tua Chalfaria a'r groes; yn nghymdeithas dioddefiadau ac angeu'r Ceidwad; dyna y lle goreu i farweiddio bydolrwydd yr ysbryd, i groeshoelio y byd i chwi a chwithau i'r byd. Ond os na ellwch fyned i Galfaria, deuwch i'r fynwent; clywch leferydd y meirw. "Yr oeddem ninau unwaith heb ddim yn fawr yn ein golwg ond y byd. Nid oedd dim llafur yn ormod i'w gyrhaedd; dim ystryw yn rhy ddrwg genym i'w feddiannu; dim moddion, tebyg i fod yn

dycianol, yn annerbyniol genym er ei gael. Rhuthrem arno ar draul cysuron ereill, ar draul iawnderau ereill;—nid oedd cwynfanau gweddwon, na chri amddifaid, yn dylanwadu dim arnom er ein hattal oddiwrth ein hysglyfaeth. Rhwng pob moddion, ni a lwyddasom i gasglu cyfoeth mawr, nes oedd lliaws yn eiddigeddu tuag atom, ac yn tybied ein bod wedi cyrhaedd dedwyddwch perffaith; ac yr oeddem mor ffol ein hunain ag ymddwyn fel pe buasem i fod ar y ddaear byth, ac na buasai ysgar arnom oddiwrth yr hyn oedd mor anwyl genym. Ond erbyn heddyw, beth yw y cwbl i ni? Nis gallasom ddyfod a dim o hono yma. Bu raid i ni adael y cwbl ar ol,—y tai, y tiroedd, yr arian, y parch, y cysuron,—y cwbl;—nis gallem ddwyn dim yma. Ni wnai ein cyfoeth brynu ffafr angeu, nid oedd yn rhwyddhau dim ar yr anadl, yn tyneru dim ar ein poenau—bu raid i ni farw. Ac erbyn dyfod yma, wele ni heb ddim; er prynu, nid ydym yn meddiannu; er bod unwaith yn uchel, wele ni yn awr yn isel; ni a fuom yn byw mewn palasau, ond heddyw y bedd sydd dŷ i ni; ni fuom yn ymrwysgo mewn golud, ond nid oes yma neb yn waelach eu gwedd; ni fuom yn cael ac yn cymmeryd byd da, yn helaethwych beunydd, ond wele ni yn awr yn ymborth i bryfaid,—ac nid yw y rhai hyny yn adnabod nac yn gwneyd un gwahaniaeth rhwng y meistr a'r gwas, rhwng y cyfoethog a'r tlawd, rhwng y pendefig a'r cardotyn. Nis gwyddoch pwy fydd yn etifedd eich cyfoeth. Yr oeddem ni yn casglu i'n plant, ond y mae y rhai hyny gyda ni yma, ac wedi dyfod yma yn gynt oblegyd yr hyn a adawyd genym ni ar ein hol, estroniaid sydd yn awr yn bwyta ein cryfder, a ninau heb ddim. Rhaid i chwi gael rhywbeth gwell na'r byd. Bydd hwnyna yn eich gwrthod fel y gwrthododd ninau. Bydd pob cysylltiad rhyngoch âg ef yn tori yn fuan.

Peidiwch rhoddi gormod o fri ar ei gyfoeth, nac ymflino yn ormodol oblegyd ei dlodi. Peidiwch bod yn rhy awyddus am ei barch, na llwfrhau gormod oblegyd ei ddirmyg. Peidiwch ymfalchio yn ei ddyrchafiad, na digaloni oblegyd ei ddarostyngiad. Nid yw y cyfan ond terfynol, byr, ac ansicr. Yr ydych yn dyfod yn fuan atom ni yma. Y mae yma ddigon o le i chwithau. Y mae beddau yn barod i chwi orwedd ynddynt." Y mae y meirw fel hyn y llefaru gydag unfrydedd a nerth ar *oferedd gwneyd pethau y byd yn brif bethau bywyd.*

IV. Ond wrth ymwrandaw ar leferydd y meirw y mae yna swn arall uchel, treiddgar, eglur, i'w glywed. Ydych chwi yn gallu gwneyd yr ystyr? Dyna fo,—*Er pob peth, mynwch, cyn marw, gael crefydd dda.* Y mae dyn wedi ei wneyd yn greadur cyfaddas i grefydd. Y mae angenrheidrwydd natur arno am dani. Nis gall fod yn ddedwydd hebddi. Nid oes dim arall gyflenwa eisiau ei ran ysbrydol. Nid yw y goleuni yn fwy cyfaddas i'r llygad, na'r swn peraidd i'r glust, na'r ymborth iachus i'r cylla,—nag ydyw crefydd i natur foesol dyn. Y mae yn hanfodol i berffeithiad ei natur mewn dedwyddwch. Y mae yn ei chymmell ei hunan arno âg ystyriaethau y gallesid meddwl y buasai yn anmhosibl iddo eu gwrthsefyll. Y mae hawl Duw ynddo, daioni Duw tuag ato, darpariadau gras ar ei gyfer, tlodi Bethlehem, ing yr ardd, poenau ac angeu y groes, oll yn cyfansoddi un cymhelliad mawr i ymgysegru i grefydd fel gorchwyl pennaf bywyd. Er hyn oll, ychydig iawn o sylw, mewn cymhariaeth, a delir gan y byd i'w hawliau hi. Felly y mae llawer o honoch chwi wedi ymddwyn, onide, hyd yn hyn? Byw yn ddiofal, ddidaro, oedi o ddydd i ddydd ymroddi i'r mater mawr. Yn awr, a wnewch chwi wrandaw am ychydig ar leferydd y meirw tuag atoch ar y testyn

hwn. Y mae rhai o honynt yn gwaeddi mewn *llais cwynfanus.* Y mae yn hawdd deall ar eu tôn eu bod yn druenus; y maent yn eich cymmell ati oddiar y profiad ofnadwy o fod eu hunain hebddi. "Gyd-ddynion, y mae genych yn eich natur ryfedd ran ysbrybol, resymol, ac anfarwol. Nid oes digon, na dim, yn y cwbl a fedd y byd i wneyd i fyny eich eisiau ysbrydol. Nid oes dim a'ch gwna yn ddedwydd ond heddwch â Duw. Aethom ni, ynfydion, trwy y byd heb feddwl am hyny. Ni wrandawem ar unrhyw rybudd, nid ystyriem unrhyw gynghor. Mynem ein ffordd, er cynghorion tad, er dagrau mam, er gofal athrawon, er taerni y weinidogaeth, er cyhuddiadau cydwybod; yn ddibris o bob awdurdod, yn ddiystyr o bob cymhelliad, rhagom yn galed, anystyriol, ddiofal, yr aethom, nes o'r diwedd y daeth yr awr,—ac Oh! awr ofnadwy! Y byd yn cilio, amser yn ein gwthio o hono, tragywyddoldeb yn ein sugno i'w elfen ei hun, ac yn y cyfyngder nid oedd neb i'n cymmorth; yn y tywyllwch nid oedd neb i'n harwain; yn yr ymchwydd nid oedd neb i'n cynnal: tynwyd yr enaid allan; gwasgwyd ni i wyddfod Duw: Duw wedi digio, dim ymwared i'w gael, gobaith wedi darfod; nid oes yn awr ond dioddef yn gospedigaeth ddinystr tragywyddol, llid Duw, llid fel tân, tân anniffoddadwy, tywyllwch eithaf; mwg poenedigaeth yn esgyn i fyny, dim gorphwysdra ddydd na nos yn oes oesoedd, dysgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac y mae yn arwyddo yn waeth. Y mae ein cyrph yn y bedd, ac y mae pechodau ein hieuenctyd yn gorwedd ar ein hesgyrn yno: y maent yn aros adgyfodiad i warth a dirmyg tragywyddol:—yn ein hymdrech am y byd, ni gollasom yr enaid a'r byd hefyd. Oh! ceisiwch grefydd, gwyliwch ddyfod yma: y mae y fflam yn boeth; y mae min ofnadwy ar gleddyf wedi i Dduw ei hogi." "Gwnewch frys i hyny,"

meddai rhai o honynt, "yr oeddem ni yn meddwl am dani, wedi addunedu ei cheisio, yn gweled rhyw gymmaint o'n hangen am dani,—ond ni ymdroisom yma ac acw, yn dysgwyl adeg well, amser mwy cyfaddas; ond tra yr oeddem ni yn oedi fe ddaeth angeu; fe'n hyrddiwyd yn ddisymmwth i'r farn, a dyma ni yma heb feddwl dyfod; yn uffern, lle y dysgwyliasom gael y nefoedd; y gobaith wedi darfod a'r enaid wedi ei ddamnio. "Ie," medd ereill, mewn llais mwy hyfryd, y mae yn hawdd deall ar eu tôn nad ydynt yn druenus, "Ie, ceisiwch grefydd; mynwch heddwch â Duw; ymgysegrwch i fywyd duwiol. Nid oes dim arall y mae yn werth i chwi ymdrafferthu llawer yn ei gylch. Ni gawsom ni y fraint ar y ddaear i wneyd hyny. Yr oeddem yn cael yna fwy oddiwrth grefydd nag a allasai y byd roddi; ond pan yn gadael y byd ac wedi dyfod yma y mae yn talu yn iawn. Pan y daeth angeu, fe'n hyspeiliodd o bob peth ond ein crefydd; ni gollasom gwbl y byd, pob peth daear, nerth corphorol, iechyd, cyfeillion, bywyd. Yr oedd y perthynasau agosaf, y cyfeillion anwylaf, yn methu gweini dim cymmorth, meddygon yn dyrysu ac yn ein rhoddi i fyny, a'n cyfeillion yn ein gadael o un i un, nes oeddent oll wedi cefnu, y byd yn cilio; ond yr oedd un yn aros; yr oedd Iesu yn glynu; wedi i bawb gefnu, yr oedd efe yn parhau yn ffyddlawn; arweiniodd ni, trwy y glyn tywyll, i wlad y goleuni tragywyddol; ni chawsom ni ddim niwed gan angeu; yn wir, mae marw wedi troi yr elw goreu i ni; angeu a lyncwyd mewn buddugoliaeth. Gofalwch am wneyd cyfaill o Iesu Grist, ac yna nid oes dim i'w ofni; fe'ch arweinia i lawenydd,—llawenydd digymmysg a diderfyn." "I Dduw y byddo y diolch, yr hwn a roddodd i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist."

---

# PREGETH XV.*

## TRIN YN SANCTAIDD YR HYN SYDD SANCTAIDD.

2 CHRON. xxxi. 18.

"*Oblegid trwy eu ffyddlondeb y trinent hwy yn sanctaidd yr hyn oedd sanctaidd.*"

Y mae sancteiddrwydd yn wreiddiol, yn ol dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau, yn beth sydd briodol yn unig i'r Arglwydd, ac yn golygu y cyfuniad gogoneddus sydd yn hanfodol ynddo o bob rhagoriaeth ac ardderchawgrwydd a pherffeithrwydd, moesol ac ysbrydol; ac yn arbenig y glendid dihalog sydd yn angenrheidiol yn eiddo iddo, ac yn ei ddyrchafu yn anfeidrol uwchlaw y creadur uchaf a phuraf. "Sanct, Sanct, Sanct, yw Arglwydd y lluoedd" (Esaiah vi. 3); "Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw Hollalluog; yr hwn oedd, yr hwn sydd, a'r hwn sydd i ddyfod" (Dat. iv. 8); "Pwy sydd debyg i ti, O Arglwydd, yn mhlith y duwiau? pwy fel tydi yn ogoneddus mewn sancteiddrwydd, yn ofnadwy mewn moliant, yn gwneuthur rhyfeddodau?" (Exod. xv. 11); "Nid sanctaidd neb fel yr Arglwydd" (1 Sam. ii. 2). Y mae efe yn hanfodol, yn angenrheidiol, yn annghyfnewidiol, ac yn dragywyddol sanctaidd. Y mae ei ddedwyddwch anfeidrol ef ei hunan yn cyfodi o'r perffeithrwydd

* Traddodwyd y Bregeth hon yn Nghymdeithasfa Dowlais, Awst 3ydd, 1881, pryd yr ordeiniwyd y brodyr a ganlyn i holl waith y weinidogaeth:— James Richards, Ysbytty; John Thomas, Aberystwyth; H. O. Edwards, Capel Mynach; R. Morris, D. W. Jones, Penuwch; Evan Davies, Llannon; Thomas Lewis, Bethania; Evan Jones, Penrhiw; J. M. Lloyd, North Risca; D. H. Williams, Casnewydd; Abraham Williams, Risca; Owen Jones, Glanrhyd; Daniel Jones, Gethsemane; John Morgans, Gosen; W. Powell, Llanilltyd Vardre; W. E. Williams, Bryntirion; John M. Davies, Aberfan; John V. Jones, Roath; Edward Thomas, Bristol.

hwn; ac yn yr un peth y gwreiddia dedwyddwch yr holl greadigaeth. Byddai yn ofnadwy meddwl am fôd Hollalluog ansanctaidd.

Oddiar hyn, yn y defnydd Biblaidd o'r gair, y mae sanctaidd, neu sancteiddrwydd, yn cael ei gymmeryd mewn dau ystyr:—(1.) Weithiau, a chan amlaf, y mae yn cael ei ddefnyddio am y purdeb moesol ac ysbrydol hwnw ar feddyliau dynion ac angylion, trwy yr hwn y maent i ryw fesur yn cyfranogi o ddelw Duw. Dyna yr ystyr pan y dywedir, "angylion sanctaidd"; "dynion sanctaidd Duw"; "y peth sanctaidd a enir o honot ti"; "Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi"; "Ni alwodd Duw chwi i aflendid, ond i sancteiddrwydd"; "Hwn er llesâd i ni, fel y byddem gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef"; "Megis ag y mae yr hwn a'ch galwodd chwi yn sanctaidd, byddwch chwithau hefyd sanctaidd yn mhob ymarweddiad"; ac mewn lliaws o fanau ereill. Ac y mae yr ystyr yna yn gwbl gydweddol â'r defnydd o'r gair pan yn cael ei gymhwyso at yr Anfeidrol ei hun.

(2.) Ond heblaw yr ystyr yna, y mae y gair yn cael ei gymhwyso at unrhyw beth a fyddo wedi ei neillduo neu ei osod ar wahan i'r Arglwydd,—at ei addoliad a'i wasanaeth ef,—ac felly yn dwyn perthynas uniongyrchol âg ef. Fel yna yr oedd pobl Israel wedi eu didol o blith yr holl genhedloedd yn bobl neillduol i'r Arglwydd, ac felly "yn frenhiniaeth o offeiriaid, yn genedl sanctaidd." Yr oedd gwlad Canaan yn dir sanctaidd. Yr oedd Jerusalem yn ddinas sanctaidd, dinas y Brenhin Mawr. Yr oedd y deml yn dŷ sanctaidd: "tŷ ein sancteiddrwydd a'n harddwch ni." Yr oedd un ystafell ynddi yn sancteiddiolaf,—ystafell yr arwydd o'r gogoniant dwyfol; yr oedd yr offeiriad yn wr sanctaidd. Yr oedd yr holl ddodrefn a llestri y cysegr yn sanctaidd. Yr oedd y Sabbath yn ddydd sanctaidd. Yr oedd pob peth

perthynol i'r gwasanaeth dwyfol, yn ol ordeiniad yr Arglwydd yn mhlith y genedl, yn sanctaidd. Yn y geiriau yn awr dan ein sylw, y mae yn amlwg fod y ddau ystyr i'w canfod. Wrth "drin yn sanctaidd" y mae i ni ddeall sancteiddrwydd fel perffeithrwydd moesol; ac wrth "yr hyn oedd sanctaidd," y mae i ni olygu yr hyn a neillduasid at wasanaeth dwyfol.

Yn awr, er fod goruchwyliaeth y deml a'i gwasanaeth wedi myned heibio, a'r cysegredigaeth defodol neu ffurfiol, a berthynai y pryd hwnw i leoedd a phethau ac amserau a phersonau, yn awr wedi diflanu, eto y mae gan yr Arglwydd o'i anfeidrol ras, ei bethau, ei osodiadau, ei addoliad, a'i wasanaeth, yn ein byd ni: ac y mae yn eglur ei fod yn gofyn yr un cysegredigaeth calon ac ysbryd yn y rhai a ymarferont â hwynt, ag a ofynid ganddo pan oedd gwedd fwy ffurfiol a defodol ar y gwasanaeth.

Yr ydych chwi wedi eich neillduo yma heddyw i weini mewn pethau sanctaidd. Od oes gwaith sanctaidd ar y ddaear, yn sicr y mae yr eiddoch chwi felly. Ac fe fyddai yn dda iawn genyf pe gallwn lwyddo, ar yr adeg ddifrifol hon yn eich hanes, i'ch cael i ystyried yr angenrheidrwydd a'r pwysfawrawgrwydd o'ch bod yn cyflawni yr ymddiried a roddir i chwi "yn sanctaidd"—a "thrwy ffyddlondeb yn trin yn sanctaidd yr hyn sydd sanctaidd."

Fe sonir yn fynych am, ac fe osodir pwys mawr yn aml ar, ymdrin yn alluog, ymdrin yn fedrus, ymdrin yn feistrolgar, ymdrin yn ddysgedig, ymdrin yn fanwl, ymdrin yn gywrain, ymdrin yn ddwfn, ymdrin yn ddoniol, ymdrin yn effeithiol, ac felly yn y blaen; ac ni fynwn ddywedyd dim yn ddiraddiol am yr un o'r nodweddau yna; ac eto at beth arall, annhraethol bwysicach i chwi eich hunain, a phwysicach i'r bobl y byddwch

yn gweini iddynt, y dymunwn yn arbenig eich sylw heddyw,—TRIN YN SANCTAIDD YR HYN SYDD SANCTAIDD.

Tuag at hyn, chwi a deimlwch ar unwaith, yr angenrheidrwydd anhebgorol o'ch bod yn rhai sanctaidd eich hunain. Nid wyf yn cyfeirio at hyn yn awr yn ei bwysigrwydd yn ei berthynas â'ch cyflwr chwi yn bersonol. Dyna yn sicr y wedd bwysicaf arno. Y mae drifrifwch ofnadwy yn perthyn iddo felly. Y mae y fath beth yn bosibl ag i chwi, yn y swydd sanctaidd yr ydych ynddi, fod yn ddynion ansanctaidd—yn ddynion annuwiol; yn galw ar ereill i edifarhau, ac yn byw mewn pechod eich hunain; yn gwahodd ereill i dderbyn y cymmod â Duw, ac yn parhau yn elynion eich hunain; yn cymmell ereill i dderbyn Crist, ac yn ei wrthod eich hunain. Y mae hyn yn bosibl, ac y mae y posibilrwydd yn rhywbeth ofnadwy. Ac yn y dydd mawr a ddaw fe geir, nid fod rhai o'r cyfryw wedi bod, ond, ysywaeth! bod llawer felly: "Llawer a ddywedant wrthyf yn y dydd hwnw, Arglwydd, Arglwydd, oni phrophwydasom yn dy enw di? ac oni fwriasom allan gythreuliaid yn dy enw di? ac oni wnaethom wyrthiau lawer yn dy enw di? Ac yna yr addefaf wrthynt, Nis adnabûm chwi erioed: ewch ymaith oddiwrthyf, chwi weithredwyr anwiredd."

Eithr yr oeddwn i yn awr yn cyfeirio at hyn yn ei berthynas â'r mater sydd genym dan sylw,—trin yn sanctaidd yr hyn sydd sanctaidd. Nid allech chwi byth ddysgwyl ymdriniaeth alluog, oddiwrth un anfeddylgar; ymdriniaeth ddofn, oddiwrth un bâs ac arwynebol; ymdriniaeth ddysgedig, oddiwrth un anwybodus; ymdriniaeth fanwl a chywrain, oddiwrth un diofal ac annghelfydd. Yr un modd, y mae yn anmhosibl cael ymdriniaeth sanctaidd oddiwrth un halogedig. Y mae ei ddwylaw aflan ef yn halogi pob peth y cyffyrddo âg

ef. Yn y cyffredin fe ddatguddia yr amddifadrwydd o hono i olwg dynion; ond y mae bob amser yn noeth ac yn agored i lygad Duw. "Ond wrth yr annuwiol y dywedodd Duw, Beth sydd i ti a fynegech ar fy ngeiriau, neu a gymmerech ar fy nghyfammod yn dy enau?" "Ymlanhewch y rhai a ddygwch lestri yr Arglwydd."

Ond er fod eisiau bod yn sanctaidd tuag at i'r ymdriniaeth fod yn sanctaidd, eto nid yw hyny yn unig yn ddigon; y mae eisiau i'r ymdriniaeth ei hunan fod felly. Ac y mae hyny yn cynnwys,—

I. Bod y meddylgarwch hwnw yn y gwasanaeth ag sydd briodol a hanfodol i natur sancteiddrwydd. Nodwedd arfeddwl neu ysbryd ydyw sancteiddrwydd. Mewn ystyr briodol nis gall berthynu i ddim arall. Nis gall fod sancteiddrwydd ar le, nac amser, nac amgylchiad, na swydd, ond yn eu perthynas â meddwl. Nis gall berthyn i agweddau neu ysgogiadau ein cyrph, nac hyd yn nod i'n geiriau, ar wahan oddiwrth ein meddyliau. Nid dim ffurfiol neu ymddangosiadol ydyw. Gall ei ddatguddio ei hunan trwy y ffurf; a daw yr amddifadrwydd o hono, weithiau, i'r golwg trwy esgeulusdra o'r ffurf; ond y mae yn bosibl i'r ffurf fod yn gyflawn, ac i'r gwasanaeth, o ran hyny, fod yn hollol weddus, ac eto heb ddim sancteiddrwydd ynddo. Y mae yn golygu agwedd yr ysbryd, gweithrediad y meddwl, ansawdd y galon. Nid plygu y gliniau, ond ymostyngiad yr enaid. Nid rhyw ystumiau defosiynol, ond ysbryd addolgar. Nid y canu mwyaf cerddgar a soniarus, ond moliant y galon. "Ysbryd yw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef, addoli mewn ysbryd a gwirionedd"—"y cyfryw y mae y Tad yn eu ceisio i'w addoli ef." "Nid â dwylaw dynion y gwasanaethir ef." "Nid edrych Duw fel yr edrych dyn; dyn a edrych ar y golygiad; ond yr Arglwydd a edrych ar y galon." Ni a allwn fod yn

hollol sicr, gan hyny, ond i bethau ereill fod yn gyfatebol, mai po fwyaf o feddwl a fyddo yn ein gwasanaeth, mai mwyaf oll o sancteiddrwydd a fydd ynddo. Y mae yn wir y gall cryn lawer o feddwl fod heb ddim sancteiddrwyd; ond nis gall fod dim sancteiddrwydd heb ryw gymmaint o feddwl. Ac nid yn unig hyny, trwy weithrediad meddwl y gallwn gael ein sancteiddio. Dyna y rheswm am y cysylltiad a ddysgir i ni yn yr Ysgrythyrau rhwng sancteiddrwydd â'r gwirionedd. Cymundeb y meddwl â'r gwirionedd ydyw y moddion, o ordeiniad Duw, i gynnyrchu egwyddor sanctaidd ynddo. "Trwy yr hyn y rhoddwyd i ni addewidion mawr iawn a gwerthfawr; fel trwy y rhai hyn y byddech gyfranogion o'r duwiol anian." "O'i wir ewyllys yr ennillodd efe nyni trwy air y gwirionedd." "Wedi eich ail-eni, nid o had llygredig, eithr anllygredig, trwy air Duw." "Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith, yn troi yr enaid." "Trwy dy orchymynion di y pwyllais." "Byth nid annghofiaf dy ddeddfau, canys â hwynt y'm bywheaist." Ond tuag at hyny, y mae yn rhaid iddo ddyfod i ryw gymundeb â'r meddwl. "Hwythau wedi clywed hyn, a ddwysbigwyd yn eu calon." "A Phetr eto yn llefaru y geiriau hyn, syrthiodd yr Ysbryd Glân ar bawb oedd yn clywed y gair." "Am hyny ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw." "Yn yr hwn y gobeithiasoch chwithau hefyd, wedi i chwi glywed gair y gwirionedd, Efengyl eich iachawdwriaeth."

Yr un modd y mae gwaith sancteiddhad yn cael ei ddwyn rhagddo ar y meddwl. "Yr ydych chwi yn lân trwy y gair a leferais i wrthych." "Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd, dy air sydd wirionedd." "Megis y carodd Crist yr eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti; fel y sancteiddiai efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr trwy

y gair." Y mae yn amlwg fod y cysylltiad yna, yn nysgeidiaeth yr Ysgrythyrau, rhwng y gwirionedd á sancteiddrwydd. Ond y gwirionedd, cofier, nid yn gweithredu fel swyn tu allan i'r meddwl; ond y gwirionedd yn y meddwl,—y gwirionedd yn wrthddrych sylw a myfyrdod,—y gwirionedd yn cael gweithredu arno gan y meddwl.

Ond nid yn unig y mae y meddylgarwch hwn ar bethau sanctaidd yn foddion cynnyrchu a chynnyddu sancteiddrwydd, ond y mae, yn addoliad a gwasanaeth Duw, yn hanfodol i sancteiddrwydd y gwasanaeth. Po ddwysaf ein myfyrdodau ar ein pechadurusrwydd a'n trueni ein hunain; po bywiocaf ein meddyliau mewn gweithgarwch ar addasrwydd a digonolrwydd darpariaeth yr Efengyl ar ein cyfer, yn ein cyflwr andwyol; po ëangaf ein dirnadaeth ar ystyr ac amcan trefn yr Efengyl,—i'r graddau y byddo meddylgarwch yn ein hymwneyd á phethau sanctaidd, y gall sancteiddrwydd fod yn ein gwasanaeth. Ac i'r graddau y byddo ein meddyliau yn rhoddi ystyr i'r agweddau ac i'r geiriau arferir genym wrth ddarllen, wrth ganu, wrth weddio, wrth bregethu, wrth wrando, wrth gymuno,—ac yn ein hymarferiad á holl ranau y gwaith a gyflawnir genym, y gellir dywedyd ein bod yn trin yn sanctaidd yr hyn sydd sanctaidd.

Mae trin yn sanctaidd yr hyn sydd sanctaidd yn cynnwys hefyd,—

II. Fod yr ymdriniaeth gyda'r gostyngeiddrwydd a'r gwylder sydd yn gweddu i ddwyfoldeb y pethau.

Fel y gwelsom, peth priodol yn wreiddiol i'r Anfeidrol yn unig ydyw sancteiddrwydd, ac y mae dynion neu angylion yn sanctaidd i'r graddau y byddont yn dwyn ei ddelw ef, a phethau yn sanctaidd pan wedi eu neillduo i'w wasanaeth ef. Yn awr, y mae trin yn sanctaidd yr hyn sydd sanctaidd yn golygu ymdeimlad priodol yn y

meddwl o berthynas y pethau â Duw, a'r gostyngeidd-rwydd a'r gwylder sydd yn gweddu i'w fawrhydi ef ynddynt. Yn ein hymarferiad âg ordinhadau crefydd, yr ydym yn ymwneyd yn uniongyrchol â Duw. Y gair Ysgrythyrol am yr ymarferiad ydyw, nesàu at Dduw. "Yr offeiriaid y rhai a nesânt ataf." "Myfi a sancteiddir yn y rhai a nesânt ataf." "Gwyn ei fyd yr hwn a ddewisech ac a nesäech atat." Yn awr, pan y cofiwn am y mawredd anfeidrol sydd yn eiddo iddo, y purdeb dihalog ac anfeidrol sydd hanfodol ynddo, a'i adnabyddiaeth berffaith o honom yn nirgelion dyfnaf ein calonau; oni weddai i ni fod yn ostyngedig ac yn wylaidd pan yn ymddangos ger ei fron? "Ni ellwch," meddai Joshua wrth feibion Israel, er profi eu cywirdeb yn y broffes a wnelid ganddynt o'u penderfyniad i wasanaethu yr Arglwydd,—"Ni ellwch wasanaethu yr Arglwydd; canys Duw sancteiddiol yw efe: Duw eiddigus yw; ni ddioddef efe eich anwiredd, na'ch pechodau." A phan yr amlygodd ei hunan felly yn Bethsemes, trwy ladd y rhai a edrychent yn arch yr Arglwydd, y mae y bobl yn naturiol yn arswydo ac yn gwaeddi, "Pwy a ddichon sefyll yn wyneb yr Arglwydd Dduw sanctaidd hwn?" Dacw feibion Aaron yn cael eu lladd yn y cysegr oblegyd eu rhyfyg yn offrymu i'r Arglwydd â thân dieithr. Dacw Uzzah, er, dybygid, ei fod yn offeiriad, yn cael ei ladd oblegyd cyffwrdd â'r arch mewn rhyw ddull yn rhyfygus, hyd yn nod pan yn amcanu cyflawni gwasanaeth a ymddangosai yn angenrheidiol iddi. "Sancteiddiol ac ofnadwy yw ei enw ef." Ac y mae yn ofnadwy am ei fod yn sancteiddiol; "Ydwyt lanach dy lygaid nag y gelli edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar anwiredd." "Wele, ni roddes efe ymddiried yn ei saint—yn ei rai sanctaidd, yn ei angylion;—a'r nefoedd nid ydynt lân yn ei olwg ef. Pa faint mwy ffiaidd a drewedig ydyw

dyn, yr hwn sydd yn yfed anwiredd fel dwfr?" Yn yr olwg ar ogoniant ei sancteiddrwydd dwyfol, y mae angylion y nefoedd yn addoli yn ostyngedig, ac yn eu cuddio eu hunain yn ei bresennoldeb. Ac y mae amlygiad o'i ogoniant yn peri i'r dynion goreu ymgywilyddio ger ei fron. "Mi a glywais," meddai Job, "â'm clustiau son am danat, ond yn awr fy llygaid a'th welodd di; am hyny y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun, ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch a lludw." "Gwae fi," meddai Esaiah, "canys darfu am danaf: oherwydd gwr halogedig ei wefusau ydwyf fi, ac yn mysg pobl halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo; canys fy llygaid a welsant y Brenhin, Arglwydd y lluoedd."

Yn awr, â'r Duw hwn yr ydym yn ymwneyd yn ein hymarferiadau crefyddol. Beth ydyw gweddio? Ymddyddan â Duw; galw ar yr Arglwydd. Ac onid priodol i ni deimlo, mewn gwylaidd-der, fel Abraham, nad ydym ond llwch a lludw. Beth ydyw canu? Moliannu Duw; y Duw sydd yn anfeidrol uwchlaw ein cariad, ein bendith, a'n moliant,—yr hwn sydd yn nheml ei sancteiddrwydd—a'i lygaid yn gweled, a'i amrantau yn profi meibion dynion. Wrth bregethu, yr ydych dros Dduw. "Yr ydym ni yn genhadau dros Grist, megis pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni, yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw." Gweinidogion Crist, goruchwylwyr ar ddirgeledigaethau Duw. Ac felly gyda golwg ar yr holl wasanaeth. Pethau Duw sydd genym; pethau mawrion Duw; pethau mwyaf Duw; dyfnion bethau Duw hefyd.

Y mae yn wir fod yr oruchwyliaeth yr ydym ni dani yn un llawer tynerach na'r hen oruchwyliaeth. Nid ydyw yr Arglwydd yn arfer cyfryngu yn awr i ladd rhai hyfion a rhyfygus yn ei addoliad. "Ni ddaethoch chwi at y mynydd teimladwy sydd yn llosgi gan dân, a

chwmmwl, a thywyllwch, a thymhestl, a sain udgorn, a llef geiriau. Eithr chwi a ddaethoch i fynydd Sion, ac i ddinas y Duw byw, y Jerusalem nefol, ac at fyrddiwn o angylion, i gymanfa a chynnulleidfa y rhai cyntaf-anedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd, ac at Dduw, Barnwr pawb, ac at ysbrydoedd y cyfiawn, y rhai a berffeithiwyd, ac at Iesu Cyfryngwr y testament newydd, a gwaed y taenelliad, yr hwn sydd yn dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel." Ac eto—"bydded genym ras trwy yr hwn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd, gyda gwylder a pharchedig ofn. Oblegyd ein Duw ni sydd dân ysol." Er fod yr oruchwyliaeth wedi newid, nid ydyw ein Duw ni wedi newid dim; y mae efe eto yn dân ysol. Ac y mae cymmaint o eisiau gwylder a pharchedig ofn yn awr ag a fu erioed yn ei wasanaeth. Ac y mae hyny yn hollol angenrheidiol tuag at drin yn yn sanctaidd yr hyn sydd sanctaidd.

III. Mae hyn yn cynnwys hefyd fod yr ymdriniaeth gyda'r sobrwydd a'r difrifwch sydd yn gweddu i bwys-fawrawgrwydd y pethau. Nid oes un lle i ammeu nad oes gormod o lawer o ysgafnder, ac weithiau yn ymylu ar gellwair yn ymwthio i'n cyfarfodydd crefyddol. Prin, weithiau, yr ydym yn ofni, y gallai dyn dieithr—dieithr i'n hiaith—dybied, oddiar yr olwg ar ein cynnulleidfa-oedd, mai cyfarfodydd crefyddol ydynt. Y mae yn sicr y gelwir arnom i wasanaethu yr Arglwydd mewn llawen-ydd; a chalon lawen a wna wyneb siriol. Ac nid yn bendrist a phruddaidd a chan anffurfio y wyneb y dylem fod yn addoliad ein Duw. Yr un pryd, yn nghysegr Duw y mae yn gweddu i ni ymlawenhau mewn dychryn. Ac nid wyf heb ofni fod rhyw agweddau, a ganfyddir yn rhy fynych yn ein haddoldai,—y gwammalu â'r llygaid, a'r sisial siarad anamserol rhwng rhai weithiau â'u gilydd, y chwareu gyda'r llyfr hymnau pan y byddo y

Bibl yn cael ei ddarllen, neu y weddi yn cael ei hoffrymu, ac yn enwedig yr hyn sydd wedi myned yn ormodol yn arferiad mewn rhai manau o roddi datganiad i'r teimladau trwy ryw chwerthiniad ffol a gwrthun,—yn hollol annghydweddol â'r difrifwch sydd yn gweddu i bethau sanctaidd. Y mae y lle yn lle sanctaidd. "Mor ofnadwy yw y lle hwn, ac nis gwyddwn i. Nid oes yma onid tŷ i Dduw, a dyma borth y nefoedd." Ond y mae sancteiddrwydd y lle yn cyfodi oddiar gysegredigaeth y gwasanaeth a phwysfawrawgrwydd y pethau yr ymarferir â hwynt ynddo. Ac ond ystyried ychydig fe deimlir fod y pwys mwyaf yn perthyn iddynt.

Y mae y pethau yr ydych chwi wedi eich neillduo i weini ynddynt, y pethau pwysicaf sydd yn bod ;—pethau Duw, pethau enaid, pethau y farn, pethau angeu, pethau tragywyddoldeb, pethau'r nefoedd ; maddeuant i'r euog ; diangfa rhag y gollfarn ; bywyd i'r marw. Achos dyn rhyngddo â Duw—ei achos erbyn y farn—yr achos fydd yn gosod ei wedd ei hunan ar dragywyddoldeb y dyn. Y mae bywyd neu farwolaeth dragywyddol dynion yn dybynu ar y modd yr ymddygant tuag at eich cenadwri, ac y mae y modd yr ymddygant, fe ddichon, yn dybynu ar y modd y byddoch chwi yn ei thraethu. O! pa mor ddifrifol y dylem fod. "Y maent hwy yn gwylio dros eich eneidiau chwi, megis rhai a fydd rhaid iddynt roddi cyfrif." "Mab dyn, yn wyliedydd y'th roddais i dŷ Israel. Pan ddywedwyf wrth yr annuwiol, Ti annuwiol, gan farw a fyddi farw ; oni leferi di i rybuddio yr annuwiol o'i ffordd, yr annuwiol hwn a fydd marw yn ei anwiredd, ond ar dy law di y gofynaf ei waed ef" (Ezec. xxxiii. 7, 8). "Gwylia arnat dy hun . . . . . os gwnei hyn, ti a'th gedwi dy hun a'r rhai a wrandawant arnat." "Gwylia ar dy droed. Na fydd ry brysur â'th enau, ac na frysied dy galon i draethu dim ger bron

Duw; canys Duw sydd yn y nefoedd, a thithau sydd ar y ddaear; ac am hyny bydded dy eiriau yn anaml."

Mae trin yn sanctaidd yr hyn sydd sanctaidd yn cynnwys yn olaf, fod yr ymdriniaeth

IV. Gyda'r gofal dyfalaf i sicrhau amcan mawr yr Efengyl.

Nid oes dim amlycach, yn ngwyneb yr Ysgrythyrau, nag mai amcan eithaf yr iachawdwriaeth, gyda golwg ar ei gwrthddrychau, ydyw eu sancteiddiad yn hollol ar ddelw Duw. At ba ran bynnag o honi y cyfeiriwn ein sylw, ni gawn mai dyna ydyw ei dyben. Os meddyliwch am etholedigaeth, dyna yr amcan: "Megis yr etholodd efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd, fel y byddem yn sanctaidd ac yn ddifeus ger ei fron ef." Dyma hefyd a nodir fel dyben mawr y prynedigaeth:—"Megis y carodd Crist yr Eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti, fel y sancteiddiai efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr trwy y gair; fel y gosodai efe hi yn ogoneddus iddo ei hun, yn Eglwys heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw; ond fel y byddai yn sanctaidd a difeius." "Ein Hiachawdwr Iesu Grist a'i roddes ei hun drosom, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, ac i'n puro ni iddo ei hun, yn bobl briodol, awyddus i weithredoedd da." Dyma amcan mawr ein galwedigaeth:—"Ni alwodd Duw ni i aflendid, ond i sancteiddrwydd." "Megis y mae yr hwn a'ch galwodd chwi yn sanctaidd, byddwch chwithau hefyd sanctaidd yn mhob ymarweddiad." Dyma amcan mawr Duw tuag atom trwy yr Efengyl,—ein cael yn lân oddiwrth bechod. "Hyn yw ewyllys Duw, sef eich sancteiddiad chwi." I'r dyben hwn y mae ei holl oruchwyliaethau tuag atom yn cyfeirio. Yr oeddwn yn ymweled yn ddiweddar âg un o'n hen chwiorydd duwiol, oedd wedi bod mewn gwaeledd trwm am amser maith, ac wrth son am ei chystudd blin, gofynais

iddi a oedd hi yn gallu dal yr oruchwyliaeth yn ddirwgnach. "O," meddai, "fe gefais waith mawr i beidio grwgnach, nes i mi gofio mai amcan yr Arglwydd tuag ataf oedd fy sancteiddio." "Trwy hyn y glanheir anwiredd Jacob; a dyma yr holl ffrwyth, tynu ymaith ei bechod." Tynu ymaith bechod; dyna amcan Duw mewn rhagluniaeth a gras. Yn awr, y mae yr hwn sydd yn oruchwyliwr ar ddirgeledigaethau Duw i gymmeryd amcan Duw yn yr iachawdwriaeth yn amcan arbenig a pharhaus yn ei weinidogaeth. Gwnewch hyn, fy mrodyr, yn nod gwastadol eich pregethu,—cael eich gwrandawyr yn rhydd oddiwrth bechod; nid eu difyru, nid boddio eu cywreinrwydd, nid ceisio ennill eu cymmeradwyaeth. "Chwithau," meddai yr Apostol Paul, "y rhai oeddych ddieithriaid a gelynion mewn meddwl trwy weithredoedd drwg, yr awrhon a gymmododd efe yn nghorph ei gnawd ef trwy farwolaeth," i ba bwrpas? "i'ch cyflwyno chwi yn sanctaidd, ac yn ddifeius, ac yn ddiargyhoedd ger ei fron ef." Dyna amcan yr Arglwydd Iesu yn ei ymddarostyngiad a'i farwolaeth "cyflwyno rhai fu yn elynion mewn meddwl, trwy weithredoedd drwg," eu "cyflwyno yn sanctaidd, ac yn ddifeius, ac yn ddiargyhoedd." A dyna sydd i fod yn amcan ei weision:—"Yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu, gan rybuddio pob dyn, a dysgu pob dyn yn mhob doethineb; fel y cyflwynom bob dyn yn berffaith yn Nghrist Iesu." Mae Crist i gyflwyno ei bobl i'w Dad, yn sanctaidd, ac yn ddifeius, ac yn ddiargyhoedd; ac y mae y gweinidog ffyddlawn yn amcanu cyflwyno ei wrandawyr "yn berffaith yn Nghrist Iesu." Rhodded yr Arglwydd i chwi, fy mrodyr, gael llawer o'ch gwrandawyr yn goron eich gorfoledd, ger bron ein Harglwydd Iesu Grist yn ei ddyfodiad ef.

# PREGETH XVI.

## Diwedd Bywyd Annuwiol yn Gymhelliad i Ddychweliad.

Jeremiah v. 31.

"*Etto beth a wnewch yn niwedd hyn?*"

Y mae dyn yn greadur â chymhwysder ynddo i gymdeithasu â'r dyfodol, ac i dynu o'r dyfodol ddefnyddiau cymhelliadau er llywodraethu ei ymddygiadau yn y presennol. Dyn yn unig, hyd y mae yn ymddangos i ni, o'r holl greaduriaid a berthynant i'r ddaear hon, sydd yn meddiannu y gallu hwn. Y mae yn wir fod creaduriaid ereill yn darpar ar gyfer eu dyfodol, ac yn hyny yn rhoddi addysg i ddyn ag y mae efe, ysywaeth! yn rhy fynych yn ddiystyr o honi. Y mae y morgrugyn yn parotoi ei fwyd yr haf, ac yn casglu ei luniaeth y cynhauaf. Ond y mae y morgrugyn yn gwneuthur hyny, nid oddiar ragweled y dyfodol, a meddwl am dano, a chymmeryd ei lywodraethu gan yr ystyriaeth o'r angenrheidrwydd o ddarpar ar ei gyfer pan y mae cyfleusdra i hyny, eithr yn rhinwedd rhyw reddf, a roddwyd gan y Creawdwr Mawr yn ei natur, nad oes ganddo ef ei hunan un ddirnadaeth am dani. Ond nid creadur greddf ydyw dyn, eithr creadur rheswm. Y mae ganddo ef allu i edrych yn mlaen, i fyned i mewn i'r dyfodol; ac y mae y gallu hwnw wedi ei fwriadu i lywodraethu ei ymddygiadau presennol. Y mae i hau yn amser hau, er mwyn cael medi yn amser cynhauaf. Y mae yn mlynyddoedd llawnder i gofio blynyddoedd prinder, ag i ragddarpar ar eu cyfer. Y mae mewn ieuenctyd ac iechyd a nerth, i gofio cystudd a gwendid a henaint, ac i

ymbarotoi i'w cyfarfod, fel na byddo pan ddelont yn gwbl ddiamddiffyn.

Yn awr, y mae Ysbryd Duw, yn yr Ysgrythyrau sanctaidd, yn cydio yn y gallu hwn sydd yn naturiol i ddyn ac yn ei droi i wasanaethu crefydd yn ei feddwl. Y mae yn cyfodi canlyniadau ei ymddygiadau yn y dyfodol i'w sylw, yn gymhelliadau arno i'w iawn-lywodraethu ei hunan yn y presennol. Y mae diwedd bywyd duwiol yn fynych yn cael ei godi ger bron dynion yn y Bibl, er eu cymmell i fyw yn dduwiol ;—"Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw a fydd tangnefedd"; "Dywedwch mai da a fydd i'r cyfiawn : canys ffrwyth eu gweithredoedd a fwynhant"; "Wedi eich rhyddhau oddiwrth bechod, a'ch gwneuthur yn weision i Dduw, y mae i chwi eich ffrwyth yn sancteiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragywyddol." Ac o'r tu arall, y mae canlyniadau ymddygiadau annuwiol yn fynych yn cael eu codi i sylw, er cymmell dynion i ochelyd bywyd felly:—"Gwae yr anwir, drwg fydd iddo: canys gwobr ei ddwylaw ei hun a fydd iddo"; "Diwedd y rhai yw distryw"; "Diwedd y pethau hyny yw marwolaeth." A'r un modd mewn llawer o ymadroddion ereill. Ac felly, yr ydych yn sylwi, y gwneir yn y geiriau a ddarllenwyd yn awr yn destyn: "Eto beth a wnewch yn niwedd hyn?"

Y mae yr Arglwydd yma trwy y prophwyd yn cyhuddo Judah o'r ymddygiadau mwyaf gwarthus, ac o'r pechodau mwyaf ysgeler—putteindra a godineb, twyll a chelwydd a gorthrwm, trais ac annghyfiawnder. Ond mewn digllonedd sanctaidd, y mae yn tori allan i'w bygwth â chospedigaeth gyfatebol i ysgelerder eu hymddygiadau: "Onid ymwelaf am y pethau hyn? medd yr Arglwydd : oni ddial fy enaid ar gyfryw genedl

a hon?" Yr ystyr ydyw, Y mae yn rhai i mi eich cospi. Fel tad, ar ol hir arbed, hir oddef ei blentyn anufudd a drwg, o'r diwedd yn dywedyd,—Y mae yn rhaid i mi dy gospi di yn awr; nis gallaf dy arbed yn hwy. "Pa fodd," meddai Duw yma, "y'th arbedwn am hyn?" "Onid ymwelaf am y pethau hyn? oni ddial fy enaid ar gyfryw genedl a hon?" Ac yna, a llefaru yn ddynol, y mae ei lygaid sanctaidd yn disgyn ar rywbeth ffieiddiach yn ei olwg, ac atgasach ganddo, na'u holl ymddygiadau annheilwng ac annghyfiawn tuag at eu gilydd yn eu cysylltiadau cymdeithasol a gwladwriaethol, sef, y rhagrith a'r twyll a'r drygioni, a arferent gyda phethau crefydd: "Peth aruthr ac erchyll a wnaed yn y tir." Yn ol ymyl y ddalen, "Syndod a brynti a wnaed yn y tir." Yn fwy llythyrenol, "Aruthredd ac erchylldra a ddygwyddasant yn y tir." Nid peth aruthr, ond aruthredd ei hunan; nid peth erchyll, ond erchylldra ei hunan: y dull cryfaf sydd bosibl i osod allan ysgelerder yr ymddygiad.

"Y prophwydi a brophwydant gelwydd." Dyna ddynion yn hòni eu bod wedi eu hanfon genyf fi, i fynegi fy meddwl ac i addysgu y genedl am fy ewyllys, ac yn cael eu cydnabod fel y cyfryw, ond yn prophwydo celwydd yn fy enw i. Y maent yn cyhoeddi, fel yr eiddof fi, yr hyn sydd yn hollol groes i'm meddwl, ac nad oes un sail iddo ond yn eu dychymygion drygionus eu hunain.

Ac nid yn unig hyny, ond "Yr offeiriaid hefyd a lywodraethant trwy eu gwaith hwynt." Y mae cryn anhawsdra penderfynu ar y cyfieithiad cywiraf. Y mae ymyl y ddalen yn darllen, "Yr offeiriaid hefyd a gymmerant i'w dwylaw eu gwaith hwynt." Y mae y Deg-a-Thriugain, ac felly y *Vulgate* Lladin, yn darllen, "Ac y mae yr offeiriaid yn canmawl â'u dwylaw hwynt";

fel pe mai yr ystyr fyddai, eu bod yn curo eu dwylaw o gymmeradwyaeth i'w hathrawiaeth gelwyddog. Yn yr un ystyr y mae y Targum yn eu deall: "A'r offeiriaid a fendithiasant eu dwylaw." Y mae Ewald yn darllen, "Ac y mae yr offeiriaid yn cydfyned â hwynt." Y mae Dr. Rowland Williams yn darllen, "A'r offeiriaid a lywodraethant trwyddynt hwy." I'r un ystyr y mae Dr. Payne Smith a Dr. Cheyne yn darllen. Yn llythyrenol hollol, fe ddichon mai y cyfieithiad fyddai, "Ac y mae yr offeiriaid wedi disgyn ar eu dwylaw hwynt"; i gymmeryd eu harwain ganddynt, ac i fod yn gwbl yn ol eu hewyllys. Yr ystyr, y mae yn ddiammeu, ydyw, fod yr offeiriaid a'r prophwydi yn cytuno â'u gilydd i gamarwain y bobl gyda golwg ar feddwl yr Anfeidrol o berthynas iddynt.

Ond y mae yma rywbeth mwy pruddaidd fyth: "A'm pobl a hoffant hyny." Y mae corph y genedl yn caru gweniaith a chelwydd, yn hytrach na'r gwirionedd, er cael digon o fanteision i wybod mai geiriau gau a thwyllodrus a ddysgir iddynt, a hyny sydd yn gwneyd eu cyflwr yn anobeithiol.

Ond wedi rhoddi y darluniad bywiog yna o'u hymddygiadau, y mae, yn y geiriau a ddarllenwyd genym yn destyn, yn ymliw â hwynt yn nghylch y canlyniadau i hyn oll: "Eto beth a wnewch yn niwedd hyn?" Gellir cymmeryd y geiriau hyn yn arwyddo, "Beth a wnewch yn y diwedd, yn y dialedd a ddygaf fi arnoch, yn y farn sydd ar eich goddiweddyd, yn ol fy mygythion, oblegyd ymddygiadau fel hyn?" Neu, ynte, "Yn y diwedd yr ydych yn prysuro iddo, y diwedd sydd yn naturiol ac yn sicr o'ch cyfarfod ryw bryd. Beth a wnewch? pa fodd yr ymdarewch? pa fodd y byddwch yn teimlo? pa fodd yr ymddygwch 'yn niwedd hyn?'" Dyna, dybygid, ystyr uniongyrchol y geiriau. Ond y

maent yn sicr yn gyfryw ag y gellir, yn hollol briodol, eu cymhwyso at ddynion yn gyffredinol, yn mhob gwlad ac yn mhob oes, a fyddont yn myned rhagddynt mewn bywyd digrefydd ac annuwiol; ac mi a ddymunwn allu gwneyd defnydd felly o honynt yn awr, tuag at y cyfryw rai ag a allant fod yn y gynnulleidfa hon. Yr wyf yn ofni fod yma liaws o'r rhai hyny. Yn wir, fe ofnir gan lawer o ddynion difrifol, fod annuwioldeb yn gwneuthur cynnydd dirfawr yn ein gwlad; fod meddwdod ac aflendid, llwon a rhegfeydd, anmharch cyhoeddus a digywilydd o ddydd yr Arglwydd, dibrisdod o bethau crefydd, a rhyw hyfdra gwarthus mewn pechu, yn nodweddu lliaws mawr, yn enwedig o ieuenctyd ein cenedl. A dichon fod yma heddyw rai o'r cyfryw: dynion, er holl addysgiadau ac esiamplau a gweddiau rhieni; dynion, er holl wersi eu hathrawon; dynion, er holl rybuddion y weinidogaeth; dynion, er holl gynghorion ac erfyniau ac ymbiliau eu cyfeillion; dynion, er holl edliwiadau cydwybod; ïe, dynion, er holl ymrysoniadau Ysbryd Duw ei hunan â'u meddyliau, yn mynu myned rhagddynt mewn bywyd annuwiol, ac yn ymgaledu fwyfwy mewn pechod. Goddefwch i mi ymliw â chwi. Gadewch i mi gael eich ystyriaeth, am ychydig, at y mater difrifol, pwysig, ac ofnadwy, a gyflwynir i'n sylw yn ngeiriau y testyn:—DIWEDD BYWYD ANNUWIOL YN GYMHELLIAD I DDYCHWELIAD: "Eto beth a wnewch yn niwedd hyn?"

Y mae yn rhaid i chwi addef fod rhyw ddiwedd i ddyfod i'r bywyd a arweinir yn awr genych. Nid ydych yn dysgwyl cael eich gadael yma, ac i fod megis y mae yn awr arnoch, byth. Fel y mae rhyw ddiwedd wedi gorddiwes pawb a fuant yma o'ch blaen, felly y mae rhyw ddiwedd yn eich aros chwithau. Edrychwch. Ystyriwch. Pa le y mae trigolion yr hen fyd, y gwŷr anwir,

a fuant yn sathru yr hen ffordd yr ydych chwi yn cerdded arni heddyw? Pa le y mae trigolion dinasoedd y gwastadedd, yr oedd eu gwaedd yn ddirfawr, a'u pechod yn drwm iawn? Pa le y mae hen annuwiolion yr holl oesoedd, a thrwy yr holl ddaear, a fuant unwaith yma yn ymrwysgo mewn rhysedd a drygioni, yn llawn mor ddiofal a chwithau, ac heb feddwl y goddiweddai dim drwg hwynt yn dragywydd? Ond, paham y rhaid i mi gyfeirio at rai o'r oesoedd gynt? Pa le y mae yr hen annuwiolion ydych chwi yn gofio pan oeddech yn blant, yn meddwi ac yn ymladd yn y marchnadoedd a'r ffeiriau, yn ddychryn i'w cymmydogion, ac yn blaenori yn mhob rhyw gampau drygionus? Ie, pa le y mae llawer o'r rhai y buoch chwi eich hunain yn cyd-bechu â hwynt? Ceisiwch feddwl ac adgofio. Pa le y mae rhai y buoch chwi yn cyd-halogi dydd Duw â hwynt? Yn cyd-yfed, yn cyd-feddwi, yn cyd-odinebu â hwynt? Pa le? Y maent hwy wedi dyfod i'w diwedd. Yn awr, y mae rhyw ddiwedd i ddyfod i chwithau. Y mae diwedd i ddyfod ar fyned i'r dafarn i feddwi, ac ar yr yfed a'r meddwi gartref. Y mae diwedd i ddyfod ar yr anlladrwydd a'r aflendid yna. Y mae diwedd i ddyfod ar y bywyd anystyriol a digrefydd yna. Y mae diwedd i ddyfod ar y tyngu dychrynllyd a'r geiriau masweddol, halogedig yna. Y mae diwedd i ddyfod ar fyned a dyfod i'r addoldy, a gwrando yr Efengyl ac heb ei chredu. Nid oes eisiau ymresymu â chwi i brofi hyn, pa mor ddideimlad neu ddiystyr bynnag y gallwch fod o'r pwys a berthyn iddo. Ond y cwestiwn ydyw, Beth a wnewch? pa beth a ddaw o honoch yn y diwedd? Ac er cael golwg ar nerth y cymhelliad i ddychweliad, sydd i'w gael yn yr ystyriaeth yma, ni a geisiwn edrych ychydig yn fanylach ar y diwedd, nid gydag un amcan i'w ddarlunio, ond er eich cael chwi i geisio meddwl am

dano, a meddwl beth a wnewch, a phenderfynu, yn nghymhorth gras Duw, ceisio ei osgoi.

I. "Beth a wnewch yn niwedd hyn?" Beth a wnewch pan y bydd trugareddau cyffredin y bywyd hwn wedi darfod â'u gwasanaeth i chwi, ac yn cael eu dwyn oddiarnoch, a chwithau yn cael eich gorfodi i fyw byth hebddynt hwy.

Felly y bydd yn y diwedd. Yn y byd hwn y mae y Duw mawr yn peri i'w haul godi ar y drwg yn gystal ag ar y da, y mae yn gwlawio ar yr annghyfiawn fel ar y cyfiawn. Ni ŵyr dyn gariad, neu gâs, wrth yr hyn oll sydd yn dygwydd dan haul. "Yr un peth a ddamwain i bawb fel eu gilydd; yr un peth a ddamwain i'r cyfiawn ac i'r annuwiol; i'r da ac i'r glân, ac i'r aflan; i'r neb a abertha, ac i'r neb ni abertha: fel y mae'r da, felly y mae'r pechadur; a'r neb a dyngo, fel y neb a ofno dyngu." Fel rheol nid ydyw digofaint Duw yn uniongyrchol yn cael ei datguddio o'r nef yn erbyn annuwioldeb ac annghyfiawnder dynion; yn hytrach, y mae trugareddau cyffredin rhagluniaeth Duw yn cael eu gweini yn gyson ac yn helaeth i'w elynion fel i'w blant. Ac yn wir, ac edrych yn unig ar bethau y byd hwn, gallai ymddangos yn fynych yma fel pe mai ei elynion sydd yn cael y rhan oreu. Y mae y cyfiawn yn damwain iddynt yn ol gwaith y drygionus; a'r drygionus yn dygwyddo iddynt yn ol gwaith y cyfiawn. Dyna Pharaoh ar yr orsedd a Joseph yn y carchar. Dyna "yr annuwiol yn gadarn, ac yn frigog fel y lawryf gwyrdd," a'r duwiol ar hyd y dydd yn cael ei faeddu, a'i gerydd yn dyfod bob bore. Dyna yr annuwiol yn oludog, yn cael ei wisgo â phorphor a lliain main, ac yn cymmeryd byd da yn helaethwych beunydd; a'r duwiol yn gardotyn cornwydlyd tlawd, yn gorwedd wrth ei borth, ac yn chwennychu cael ei borthi â'r briwsion

sydd yn syrthio oddiar fwrdd y cyfoethog. "Gweithredwyr drygioni a adeiladwyd, a'r rhai a demtiant Dduw a waredwyd." "Nid ydynt mewn blinder fel dynion ereill; ac ni ddialeddir arnynt hwy gyda dynion ereill. Eu llygaid a saif allan gan frasder: aethant dros feddwl calon o gyfoeth. Wele, dyma y rhai annuwiol, a'r rhai sydd lwyddiannus yn y byd, ac a amlhasant olud." Dyma fel y mae yn fynych; a phan na byddo rhyw lwyddiant arbenig arnynt, y maent yn cael eu cylchynu i'r fath raddau á thrugareddau Duw, fel na allai neb gasglu oddiwrth eu hamgylchiadau, yr hyn ydynt o ran eu cyflwr ger bron Duw, ac o ran ansawdd eu calonau tuag ato.

Ond yn y mwynhad o'r trugareddau hyn, y mae dynion yn gallu myned rhagddynt mewn bywyd annuwiol a chuddio oddiwrthynt eu hunain yr holl berygl o hyny. Yn wir, y maent yn cymmeryd mantais ar amlder daioni Duw tuag atynt i ychwanegu pechu yn ei erbyn. "Am hyny y cadwynodd balchder hwynt, ac y gwisg trawsder am danynt fel dilledyn. Y maent wedi llygru, yn chwedleua yn ddrygionus am drawsder; yn dywedyd yn uchel. Gosodasant eu genau yn erbyn y nefoedd: a'u tafod a gerdd trwy'r ddaear. Dywedant hefyd, Pa fodd y gwyr Duw? a oes gwybodaeth gan y Goruchaf?" Heb wybod fod daioni Duw tuag atynt yn eu tywys i edifeirwch, y maent, yn ol eu caledrwydd a'u calon ddiedifeiriol, yn trysori iddynt eu hunain ddigofaint erbyn dydd digofant, a datguddiad cyfiawn farn Duw. "O herwydd na wneir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan, am hyny calon plant dynion sydd yn llawn ynddynt i wneuthur drwg." Yn lle defnyddio trugareddau Duw yn gyfryngau cymmundeb âg ef, er adnabyddiaeth helaethach o hono, ac ymddiried llwyrach ynddo, y maent yn eu cymmeryd, yn hytrach, yn lleni

er ei guddio oddiwrthynt; yn lle eu cymmeryd yn fanteision i'w wasanaethu, y maent yn eu troi yn arfau gwrthryfel mwy yn ei erbyn. Y mae iechyd y corph, nerth yr aelodau, hoenusrwydd y cyfansoddiad, yni y meddwl, treiddgarwch y deall, bywiogrwydd y dychymyg, cyfoeth yr athrylith,—holl ddaioni Duw tuag atynt, holl ddoniau Duw iddynt,—y mae y cwbl yn cael eu defnyddio ganddynt i bechu yn fwyfwy yn ei erbyn.

"Eto beth a wnewch yn niwedd hyn?" Fe fydd y trugareddau hyn oll, yn y diwedd, yn cael eu dwyn ymaith oddi arnoch. Ni bydd yr un o honynt yn cael eu gadael i chwi. Ni bydd dim gwisgoedd i'ch dilladu, dim ymborth i'ch diwallu, dim diodydd, cryfion na gweiniaid, i'w hyfed, dim danteithion i'ch boddhau, dim golygfeydd hyfryd i'ch difyru, dim haul i'ch goleuo, dim daear i'w sangu genych, dim awyr i'w hanadlu,—bydd y cwbl wedi eu cymmeryd ymaith. Bydd eich iechyd wedi cilio; eich nerth wedi pallu; eich synwyrau wedi peidio a bod yn gyfryngau cysuron; eich einioes wedi darfod, —amser wedi eich gwthio allan o hono, a thragywyddoldeb wedi eich sugno iddo ei hun. Beth a wnewch chwi yn y diwedd?

Deuwch i edrych ar un yn ymyl y diwedd. Dewch i mewn i'r ystafell. A welwch chwi y truan yna yn y gwely? Un oedd unwaith yn un o'r rhai mwyaf nerthol yn y wlad; un oedd yn ddychryn braidd i bawb o'i amgylch; un a fynai ei ffordd ei hunan er gwaethaf pawb, ac na feiddiai odid neb ei wrthsefyll. Ond y mae y corph cryf wedi gwywo; y fraich gadarn wedi myned yn ddirym; y llygaid bywiog, llymion, wedi pylu, ac yn sefyll yn llonydd; y llais bygythiol wedi colli; dyna fo yn sypyn bychan, tlawd, yn y gwely yna. Y mae yn meddu cyfoeth dirfawr—tai, tiroedd, llongau,—nad oes neb odid yn gwybod faint. Ond y mae yn galed arno.

Y mae yn amlwg mewn ingoedd a phangfeydd dirfawr. Cynnorthwywch ef. Ah! y mae wedi myned yn rhy wan i dderbyn cymhorth. Y mae meddygon goreu y wlad wedi bod yn ymdrechu gwneuthur a allent iddo, ond yn gwbl ofer. Erbyn hyn, dyna gymmaint ag a fedd y byd, iddo ef, ar flaen y bluen yna. Nis gall oddef ychwaneg. Dyna hyny wedi darfod; dyna yr anadliad olaf wedi ei dynu; dyna yr ysbryd wedi dianc; dyna y dyn wedi myned ymaith; y mae wedi cyrhaedd y diwedd. Ond, aroswch, pa beth a gymmerodd efe gydag ef? Beth sydd yma wedi ei golli? Neb; dim, ond efe ei hunan. Y mae wedi gadael y cwbl ar ol. Y mae pob peth yn yr ystafell fel o'r blaen. Y mae pob peth o gylch y tŷ megis cynt. "Wrth farw ni ddwg efe ddim ymaith." Dim. Y mae yr oll oedd ganddo, yma ar ei ol. Y mae y dillad i gyd yn y *wardrobe*: yr arian i gyd yn y tŷ neu yn yr ariandy; y gwinoedd i gyd yn y *cellar*; y mae y tai a'r tiroedd ar ol, yn eu holl wychder, eu holl helaethrwydd, a'u holl werth. Y mae pob peth yma fel yr oeddent pan oedd efe ei hunan yma. Efe ei hunan yn unig sydd wedi ei golli. Yn wir, nid yw efe ei hunan wedi myned yn llwyr. Dyna y dwylaw; ond pa le y mae yr hwn a'u codent mor awdurdodol, er peri y fath arswyd ar y rhai a fygythid ganddo? Dyna y llygaid; ond pa le y mae yr hwn edrychai mor lym drwyddynt? Dyna y corph; yn mha le y mae yr enaid? Dyna y tŷ; yn mha le y mae y preswylydd?

Yn awr, ddynion anwyl, nid dychymyg diystyr ydyw hyn, ond gwirionedd a sylweddolir yn hanes pob un o honom ni. Ond beth a wnewch pan y gwneir hyny? Beth a wnewch pan y bydd gwrthddrychau mwynhad wedi eu cymmeryd ymaith, a'r gallu i fwynhau yn parhau? Yr ymborth wedi darfod, a'r dyn yn fyw. "Anfon Lazarus i drochi pen ei fys mewn dwfr i oeri fy nhafod;

canys fe'm poenir yn y fflam hon." "Ha, fab, coffa i ti dderbyn dy wynfyd yn dy fywyd. Ac heblaw hyn oll, rhyngom ni a chwithau y sicrhawyd gagendor mawr." Beth a wnewch, ddynion anwyl, heb ddim? Dim tafarn i feddwi; dim chwareudy i ganu a dawnsio; dim o lawenydd maswedd ac oferedd; dim o'r cynnaliaeth, na'r cysur, na'r mwynhad, sydd i'w cael yn mhethau y ddaear hon; y cwbl wedi eu dwyn oddiarnoch. "Beth a wnewch yn niwedd hyn?"

II. "Beth a wnewch yn niwedd hyn?" Beth a wnewch pan y bydd yr hyfrydwch ydych yn awr yn gael mewn pechod wedi darfod yn llwyr, a gafael pechod ynoch, a'ch ymroddiad chwithau iddo, yn gryfach nag erioed?

Felly hefyd y bydd yn y diwedd. Mae yn sicr fod annuwiolion yn mwynhau llawer iawn o ryw fath o hyfrydwch mewn pechod yn y byd hwn. Yn eu hymroddiad i'w blysiau llygredig a'u nwydau annuwiol, y maent yn dueddol i dybied mai hwynt-hwy sydd wynfydedig, ac nad oes dedwyddwch i'w gymharu â'r eiddynt hwy. "Yn eu gwleddoedd hwynt y mae'r delyn, a'r nabl, y dympan, a'r bibell, a'r gwin: ond am waith yr Arglwydd nid edrychant, a gweithred ei ddwylaw ef nid ystyriant." "Cymmerant dympan a thelyn, a llawenychant wrth lais yr organ. Dywedant hefyd wrth Dduw, Cilia oddiwrthym; canys nid ydym yn chwennych gwybod dy ffyrdd. Pa beth ydyw yr Hollalluog, fel y gwasanaethem ef? a pha fudd fydd i ni os gweddiwn arno?" Y maent yn cael y fath fwynhad mewn pechod fel nas gallant ffurfio un syniad am grefydd ond fel rhywbeth hollol annghydweddol â hyfrydwch. Y mae anwiredd yn felus i'w genau. Yn eu hymroddiad i foddio eu chwantau, y maent yn annghofio pob gofid. "Dyfroedd lladrad sydd felus, a bara cudd sydd ber-

aidd." "Deuwch, meddant, cyrchaf win, ac ymlanwn o ddiod gref; a bydd yfory megis heddyw, a mwy o lawer iawn." "Bwytawn ac yfwn; canys yfory marw yr ydym."

Yn y mwyniant hwn sydd mewn pechod y mae yr hudoliaeth iddo i ddyn. Y mae yn addaw rhyw hyfrydwch, rhyw fwynhad iddo, nas gall, yn ol y demtasiwn, ei gael un ffordd arall. Fel yna y mae y bachgen ieuanc yn cael ei ddenu i'r dafarn, at y cwmni llawen a'r diodydd meddwol. Fel yna y mae y ferch ieuanc yn cael ei hudo oddiar lwybrau gwylder a rhinwedd, nes, yn raddol, anafu, ïe, andwyo ei chymeriad, dinystrio ei gobeithion, gwaradwyddo ei theulu, tori calon ei rhieni, a pheryglu difetha ei henaid ei hunan yn uffern byth. Dyna fel y mae y fenyw ddieithr, halogedig, ac isel, yn temtio y dyn ieuanc hawddgar yna, i'w dilyn i'r tŷ sydd yn ffordd i uffern; "Hi a'i troes ef â'i haml eiriau teg, ac â gweniaith ei gwefusau hi a'i cymhellodd ef"; "Gwefusau y ddieithr a ddiferant fel y dil mel, a'i genau sydd lyfnach nag olew." Trwy yr hyfrydwch sydd yn perthyn i bechod, y mae nerth yn y demtasiwn iddo. Y mae yn wir mai pleser isel, ac isel iawn ydyw, ac nad ydyw i'w gael ond ar draul diraddiad rhanau uchaf ei natur; yr un pryd, y mae yn cyfarfod â rhyw dueddiadau a blysiau sydd yn naturiol i ddyn, ac felly y mae dynion yn gyffredinol yn cael eu dwyn dan ddarostyngiad iddo. Y mwyniant yma yn unig sydd gan bechod i'w addaw. Nid oes dim ennill i'w gael arno, nac yn cael ei addaw ganddo. Nid yw yn rhoddi dim mwy o nerth i'r cyfansoddiad, dim mwy o fywiogrwydd a chraffder i'r deall, dim mwy o yni a gwroldeb i'r ysbryd. Dim mwy a ddywedais i? Na: colled, gwanhâd, dinystr, ydyw yn yr holl ystyriaethau hyn. Ond y mae yr hyfrydwch y mae dynion yn gael ynddo yn dylan-

wadu cymmaint arnynt, fel ag i'w gwneuthur yn hollol ddiystyr o bob rhybudd a roddir iddynt oddiallan yn ei erbyn; ïe, yn wir, yn ddiystyr o bob prawf a gânt ynddynt eu hunain, o'i effeithiau dinystriol ar iechyd a nerth y corph, ar gysuron eu hamgylchiadau, ar fywiogrwydd eu galluoedd deallawl, ac ar dynerwch a chywirdeb eu teimladau moesol. Y mae y chwant yn felus-chwant; ac y mae y melusder sydd iddo yn y genau yn peri i'r dyn annghofio, neu, os cofia, yn peri iddo ddiystyru, y brathiad angeuol, y pigiad marwol, sydd yn ei ddilyn. Y mae y diwedd chwerw fel y wermod, llym fel cleddyf daufiniog, yn cael ei annghofio yn gwbl, yn y blas fel dil mel sydd iddo ar daflod y genau.

Ond, "Beth a wnewch yn niwedd hyn?" Yn y diwedd, fe fydd yr hyfrydwch wedi darfod, a'r ochain wedi dechreu. Y melusder wedi diflanu yn gwbl ac am byth, a dim yn aros ond y wermod, y chwerwder—y brathiad, y pigiad, yr archoll, y gwarth, y cywilydd na ddileir; galar a gruddfan a gwae; niwl tywyllwch yn dragywydd. Mwg eu poenedigaeth yn esgyn i fyny yn oes oesoedd. Dim gorphwysdra ddydd na nos yn oes oesoedd. Y mae y dyn yn edrych yn awr ar ei bechodau fel cadwyni i'w addurno; ond yn y diwedd fe wel nad ydynt ond maglau i'w ddal, rhaffau i'w rwymo. "Ei anwiredd ei hun a ddeil yr annuwiol, ac efe a ddelir â rhaffau ei bechod ei hun." Ah! fechgyn anwyl, a ydych chwi yn gweled yr hyn ydych yn ei wneyd wrth bechu? Cloddio pwll y byddwch eich hunain yn suddo iddo; gosod maglau i'ch dal eich hunain ynddynt? gwau rhaffau i'ch rhwymo eich hunain â hwynt, a hyny am byth.

Ac, er hyn oll, fe fydd gafael pechod yn y dyn yn gryfach nag erioed, a'i ymroddiad yntau iddo yn fwy

nag erioed. Nid wyf fi yn proffesu deall hyn yn gwbl. Ond y mae yn amlwg mai felly y bydd. Mae y dyn yn fwy annuwiol yn uffern nag y bu erioed yn y byd; ac eto nid yw yn cael dim hyfrydwch yn ei annuwioldeb. Mi a ddywedais fod yr hyfrydwch y mae dyn yn gael mewn pechod yn y byd hwn, yn cael ei fwynhau ganddo ar draul diraddiad rhanau uchaf ei natur. Ond yn y byd a ddaw, fe fydd holl natur dyn yn fyw ac yn effro, a'r blysiau llygredig a'r nwydau annuwiol yn eu llawn rym, yn ymwancio o'i fewn, mewn gwrthdarawiad tragywyddol yn erbyn ei reswm a'i gydwybod; ac felly bydd ei enaid yn fath o Aceldama diddiwedd. Yn wir yno, bechadur—O! gochel fyned yno,—"Dy ddrygioni dy hun a'th gospa di, a'th wrthdro â'th gerydda." Y mae pechod ei hunan wedi troi yn gospedigaeth. Nid unig y mae pechu yma yn cael ei gospi yno, ond y mae y pechod yno ei hunan yn gospedigaeth. Beth a wnewch, yn ngafael gelyniaeth dragywyddol, a'r elyniaeth ei hunan yn boenedigaeth?

III. "Beth a wnewch yn niwedd hyn?" Beth a wnewch pan y bydd y gydwybod wedi deffro o ddifrif i'ch condemnio, ond pob gobaith am waredigaeth wedi darfod am byth?

Dyna eto fel y bydd yn y diwedd. Yn awr, fe ddichon eich bod yn cael llonydd gan eich cydwybodau i gyflawni pob drwg. Fe fu amser arnoch yr oedd y gydwybod yn anesmwyth ac aflonydd, yn siarad yn uchel, ac yn gryf, ac yn groew, yn eich erbyn yn eich pechodau. Gelwch i'ch cof eich teimladau pan yn dechreu gwyro o lwybrau rhinwedd; yr anwiredd cyntaf; y twyll cyntaf; yr annghyfiawnder cyntaf. A oes eisiau i mi fyned yn mhellach? Y lladrad cyntaf; y meddwi cyntaf; yr aflendid cyntaf. Ah! onid oedd y gydwybod yn condemnio, yn bygwth, yn cospi? Ydych chwi

ddim yn cofio yr ymryson hir a fu yna rhwng cydwybod a chwant? Ac wedi i chwant drechu y tro cyntaf, fel yr oedd cydwybod yn cyffroi ac yn dannod ac yn bygwth? Ond yn raddol, gan gael ei diystyru ac anufuddhau iddi, ac wrth ganfod nad oedd un sylw yn cael ei wneuthur o'i hawliau a'i hawdurdod, aeth i siarad yn ddistawach ac yn anamlach ac yn fwy bloesg, nes o'r diwedd y tawodd braidd yn gwbl, ac fe allai, gyda rhai o honoch, erbyn hyn, yn hollol, fel nad ydyw yn dywedyd gair, a'ch bod, o ran cydwybod, yn rhydd i wneuthur unrhyw beth. "Y rhai wedi diddarbodi, a ymroisant i drythyllwch, i wneuthur pob aflendid yn un chwant." "Wedi diddarbodi." Y mae y gair yn arwyddo eu bod wedi colli, wedi myned tu hwnt i bob teimlad, i bob gofid, i bob cywilydd. Ac, yn y dideimladrwydd yna, y maent yn ymollwng,—na, y mae y gair yn rhy wan,—y maent yn ymroddi, yn bwrw eu hunain drosodd, i lygredigaeth dyfnach, er mwyn eu parotoi eu hunain i gyflawni pob aflendid gyda chybydd-dra, heb un terfyn arno. Y mae dynion fel hyn yn gwbl ddideimlad, ac y mae pob peth ellir ddwyn ger bron eu meddyliau yn gwbl ddieffaith. Dygwch ger eu bron yr ystyriaethau mwyaf difrifol; cyflwynwch ger eu bron y cymhelliadau mwyaf argyhoeddiadol; ceisiwch chwareu ar y tannau mwyaf tyner yn eu natur; neu ynte cyhoeddwch y bygythion mwyaf ofnadwy; cenwch y bibell fwynaf, neu yr alarnad fwyaf pruddaidd, ac y mae y cwbl yr un, nid oes dim yn tycio; y maent yn ymddangos wedi colli pob teimlad, ac nad oes dim a all fènu arnynt. Gobeithio, gan Dduw, nad oes rhai fel yna yma heddyw: ond nid wyf heb ofni nad oes llawer o rai fel yna yn ein gwlad,—dynion yn cael llonydd hollol gan eu cydwybodau i bechu.

Ond nid fel yna y bydd byth. Ac Oh! "Beth a

wnewch yn niwedd hyn?" Yn y diwedd, dyna y natur foesol yn ymddadebru; dyna y gydwybod yn deffro; dyna yr holl oes yn noeth ac yn agored ger bron eich meddwl. Y mae yn ymddangos fod yna ryw allu yn eiddo i ddyn, i ail godi yr holl argraffiadau a wnaed unwaith ar y meddwl, drachefn i adgof, hyd yn nod wedi iddynt gael eu hannghofio yn gwbl. Chwi a glywsoch, y mae yn ddiammeu, am ddynion yn ymddangos wedi boddi, ond drachefn yn cael eu hadfer i fywyd, yn tystio eu bod, pan yn boddi, ar amrantiad megis, yn gweled eu holl oes ar unwaith yn cael ei dwyn ger eu bron; eu bod yn gweled y cwbl, nid yn olynol, ond yn gyfamserol, ar yr un pryd, fel pe yn edrych arnynt oll gyda'u gilydd mewn drych. Y mae yn amheus, yn wir, a oes dim yn colli yn y greadigaeth yma. Y mae Mr. Charles Babbage, yn y *Ninth Bridgewater Treatise*, yn sylwi fod yn eithaf posibl fod pob gair a lefarwyd erioed, yn swnio yn rhywle yn yr awyr eto; a bod y ddaear a'r awyr a'r môr, yn dystion parhaus a thragywyddol o'n holl weithredoedd. Ac y mae y darganfyddiadau rhyfedd diweddar, o'r posibilrwydd i drosglwyddo swn i unrhyw bellder, ac nid yn unig hyny, ond i'w gadw am unrhyw amser; cadw araeth gyfan, gyda'r geiriau—yr ebychiadau—y pesychiadau—pob rhugliad yn y gwddf—yr aceniad—y goslef—y floedd—y cri—y wylo—cadw y cwbl yn fanwl, a'u had-gynnyrchu yn mhen blynyddoedd neu oesoedd; fel, pe buasai y ddyfais yn adnabyddus yn eu dyddiau hwy, ac wedi ei chymhwyso at eu pregethau, y gallasai lleisiau Henry Rees, neu John Jones, Talsarn, neu John Elias, neu Ebenezer Morris, neu Daniel Rowland, neu Howell Harris, fod yn ein clustiau ni yma heddyw,—y mae y darganfyddiadau hyn, dybygid, yn profi yn bendant gywirdeb sylw Babbage. Pa fodd bynnag, rhywbeth

felly ydyw cydwybod yn cadw gweithredoedd y dyn i gyd mewn cof, ac fe fydd yn eu had-gynnyrchu ger ei fron yn y diwedd. Y mae hi, enaid, pan na byddi di yn meddwl yn cadw coffadwriaeth fanwl o'r cwbl a wneir genyt. Er nad ydyw yn siarad, y mae megis yn ysgrifenu yn gyson. Fel dyn yn ysgrifenu gyda *sympathetic ink*. Y mae wedi bod yn ysgrifenu am amser maith, wedi llanw amryw leni o bapyr; eithr nid oes dim i'w weled. Nis gall neb ddarllen yr un linell a ysgrifenodd. Ond, aroswch. Daliwch y lleni o flaen y tân, a dyna y llythyrenau yn codi, y naill ar ol y llall, nes gwneyd y cwbl yn eithaf amlwg. Ah! y mae y gydwybod yn ysgrifenu ar daflen dy feddwl di, fy machgen i; ac er nad wyt ti heddyw yn gallu darllen ond ychydig neu ddim;—yn "y diwedd," dyna y Duw Mawr yn cydio yn dy feddwl, ac yn ei ddal yn ngwres y byd tragywyddol, a dyna yr holl oes yn y golwg—yr holl bechodau yn hawdd eu darllen—pob gair segur; pob llw rhyfygus; pob ymadrodd aflan; pob gweithred ddrwg; pob meddwl annuwiol; pob teimlad ansanctaidd,—pob cynnygiad a wrthodwyd,—pob rhybudd a ddiystyrwyd,—pob cynghor a wawdiwyd, pob tueddiad daionus a lethwyd,—pob adduned a dorwyd; dyna y cwbl yn y golwg ac yn fyw, yn eu holl ysgelerder, ger bron dy feddwl.

A'r cwestiwn ydyw, Beth a wnei y pryd hyny? Oblegyd ni bydd dim ymwared i'w gael. Pe delit ti i deimlo heddyw, yr wyt ti yn nghyraedd ymwared. Y mae y gwaed yn ei rinwedd i buro; y mae yr Iawn yn ddigon i symmud yr euogrwydd; y mae y ffynnon yn agored i lanhau. Ond y pryd hyny, ni bydd yr un ymwared i'w gael. Dim gwaed; dim Iawn; dim maddeuant; dim glanhad. Y mae yr euog mewn un byd, a'r Iawn mewn byd arall; y Ceidwad ar y ddaear, a'r colledig yn uffern, a gagendor mawr rhyngddynt

â'u gilydd. Beth a wnewch? Beth hefyd ond ochain, "Pa fodd y caseais i addysg! pa fodd y dirmygodd fy nghalon gerydd! ac na wrandewais ar lais fy athrawon, ac na ostyngais fy nghlust i'm dysgawdwyr!" Bydd dydd gras wedi darfod; yr amser cymmeradwy wedi myned heibio; drws trugaredd wedi ei gau. "Yna y galwant arnaf, ond ni wrandawaf; yn fore y'm ceisiant, ond ni'm cânt: canys cas fu ganddynt wybodaeth, ac ofn yr Arglwydd ni ddewisasant. Ni chymmerent ddim o'm cynghor i; dirmygasant fy holl gerydd. Am hyny hwy a gânt fwyta ffrwyth eu ffordd eu hunain, a'u llenwi â'u cynghorion eu hunain." "Beth a wnewch yn niwedd hyn?"

IV. Unwaith eto,—"Beth a wnewch yn niwedd hyn?" Beth a wnewch pan y bydd raid i chwi ymddangos yn y farn i roddi cyfrif am eich gweithredoedd, a phan yr ymddygir tuag atoch byth yn ol y cyfrif hwnw?

Dyna eto fel y bydd yn y diwedd. "Gosodwyd i ddynion farw unwaith, ac wedi hyny bod barn." "Fe'n gosodir ni oll ger bron gorsedd-fainc Crist." "Canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist; fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynnag ai da ai drwg." "Yna y dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu, ac y dychwel yr ysbryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef." Fe fydd y farn hono yn fanwl iawn: "Canys Duw a ddwg bob gweithred i farn, a phob peth dirgel, pa un bynnag ai da ai drwg"; "Am bob gair segur a ddywedo dynion, y rhoddant hwy gyfrif yn nydd y farn"; "Yn y dydd y barno Duw ddirgeloedd dynion, yn ol fy Efengyl i, trwy Iesu Grist." Y mae Barn i fod,—Barn y Dydd Mawr. "O herwydd iddo osod diwrnod yn yr hwn y barna efe y byd mewn cyfiawnder, trwy y gwr a ordeiniodd efe." "A Mab y dyn pan ddêl yn ei ogon-

iant, a'r holl angylion sanctaidd gydag ef, yna yr eistedd ar orsedd-fainc ei ogoniant. A chyd-gesglir ger ei fron ef yr holl genhedloedd." "Mi a welais y meirw, fychain a mawrion, yn sefyll ger bron Duw; a'r llyfrau a agorwyd: a barnwyd y meirw wrth y pethau ysgrifenedig yn y llyfrau, yn ol eu gweithredoedd." Fe fyddaf fi yno. Fe fyddwch chwithau yno. Fe fydd raid i chwi fod yno. Nid apelio at eich rheswm a cheisio eich perswadio i weled y rhesymoldeb a'r priodoldeb o ymddangos yno a wneir. Nage: "rhaid i ni ymddangos." Ac, O! ddynion anwyl, ystyriwch. Y mae y meddwi yna i ddyfod i'r farn. Y mae y cydorwedd a'r anlladrwydd a'r aflendid yna i ddyfod i'r farn. Y mae y llwon a'r rhegfeydd yna i ddyfod i'r farn. Y mae y geiriau aflan masweddol yna i ddyfod i'r farn. Y mae y celwyddau yna ydych yn ddyweyd wrth brynu a gwerthu i ddyfod i'r farn. Y mae y twyll a'r celwydd a'r anghyfiawnder yna i ddyfod i'r farn. Y mae yr ysbryd bydol, cybyddlyd yna i ddyfod i'r farn. Y mae y bywyd diweddi yna i ddyfod i'r farn. Y mae yn rhaid dyfod. Ni fedrwch chwi ddim peidio.

Ac, yn ol y farn hono, yr ymddygir tuag atoch byth. Barn dragywyddol a fydd. Nis gellir apelio byth oddiwrth ei dedfryd. Bydd yn troi am byth arnoch yn ol yr Ewch, neu y Deuwch, y diwrnod hwnw.

Yn awr, "Beth a wnewch yn niwedd hyn?" Beth a wnewch yn nydd y farn? Pa fodd yr ymddengys yr euog ger bron y Barnwr? Pa y fodd saif y gwrthryfelwr yn ngwyneb ei Frenhin? "A bery dy galon, a gryfha dy ddwylaw, yn y dyddiau y bydd i mi a wnelwyf â thi?" (Ezec. xxii. 14). "Pwy a saif o flaen ei lid ef? pwy a ymgyfyd yn nghynddaredd ei ddigofaint ef? Ei lid a dywelltir fel tân, a'r creigiau a fwrir i lawr ganddo." Dacw Ioan yn cael golwg ar y diwrnod mawr, ac yn

darlunio y modd y bydd arnoch, os yn annuwiol: "Ac wele bu daeargryn mawr; a'r haul a aeth yn ddu fel sachlen flew, a'r lleuad a aeth fel gwaed. A ser y nef a syrthiasant ar y ddaear, fel y mae'r ffigysbren yn bwrw ei ffigys gleision, pan ei hysgydwer gan wynt mawr. A'r nef a aeth heibio fel llyfr wedi ei blygu yn nghyd; a phob mynydd ac ynys a symmudwyd allan o'u lleoedd. A brenhinoedd y ddaear, a'r gwŷr mawr, a'r cyfoethogion, a'r pen-capteniaid, a'r gwŷr cedyrn, a phob gwr caeth, a phob gwr rhydd, a ymguddiasant yn yr ogofeydd, ac yn nghreigiau y mynyddoedd; ac a ddywedasant wrth y mynyddoedd a'r creigiau, syrthiwch arnom ni, a chuddiwch ni o wydd yr hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd-fainc, ac oddiwrth lid yr Oen: canys daeth dydd mawr ei ddigter ef; a phwy a ddichon sefyll?" Beth a wnewch? "Pwy a saif o flaen ei lid ef?" "Yr annuwiolion ni safant." Ond fe fydd rhyw rai yn sefyll y diwrnod hwnw, yn gallu croesawu y Barnwr yn ei ddyfodiad, gan ddywedyd, "Dacw y Duw y gobeithiasom ynddo. Gorfoleddwn a llawenychwn yn ei iachawdwriaeth ef." Arweinied Ysbryd Duw chwi, ddynion anwyl, i ystyried y diwedd mewn pryd. Dyged chwi i adnabod Crist, ac i'w garu, ac i aros ynddo, "fel pan ymddangoso efe y byddo hyder genych, ac na chywilyddioch ger ei fron ef yn ei ddyfodiad."

# PREGETH XVII.

## TYSTIOLAETH DYNION A THYSTIOLAETH DUW.

1 IOAN V. 9.

"*Os tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn, y mae tystiolaeth Duw yn fwy: canys hyn yw tystiolaeth Duw, yr hon a dystiolaethodd efe am ei Fab.*"

Y mae yn amlwg y dichon i'r golygiadau, yr egwyddorion, a'r teimladau a addefir gan ddynion yn rymus gyda golwg ar bethau cyffredin, gael eu defnyddio yn hollol briodol fel dadleuon er eu cymmell at grefydd. Ac fel hyn y mae yr Arglwydd yn ei chyflwyno ger ein bron yn ei Air. Nid yw yn gofyn genym ddim annghyffredin, dim yr ydym yn ddieithr iddo, nac yn ddibrofiad o hono; nid yw yn ceisio genym ond gweithrediad teimladau hollol arferol i ni, ond yn unig iddynt gael eu cyfeirio at wrthddrychau teilwng i'w natur, ac yn ol y ddeddf yr ydym yn ddarostyngedig iddi. Pethau cyffredin i ddynion yn mhob oes a gwlad ac yn mhlith pob cenedl ydyw edifarhau, galaru, ofni, casâu, credu, gobeithio, caru, llawenhau, &c., a'r oll y mae yr Arglwydd yn ofyn oddiwrth ddyn yn ei grefydd ydyw arfer y teimladau cyffredin hyn at wrthddrychau ac mewn amgylchiadau priodol, ac yn ol eu pwys cymharol. Yn awr, y mae y Goruchaf yn fynych yn yr Ysgrythyrau yn ymostwng i ymresymu â dynion ar y tir hwn. Y mae yn defnyddio yr egwyddorion a'r golygiadau a gydnabyddir ganddynt hwy eu hunain, ac yn ei dynu ei hunan i gydmariaeth yn y cymhwysder a dybir mewn dynion fel sail teimladau ac ymddygiadau anrhydeddus tuag atynt, yn ddadl dros weithrediad

cryfach yr un teimladau tuag ato ef. "Mab a anrhydedda ei dad, a gweinidog ei feistr; os wyf fi Dad, pa le y mae fy anrhydedd? os ydwyf fi feistr, pa le y mae fy ofn?" Y mae yr un egwyddor yn cael ei dangos mewn llawer o eiriau ereill, a dyna y mae yn amlwg ydyw ystyr y testyn hwn. "Os tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn, y mae tystiolaeth Duw yn fwy."

Y mae y geiriau yn cyferbynu tystiolaeth dynion â thystiolaeth Duw, ac yn ymddadleu oddiar y derbyniad a roddir i'r leiaf rwymedigaeth i dderbyn y fwyaf. Ac at hyny y ceisir galw eich sylw.

I. Yr egwyddor a gydnabyddir yma: "tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn."

II. Y casgliad a dynir oddiwrth yr hyn a gydnabyddir: "y mae tystiolaeth Duw yn fwy."

I. Y ffaith a ganiateir yma: "tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn."

Y mae ffydd, y mae yn amlwg, yn elfen hollol angenrheidiol yn nghyfansoddiad y gymdeithas ddynol. Y mae ein perthynas â'n gilydd y fath ag sydd yn gwneuthur yn hollol angenrheidiol i ni ddybynu mewn lliaws o amgylchiadau ar wybodaeth a barn ereill, pa fodd i weithredu, ac yn yr holl amgylchiadau hyny yr ydym yn gorfod derbyn tystiolaeth dynion. Yn wir, prin y gellir meddwl am ddim a ddygir yn mlaen yn ein byd ni nad ydyw tystiolaeth dynion yn cael ei dderbyn ynddo.

Edrychwch ar drafnidiaeth y byd. Fe ddarfyddai bywyd pob masnach pe darfyddai ffydd yn nhystiolaeth dynion. Ar air noeth dyn na welodd mo hono erioed, sydd yn cyfanneddu yn yr India draw, neu mewn rhyw barth arall mor bellenig, y mae y masnachydd yn anturio eiddo mawr, ac er cael ei siomi yn fynych yn nhystiolaethau y cyfryw, nid yw hyny yn rhwystro iddo roddi crediniaeth drachefn mewn rhai ereill. Y mae

gwybodaeth y byd hefyd, yn ei holl gangenau, i raddau mawr, yn gorphwys ar dystiolaeth dynion. Nid oes yr un dyn yn y byd wedi gwneyd prawfiadau ei hunan o'r holl ffeithiau sydd yn cyfansoddi unrhyw gangen o wybodaeth. Y mae egwyddorion mawr—prif elfenau—y wybodaeth yn ei feddwl, wedi eu profi ganddo yn bersonol trwy yr ymchwil a'r ymresymu manylaf, ond am y ffeithiau cysylltiedig â phob un, y mae y corph o honynt yn cael eu derbyn gan bawb, ar dystiolaeth ereill. Y mae gwybodaeth hanesiol, mewn modd arbenig, o'r natur hwn. Nid ar ein sylw na'n profiad personol y mae hono yn gorwedd, yn y radd leiaf, ond ar ein hymddiried yn nhystiolaethau y rhai a gofnodasant y dygwyddiadau; ac yr ydym yn derbyn yr hanesion yn fynych fel gwirionedd, hyd yn nod pan y cyflwynir i ni yn aml, ynddynt hwy eu hunain, brofion o anmherffeithrwydd yr haneswyr. Y mae ein gwybodaeth ddaearyddol hefyd, gan mwyaf, o'r natur hwn. Nid ydym ni erioed wedi teithio y ganfed ran o wledydd y ddaear; nis gwyddom ni ond ychydig am danynt trwy ymweliad personol â hwynt; ond yr ydym yn derbyn tystiolaethau y rhai a wnaethant hyny, er nad oes genym un adnabyddiaeth o honynt, ac er eu bod yn filoedd lawer; ac yr ydym yn teimlo mor hyderus yn hanfodaeth y lleoedd hyny, ac yn y cynnyrchion a berthyn iddynt, ag yr ydym am y lleoedd y buom ein hunain ynddynt. Pe troem at feddyginiaeth eto, ni a gaem yr un prawf yno drachefn o'r ffydd a roddir yn nhystiolaeth dynion. Y mae un claf a'i gyfeillion yn ymddiried bywyd i dystiolaeth y meddyg. Ac y mae y meddyg ei hunan yn dybynu i fesur mawr ar dystiolaeth rhai ereill. Nid oes yr un meddyg yn y byd wedi gwneyd prawf ei hunan o bob cyfarwyddyd; pan y cyfyd dan ei sylw ryw afiechyd na chyfarfu efe âg ef o'r blaen, y mae yn ddibetrus yn

derbyn tystiolaethau ei gyd-feddygon am y dull y trinid yr afiechyd ganddynt, ac yn ymddiried diogelwch ei gymeriad ei hunan a bywyd y claf i'w ffydd yn eu tystiolaeth.

Yn llysoedd barnol y byd yn arbenig eto, "tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn." Ac, fe allai, mai at hyn yn uniongyrchol y cyfeiriai yr Apostol yn y lle hwn. "Y mae hefyd yn ysgrifenedig yn eich cyfraith chwi mai gwir yw tystiolaeth dau ddyn;" "Yn ngenâu dau neu dri o dystion y mae pob gair yn safadwy;" "Yr un a ddirmygai gyfraith Moses a fyddai farw heb drugaredd dan ddau neu dri o dystion." Dyma y cwbl yn y llys barnol —tystiolaeth. Mae yr achos yn troi, nid ar fedrusrwydd y dadleuwr, oddieithr iddo allu llychwino hono a chamarwain y barnwr a'r rheithwyr; nid ar deimladau personol y barnwr na'r rheithwyr, ond ar y dystiolaeth. Y mae rhyddid, cymeriad, a bywyd y truan sydd a'i achos dan brawf yn dybynu ar dystiolaeth dynion.

Yn wir, nid oes modd i ni beidio gweled ein bod yn mhob peth, a chyda phob peth, yn y byd hwn, dan fath o angenrheidrwydd i dderbyn tystiolaeth dynion. Nis gallwn gymmaint a bwyta un pryd o fwyd heb ddwyn prawf i'n cydnabyddiaeth o'r egwyddor hon; ac heb hyn fe syrthiai y gymdeithas ddynol ar unwaith yn ddrylliau.

II. Y casgliad a dynir gan yr Apostol oddiwrth yr addefiad hwn. "Y mae tystiolaeth Duw yn fwy,"—yn fwy teilwng o dderbyniad. Y mae yr Apostol yma yn dadleu yr afresymoldeb o i ni annghredu Duw, oddiar y ffydd gyffredin a roddir genym mewn dynion. Duw sydd yn ymwneyd â dynion yn yr Efengyl. Nid tystiolaeth y pregethwr sydd yma, ond tystiolaeth Duw.

1. Ni a allwn yn rhesymol gasglu fod yr achos ar yr hwn y mae Duw yn ymddangos yn dyst yn fwy pwysig

nag un achos arall, ac felly yn fwy teilwng o'n sylw. Yr ydym yn arfer ar hyd y ddaear yma barnu pwys achosion cyfreithiol wrth radd y rhai fyddo yn ymddangos yn dystion arnynt. Ychydig wythnosau yn ol, yr ydych yn cofio, yr oedd Lord John Russell, un fu yn Brif-weinidog y Deyrnas, yn cael ei alw yn dyst mewn achos, ac yr oedd ei bresennoldeb ef yn y llys yn rhoddi pwysigrwydd i'r achos. Ond beth raid fod pwys yr achos hwnw y mae Duw y nefoedd yn ymddangos yn dyst arno, yn sefyll yn y *witness-box*, yn cymmeryd ei holi gan ofn a'i groes-holi gan amheuaeth ; i geisio ei wanhâu gan euogrwydd, a'i ddyrysu gan annghredin-iaeth. Y mae yn rhaid fod rhyw annhraethol, anfeidrol bwys yn yr achos a ddygai yr hwn y mae y nefoedd yn cywilyddio ger ei fron, ac uffern yn crynu gan ei ofn, i ymostwng fel hyn. Ond pa bwys bynnag a berthyn iddo, ein hachos ni ydyw, ac y mae yn ofnadwy os yn y diwedd nad ydyw yn cael oddiwrthym un ystyriaeth.

2. Y mae cymeriad y tyst yn gyfryw ag sydd yn rhoddi y sail gadarnaf i ffydd ynddo. Nis gall fod un gydmhariaeth rhyngddo yn hyn â dynion, yr ydym yn rhoddi ymddiried mor hyderus ynddynt. Y mae pob perffeithrwydd y gellid meddwl am dano a'i ddymuno mewn tyst yn cyd-gyfarfod ynddo.

(1.) Y mae yn anfeidrol mewn gwybodaeth, fel nas gall gyfeiliorni. Dichon hyn gymmeryd lle gyda'r ffyddlonaf o blant dynion. Nid yw eu gwybodaeth ond terfynol. Nid yw eu galluoedd ond gweiniaid. Y maent yn agored i gael eu twyllo mewn amrywiol ffyrdd. Dichon hyd yn nod i'w synwyrau eu hunain eu cam-arwain. Gallant mewn llawer o amgylchiadau gael eu siomi gan eu llygaid, a'u twyllo gan eu clustiau ; gall eu harchwaeth, eu teimlad, a'u harogliad roi cam-olygiadau iddynt. Gall y naill synwyr gyfarwyddo fel

hyn, a synwyr arall roddi cyfarwyddyd gwahanol. Gall y glust feddwl mai Jacob sydd yna, pryd y mae y teimlad yn dywedyd Esau. Ffaeledig o angenrheidrwydd ydyw dyn. Y mae pob cyfrwng gwybodaeth sydd ganddo yn agored i roddi cam-hysbysiad iddo, ac i'w arwain yn y canlyniad i roddi tystiolaeth annghywir. Eto yr ydym yn derbyn tystiolaeth dynion, er gwybod eu bod yn ffaeledig. Ond y mae cyfeiliorni yn anmhosibl i'r Arglwydd. Y mae efe yn gwybod pob peth. Y mae yn gweled y diwedd o'r dechreu, ac er cynt yr hyn ni wnaed eto. Y mae ei wybodaeth yn anfeidrol a'i ddeall yn aneirif. Y mae nid yn unig yn gwybod pob peth, ond yn eu gwybod yn eu holl gysylltiadau, ac yn eu holl gysylltiadau posibl yn gystal a gwirioneddol. Y mae yr oll a fu, y sydd, ac a fydd yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef. Y mae yn adnabod dyfnder ein trueni, rhifedi ac ysgelerder ein pechodau, maint ein heuogrwydd. Y mae yn adnabod i berffeithrwydd ofynion y ddeddf, hawliau cyfiawnder, ac iawnderau ei lywodraeth. Y mae yn gweled trwy holl deimladau holl ddeiliaid ei ymerodraeth, ac nid casgliad ond sicrwydd iddo ef ydyw pa gymhelliadau sydd yn angenrheidiol er cadw y ffyddlawn mewn ufudd-dod, ac adfer y gwrthryfelwr i ffyddlondeb. Y mae ganddo adnabyddiaeth berffaith o gymeriad Iesu Grist, urddas ei berson, dyfnder ei ddarostyngiad, mawredd ei ddioddefaint, gwerth ei angeu, nerth ei fraich, gras ei galon, ac awdurdod ei swydd. Y mae yn adnabod holl elynion y pechadur, nerth llygredigaeth ei galon, holl ddichellion Satan, pob hudoliaeth all ymosod arno, pob profedigaeth y rhaid iddo ei chyfarfod, holl droadau peryglus ei daith trwy yr anialwch dyrys, pob baich sydd iddo i'w ddwyn, pob rhiw sydd iddo i'w ddringo, pob awel chwytha arno; y mae yn gwybod nerth marwolaeth,

dyfnder yr afon, grym y dwfr, tywyllwch y fynedfa; y mae yn gwybod sobrwydd y farn, manylrwydd y cyfrif, anmhleidgarwch y ddedfryd. A pha beth, â'r holl wybodaeth hon ganddo, yw ei dystiolaeth er y cwbl. "Yr hwn y mae y Mab ganddo, y mae y bywyd ganddo. Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol"; er maint ei euogrwydd, er dyfnder ei dlodi, er cryfed ei lygredd, er amledd ei elynion, er llid a chyfrwysdra uffern,—ond derbyn y Mab, y mae yn ddiogel byth.

(2.) Y mae yn anfeidrol sanctaidd, fel nas gall yn fwriadol dwyllo neb. Gall hyn fod ac, ysywaeth, y mae yn bod yn fynych iawn yn mysg dynion. Er eu tyngu i ddywedyd y gwir, yr holl wir, a dim ond y gwir, eto yn troi allan yn au-dystion,—yn tystiolaethu yr hyn a wyddant sydd gelwydd, yn dwyn cam-dystiolaeth yn erbyn eu cymmydog. Fel hyn y condemniwyd ac y claddwyd y cyfiawn lawer gwaith yn ein byd ni. Fel hyn y lladdwyd Tywysog y bywyd, ac fel hyn yn fynych y mae yr euog yn dianc a'r diniwed yn dioddef. Ond er hyn oll,—er gwybod fod gau-dystiolaethau gannoedd o weithiau wedi eu dwyn—er deall mai yr un yw y natur ddynol yn mhob oes—er gwybod ein bod yn agored fel hyn ar bob achos a phob amser i gael ein twyllo, eto "tystiolaeth dynion yr ydym yn ei derbyn." Pa faint mwy ynte y dylem dderbyn tystiolaeth Duw? "Duw gwirionedd a heb anwiredd, cyfiawn ac uniawn yw efe"; "Y mae yn lanach ei lygaid nag y gall edrych a'r ddrwg; nis gall edrych ar anwiredd"; "Y mae yn anmhosibl i Dduw fod yn gelwyddog." Y mae mor anmhosibl iddo ef dwyllo ereill ag ydyw iddo gael ei dwyllo gan ereill. Nid yw ei wybodaeth yn ddim mwy o ddiogelwch rhag y naill nag ydyw ei sancteiddrwydd o ddiogelwch rhag y llall. Y mae pob pelydryn

o oleuni gwybodaeth sydd ynddo yn llawn gwres purdeb. Yr Arglwydd Dduw ydyw, yn cadw gwirionedd yn dragywydd.

3. Nis gall efe byth ddyfod dan lywodraeth unrhyw amgylchiad a all ei dueddu i gilio oddiwrth y gwirionedd. Y mae dynion weithiau oddiar wendid—ofn rhyw rai galluog—ofn colli eu hewyllys da a thynu eu gwg arnynt,—yn aberthu y gwirionedd, yn cuddio rhan fawr o'r hyn sydd yn angenrheidiol i wneyd y dystiolaeth yn onest. Y mae ennill y byd hwn,—cael rhyw fantais iddynt eu hunain,—yn dylanwadu ar ereill yn fynych i'r un peth. Yn aml iawn, drachefn, y mae awydd gwneyd rhyw fantais i'w cyfeillion oddiar gamegwyddorion yn peri i ddynion wyro oddiwrth y gwir, arfer iaith amwysawl, rhoddi canmoliaethau i'w cyfeillion er diogelu rhyw fantais iddynt. Nid oddiar fwriad uniongyrchol i dwyllo ereill, ond fel y byddo hyny yn wasanaethgar i'w hamcan hwy. Ond er hyn oll, yr ydym yn derbyn tystiolaeth dynion. Pa faint mwy ynte y dylem dderbyn tystiolaeth Duw? Un nas gall dim ddylanwadu arno ef i beri iddo gilio oddiwrth y gwir, oblegyd y mae yn Hollalluog; ef yw yr uchaf, y mwyaf. Arglwydd pawb oll. Arglwydd nef a daear. Y mae yn meddiannu pob peth, yn Holl-gyfoethog. Ac er mor hoff ganddo drugaredd, eto nis gall feddwl am ei gweini ond yn gyson âg uniondeb. Rhaid i drugaredd a gwirionedd gyd-gyfarfod. Y mae nid yn unig yn cadw trugaredd yn dragywydd, ond yn cadw gwirionedd hefyd yn dragywydd. Y mae uwchlaw dioddef colled, ac uwchlaw derbyn mantais, ac yn rhy anrhydeddus i wneuthur cymmwynas, ond ar dir uniondeb. Y mae yn hollol annibynol ar bob amgylchiadau, ac yn gyfryw nas gall dyn byth gael unrhyw siomedigaeth trwy ymddiried ynddo.

3. Y mae y berthynas y mae gwrthddrych y dystiolaeth yn sefyll ynddi rhyngddo â'r tyst yn gwneyd ei dystiolaeth yn fwy haeddiannol o dderbyniad. Buasai tystiolaeth Duw ar unrhyw bwnc ar unwaith yn cyfansoddi sail ddigon cadarn i'n ffydd, hyd yn nod am y peth mwyaf annhebyg. Ond y mae gan ein ffydd fantais fawr i ymaflyd am ein bywyd yn nhystiolaeth Duw am Iesu Grist. Y mae Duw ei hunan wedi rhoddi yr ymddiried mwyaf ynddo, ac wedi ei gael yn ffyddlawn i'r ymddiried. A chanddo ef yr oedd yr hawl i ddadleu yn ei erbyn. Un yn ymwneyd â Duw am fywyd i'r pechadur ydyw Iesu Grist. Os ydyw Duw yn foddlawn iddo, y cwbl sydd gan y pechadur ydyw derbyn, gyda diolchgarwch, ei fywyd trwyddo. Pe byddai i echwynwr, wedi cael dyledwr i'w afaelion, foddloni ar i un ewyllysgar i hyny fyned yn feichnïydd drosto, yn mha le y byddai y rhesymoldeb i'r dyledwr ddadleu yn erbyn y meichnïydd, ofni ei allu, a gwrthod y cytundeb â'r echwynwr drwyddo? Y cwbl iddo ef yw, A ydyw yr echwynwr yn foddlawn iddo? Os ydyw, diolched am dano, ymddirieded ynddo. Yn awr, dyledwyr ydym ni i Dduw—wedi myned i ddyled fawr—na thalwn ni mo honi byth. Ond wele un yn ei roddi ei hunan yn feichnïydd yn ein lle; cymmerodd ein dyled arno ei hunan; talodd hi yn llawn. Y mae yr echwynwr yn foddlawn iddo; rhoddodd ynddo yr ymddiried mwyaf, ac fe gadwodd y cwbl; ni siomwyd mo hono yn ei ddysgwyliadau. Ei dystiolaeth am dano yw, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd, gwrandewch ef." "Y mae wedi fy moddloni i, fe'ch boddlona chwithau. Ni chefais i fy siomi ynddo, ni'ch siomir chwithau. Nid oes ar fy nghyfraith eisiau dim mwy o anrhydedd, na'm llywodraeth eisiau mwy o ddiogelwch, na'm priodoliaethau eisiau mwy o ogoniant, na'm gras eisiau gwell

cyfrwng i redeg at bechadur. Yn awr, pa esgus all fod gan y pechadur dros ei wrthod? Oes arnat ti ofn gyfraith? Y mae hono wedi ei mawrhau. Wyt ti yn arswydo cyfiawnder? Y mae hwnw wedi ei foddloni. Ydyw mawredd ac amledd dy bechodau yn dy flino? Hwn a osododd Duw yn Iawn. Y mae gan Fab y dyn awdurdod i faddeu." Wyt ti yn teimlo grym dy lygredigaeth a nerth pla dy galon? Fe ddichon yn gwbl iachau y rhai sydd yn dyfod at Dduw trwyddo ef. Nid yw Duw yn ceisio genyt wneyd dim ond a wnaeth ef ei hunan. Fe ymddiriedodd ef ynddo am Iawn, ymddiried dithau ynddo am faddeuant. Ymddiriedodd ef ynddo am anrhydedd i'w ddeddf, ymddiried dithau ynddo am fodd i ddianc rhag ei melldith.

4. Y mae y dull y mae y Goruchaf yn dwyn y dystiolaeth hon i'w Fab yn cyfansoddi sail ychwanegol i'n ffydd ynddi. Fe fuasai awgrymiad oddiwrth Dduw am allu a gras Iesu Grist fel Gwaredwr, a rhyw "fe allai," yn gymhelliad i fyned ato, yn llawn ddigon i gynnyrchu ymdrech am fyned ato, yn mhob meddwl i raddau yn ystyriol o bwys cadwedigaeth. Pe na buasai Duw ond dywedyd, fel ag y gwna yn ei Air gyda golwg ar farnau tymhorol, "Ceisiwch yr Arglwydd, ceisiwch gyfiawnder, ceisiwch larieidd-dra; fe allai y cuddir chwi"—pe na buasai mwy yn yr Efengyl na hynyna—Edifarhewch, dychwelwch, credwch; fe allai y cedwir chwi,—chwi ddylasech wneyd yn ddioedi; myned at Dduw fel Esther at Ahasferus—"O derfydd am danaf darfydded." Ond, bendigedig fyddo ei enw, nid oes dim fe allai yma; nid tebygoliaeth sydd yma, ond sicrwydd; nid awgrymiad sydd yma, ond llw—"fel na choller pwy bynnag a gredo"; "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol." Y mae wedi rhoddi llw er sicrwydd ac er cysur y rhai a ffoant at y gobaith

sydd yn Iesu Grist. Y mae Duw wedi rhoddi y sicrwydd mwyaf oedd yn bosibl iddo am ddiogelwch trefn yr Efengyl i gadw pechaduriaid. Ei drefn ef ydyw. Ei ras feddyliodd am dani; ei ddoethineb a'i lluniodd; ei allu a'i dug hi o amgylch; ei ogoniant mwyaf ydyw y dyben sydd iddi. Y mae pob peth arall wedi eu llunio erddi, ac yn ddarostyngedig iddi. Y mae Duw yn hòni iddo ei hunan yr holl anrhydedd o lunio y drefn, ac yn barod i gymmeryd arno ei hunan yr holl gyfrifoldeb am ei diogelwch. Os maen ydyw Iesu Grist; "Wele fi yn sylfaenu maen yn Sion, maen profedig, congl-faen gwerthfawr, sylfaen safadwy; ni frysia yr hwn a gredo." Os Brenhin,—"Minau a osodais fy mrenin ar Sion, fy mynydd sanctaidd." "Gwyn eu byd pawb a ymddiriedant ynddo ef." Os Iawn,—"Yr hwn a osododd Duw yn Iawn." Os Barnwr,—"Hwn a ordeiniodd Duw yn farnwr byw a meirw." Os Iachawdwr,—"Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw yn dywysog ac yn Iachawdwr." Derbyniwch ef, fy nghyfeillion, ar dystiolaeth y digelwyddog Dduw am ei gymhwysder.

---

# PREGETH XVIII.

## Maddeuant trwy Iawn yn gyson a Maddeuant o Ras.

Ephesiaid i. 7.

"*Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef.*"

Mae yr Apostol yma, wedi cael ei ddwyn o ran ei feddwl, uwchben trefn ryfedd yr Efengyl am iachawdwriaeth pechaduriaid, yn yr olwg ar y ddarpariaeth ogoneddus sydd ynddi ar eu cyfer, yn tori allan yn orfoleddus, mewn syndod a diolchgarwch, i fendithio Duw. Y mae yn canfod yr iachawdwriaeth yn gwreiddio yn mwriadau grasol y Tad. Efe a'n "hetholodd ni cyn seiliad y byd"; ac y mae yn ein bendithio, "megis yr etholodd efe ni." Ond fe wnaeth hyny yn rasol a phenarglwyddiaethol; nid gan ragweled dim daioni ynom ni, ond er ei gynnyrchu ynom; "fel y byddem yn sanctaidd ac yn ddifeius ger ei fron ef." Efe a'n "rhagluniaethodd ni i fabwysiad"; ac fe wnaeth hyny, nid oblegyd dim teilyngdod ynom ni, ond "mewn cariad,"—fel yn ddiddadl y dylid cysylltu diwedd y y bedwaredd adnod â dechreu y bummed,—"yn ol boddlonrwydd ei ewyllys ei hun," ac "er mawl gogoniant ei ras ef." Mae y drefn wedi gwreiddio yn gwbl yn nghariad a gras yr Anfeidrol.

Ond yr Arglwydd Iesu Grist ydyw cyfrwng yr holl fendithion. "Ynddo ef" yr etholodd efe ni"; trwyddo ef yr ydym i dderbyn y mabwysiad y rhagluniaethwyd ni iddo; ac "ynddo ef y gwnaeth ni yn gymmeradwy";

neu, hwyrach. fel y byddai yn well darllen, gydag ymyl y ddalen,—"y rhadgarodd efe ni yn yr Anwylyd."

Ac yna, yn ngeiriau y testyn, gan fyned rhagddo yn yr un cyfeiriad,—"Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth.' Yn yr "hwn," sef, yn yr "Anwylyd," yn Iesu Grist. Nid *trwy* yr hwn, ond *yn* yr hwn. Efe ydyw canolbwynt yr iachawdwriaeth: ac ynddo ef, mewn undeb âg ef, y mae i ni brynedigaeth. Nid rhywbeth ydyw a all efe roddi megis hebddo neu ar wahan oddiwrtho ef ei hun. Fel mai "*Efe* yw yr iawn,"—nad rhywbeth ydyw yr Iawn a wnaed ganddo, ac sydd a bodolaeth iddo ar wahan oddiwrtho ef ei hunan, megis y mae yr haul neu y lleuad neu y ddaear, fel ag y gellid dywedyd ei fod ef yn un peth a'r Iawn yn beth arall, yn y modd y mae greadigaeth i gyd, er nad yn annibynol arno, eto yn bod ar wahan oddiwrtho,—felly yma: "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth." Nid ar wahan oddiwrtho; ond y mae yn cartrefu yn dragywyddol yn ei berson ef, ac yn dyfod yn eiddo i ninau yn ein perthynas âg ef. Y mae y gair a ddarllenir yma, "y mae i ni," yn fwy pendant yn arwyddo "y mae genym ni"; y mae yn parhau yn feddiant gwastadol i ni yn ein hundeb parhaus âg ef.

Y mae y gair a ddarllenir yma, "*prynedigaeth*," yn uniongyrchol yn arwyddo gwaredigaeth un a fyddo mewn caethiwed neu garchar, trwy dalu pridwerth neu iawn drosto er ei ryddhad. Y mae y gair, weithiau, yn cael ei ddefnyddio am y pryniad,—achos y rhyddhad; ac, weithiau, am y rhyddhad ei hunan, fel effaith y pryniad. Yn y golygiad diweddaf y mae yn cael ei ddefnyddio yma; gwaredigaeth trwy daliad digonol a llawn. "Prynedigaeth *trwy ei waed ef*." Dyma y gwerth,—dyma bris y prynedigaeth: gwaed yr Anwylyd; marwolaeth yr Arglwydd Iesu; gan gyfeirio, yn sicr, at y farwolaeth hono, fel yr hyn oedd yn cyfansoddi rheswm

digonol, yn ngwyneb cyfraith a chyfiawnder, er rhyddhad y carcharorion.

"*Sef maddeuant pechodau.*" Nid ydym i dybied fod y gair "*maddeuant*" yma, cyfled o ran ei ystyr, neu yn cynnwys pob peth a'r sydd yn y gair "*prynedigaeth*": ond y mae yr Apostol ynddo yn nodi allan un o'r bendithion gwerthfawrocaf cysylltiedig â'r prynedigaeth, pan y mae yn troi yn waredigaeth i'r pechadur; ac yn ei ymdeimlad â gwerth a phwys y fendith, a'r sicrhad am bob bendith arall yn ei dilyn, y mae yn ei gosod allan dan y gair "*prynedigaeth*," fel pe byddai y "*prynedigaeth*" i gyd ynddi hi. Yr ydym yn cael peth cyffelyb, er ar yr ochr arall, yn Rhuf. viii. 23, lle y mae yr Apostol yn dywedyd am y saint eu bod yn "dysgwyl y mabwysiad, sef prynedigaeth y corph." Nid ydym i'w ddeall yn y geiriau yna fel yn golygu fod "*prynedigaeth y corph*," cyfled o ran ei ystyr â'r "*mabwysiad*." Ond gan ei fod, ar y pryd, yn ymdrin â "*mabwysiad*," ac yn gweled na byddai ei holl ogoniant wedi ei ddatguddio, na'i holl amcan wedi ei gyrhaedd, tra y byddai y corph heb ei ryddhau yn gwbl o afaelion marwolaeth, y mae yn defnyddio y gair "*mabwysiad*" am yr amlygiad a gymmer le o hono pan adgyfodir y corph o'r bedd. Yr un modd y gwna yma: "prynedigaeth, sef maddeuant pechodau."

"*Yn ol cyfoeth ei ras ef.*" Gellir deall y geiriau hyn, naill ai yn dynodi y ffynnonell y tarddodd y prynedigaeth allan o honi; megis ag y cawn yr Apostol, yn yr adnodau blaenorol, yn olrhain bendithion ysbrydol yr Efengyl i'w tarddiad yn y graslonrwydd dwyfol fel yr achos o honynt. Y mae y gair a ddarllenir yma "*yn ol*," weithiau yn cymmeryd yr ystyr yna.* Neu ynte gellir eu deall yn gosod allan helaethrwydd y maddeuant sydd

* Jelf's *Greek Grammar*, sec. 620, 3 c.

genym ynddo: maddeuant "*yn ol*,"—maddeuant cyfatebol i fawredd gras yr Anfeidrol ei hun. Dichon mai y diweddaf ydyw y golygiad mwyaf naturiol.

Gan ddeall y geiriau fel yna, yr oeddwn yn amcanu galw eich sylw oddiwrthynt at y mater a ganlyn, sef

Fod maddeuant "trwy ei waed ef," hyny ydyw, maddeuant trwy Iawn, yn gyson â maddeuant o ras: "prynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef."

Un o'r gwrthddadleuon pennaf a ddefnyddir gan Sociniaid ac ereill yn erbyn athrawiaeth yr Iawn yw, ei bod, meddant, yn milwrio yn hollol yn erbyn graslonrwydd yr iachawdwriaeth, ac yn arbenig yn erbyn graslonrwydd y maddeuant a gyhoeddir yn yr Efengyl; yn wir, yn erbyn y syniad am faddeuant o gwbl. Os ydyw maddeuant, meddant, o ras, nis gall fod trwy Iawn; ac os ydyw trwy Iawn, nis gall fod o ras. Pe byddai i ddyledwr gael ei ddodi yn ngharchar, neu fygwth cael ei ddodi yn ngharchar, ond i'r gofynwr dosturio wrtho, a maddeu y ddyled, a'i ollwng yn rhydd, heb unrhyw dâl, fe fyddai gras yn hyny; eithr pe delai rhyw un yn mlaen, a thalu y ddyled drosto, ni byddai ddim lle i ras, o du y gofynwr, yn ei ryddhad; ni byddai ond cyfiawnder pur â'r dyledwr; ac ni byddai yntau dan unrhyw rwymedigaeth i ddiolch i'w ofynwr. Felly, medd y rhai y cyfeiriwn atynt, os yw Duw wedi derbyn iawn dros ein pechodau, os yw Iesu Grist wedi talu ein dyled, nis gall fod dim gras mewn maddeu i ni, nid ydyw ond cyfiawnder hollol. A chan fod athrawiaeth yr Iawn, meddant, yn arwain i'r fath ganlyniadau, y mae yn sicr nas gall fod yn gywir.

Gyda golwg ar y meddylddrych am iawn a dybir yn yr wrthddadl hon, yr hwn yn unig a all roddi dim ymddangosiad golygus i'r wrthddadl, y mae yn deg i ni

addef fod rhai o'r rhai sydd yn cydnabod yr Iawn wedi ei gofleidio, fel ag i roddi achlysur i'r wrthddadl, ac i'w harwain hwythau nid yn unig i wadu *graslonrwydd* maddeuant, ond i ddadleu hefyd nad ydyw yr Anfeidrol, mewn ystyr briodol, yn maddeu o gwbl; eithr fod Crist wedi talu dyled ei bobl yn hollol, yn y fath fodd fel nad oes yn bosibl maddeu, oddieithr mewn ystyr anmhriodol; a bod holl raslonrwydd yr iachawdwriaeth yn ngosodiad y Mab i fod yn Iawn, ac yn ei waith yntau yn dwyn eu cospedigaeth, ac yn ngwaith yr Ysbryd Glân yn eu dwyn i gredu ynddo.*

Ond y mae yn sicr fod y meddylddrych a gymmerir yma ar yr Iawn yn hollol anysgrythyrol, a'r naill gasgliad a'r llall oddiwrtho yn annghywir: pa fodd bynnag yn wrthwyneb iddynt, ac er ceisio dangos fod maddeuant trwy iawn yn berffaith gyson â maddeuant o ras, ni a allwn sylwi ar y pethau canlynol:—

I. Fod y ddau wirionedd yn cael eu dysgu yn amlwg ac yn bendant yn yr Ysgrythyrau sanctaidd, fel pa un bynnag a allwn ni ganfod eu cysondeb ai peidio, y rhaid eu bod, ryw fodd, yn gyson â'u gilydd.

1. Y mae yn amlwg iawn fod yr Arglwydd yn maddeu, a'i fod yn maddeu o ras. Y mae y gwirionedd hwn yn rhedeg trwy yr holl Ysgrythyrau; ac, yn wir, yn y datguddiad a gawn ynddynt o hyn y mae eu gwerth mawr i ni fel pechaduriaid. i. Y mae agos yr holl dystiolaethau Ysgrythyrol sydd genym fod maddeuant gyda Duw, yn y naill wedd neu arall, yn dangos hefyd fod y maddeuant hwnw yn hollol rasol. Edrychwch ar un o'r cyfeiriadau cyntaf a gawn at hyn, pan oedd yr Arglwydd yn cyhoeddi ei enw i Moses:—"Jehofah, Jehofah, y Duw trugarog a graslawn, hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd: yr hwn sydd yn

* Stockwell, *in* Gilbert *On the Atonement, first edition*, page 445.

cadw trugaredd i filoedd, gan faddeu anwiredd a chamwedd a phechod, ac heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn;" &c. (Exod. xxxiv. 6, 7). Dyma dystiolaeth bendant o eiddo yr Anfeidrol, o'i enau ef ei hun, ei fod yn maddeu; yn maddeu pob math o bechodau; ac yn maddeu felly mewn rhyw drefn sydd yn anrhydeddus iddo ef ei hunan, "heb gyfrif yr anwir yn gyfiawn"; ac eto y mae yn maddeu am ei fod yn "drugarog a graslawn," yn "aml o drugaredd," ac "yn cadw trugaredd i filoedd." Yr un nodwedd sydd i'r holl dystiolaethau. "Canys ti, O Arglwydd, ydwyt dda, a maddeugar; ac o fawr drugaredd i'r rhai oll a alwant arnat" (Psalm lxxxvi. 5). Y mae yma yn maddeu am ei fod yn dda, am ei fod yn caru maddeu, ac am fod ei drugaredd yn yn fawr. Eto: "Gan yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfela o honom i'w erbyn" (Dan. ix. 9). Y mae maddeuant ganddo, am fod trugareddau ganddo. Drachefn:—"Myfi, myfi, yw yr hwn a ddileaf dy gamweddau, er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau" (Esaiah xliii. 25). Y mae yn cyhoeddi ei hunan fel yr unig un a all faddeu; a'i fod yn maddeu mor lwyr nes annghofio eu pechodau; ond yn gwneuthur hyny yn gwbl rasol; yn hollol er ei fwyn ei hun. Eto:—"Pa Dduw sydd fel tydi, yn maddeu anwiredd, ac yn myned heibio i anwiredd gweddill ei etifeddiaeth? Ni ddeil efe ei ddig byth, am fod yn hoff ganddo drugaredd. Efe a ddychwel, efe a drugarha wrthym: efe a ddarostwng ein hanwireddau; a thi a defli ein holl bechodau i ddyfnderoedd y môr" (Michah vii. 18, 19). Yma y mae yn amlwg fod maddeuant yn cael ei osod allan fel gogoniant arbenig, sydd yn eiddo yn unig, i'n Duw ni; yn yr hyn y mae yn ymddyrchafu yn anfeidrol uwchlaw duwiau y cenhedloedd. Peth priodol iddo ef yn unig ydyw maddeu. Ac y mae mor

amlwg yn cael ei ddangos yma yn gwneyd hyny yn gwbl rasol: "am fod yn hoff ganddo drugaredd."

(ii.) Os edrychwn i'r Ysgrythyrau ar y duwiolion yn gweddio am faddeuant, ni a gawn ddangosiad o'r un peth: "Trugarha wrthyf, O Dduw, yn ol dy drugarawgrwydd: yn ol lliaws dy dosturiaethau, dilea fy anwireddau" (Psalm li. 1). "Os creffi ar anwireddau, Arglwydd, O Arglwydd, pwy a saif? Ond y mae gyda thi faddeuant, fel y'th ofner. Dysgwylied Israel am yr Arglwydd; o herwydd y mae trugaredd gyda'r Arglwydd, ac aml ymwared gydag ef. Ac efe a wared Israel oddiwrth eu holl anwireddau" (Psalm cxxx. 3, 4, 7, 8). Mae dysgwyliad y Psalmydd yn unig wrth yr Arglwydd; ac wrtho yntau oblegyd fod "maddeuant gydag ef," a maddeuant oblegyd ei "drugarawgrwydd," "lliaws ei dosturiaethau," "trugaredd ac aml ymwared gydag ef."

(iii.) Mae yr un graslonrwydd yn cael ei gydnabod yn niolchgarwch a mawl duwiolion am faddeuant:—"Fy enaid, bendithia yr Arglwydd; a chwbl sydd ynof, ei enw sanctaidd ef. Fy enaid, bendithia yr Arglwydd; ac nac annghofia ei holl ddoniau ef: yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau; yr hwn sydd yn iachau dy holl lesgedd: yr hwn sydd yn gwaredu dy fywyd o ddistryw: yr hwn sydd yn dy goroni â thrugaredd ac â thosturi. Trugarog a graslawn yw yr Arglwydd; hwyrfrydig i lid, a mawr o drugarawgrwydd. Nid byth yr ymryson efe: ac nid byth y ceidw efe ei ddigofaint. Nid yn ol ein pechodau y gwnaeth efe â ni; ac nid yn ol ein hanwireddau y talodd efe i ni. Canys cyfuwch ag yw y nefoedd uwchlaw y ddaear, y rhagorodd ei drugaredd ef ar y rhai a'i hofnant ef. Cyn belled ag yw y dwyrain oddiwrth y gorllewin, y pellhäodd efe ein camweddau oddiwrthym. Fel y tosturia tad wrth ei

blant, felly y tosturia yr Arglwydd wrth y rhai a'i hofnant ef" (Psalm ciii. 1—4, 8—13). Yma y mae yn amlwg fod y Psalmydd duwiol yn teimlo mai i drugaredd, tosturi, a gras, a'r rhai hyny yn uwch na'r nefoedd, yr oedd efe yn ddyledus am faddeuant.

(iv.) Mae yr un peth mor amlwg yn y gwahoddiadau a geir yn yr Ysgrythyrau ar ddynion i ddyfod at yr Arglwydd am faddeuant:—"Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau; a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymmer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth" (Esaiah lv. 7). "Ymchwel, Israel, at yr Arglwydd dy Dduw; canys ti a syrthiaist trwy dy anwiredd. Cymmerwch eiriau gyda chwi, a dychwelwch at yr Arglwydd: dywedwch wrtho, Maddeu yr holl anwiredd; derbyn ni yn ddaionus: a thalwn i ti loi ein gwefusau. Ni all Assur ein hachub ni; ni farchogwn ar feirch; ac ni ddywedwn mwyach wrth waith ein dwylaw, O ein duwiau: o herwydd ynot ti y caiff yr amddifad drugaredd" (Hosea xiv. 1—3).

Mae y tystiolaethau hyn yn amlwg yn penderfynu mai dysgeidiaeth Ysgrythyrau yr Hen Destament ydyw, fod yr Arglwydd yn maddeu, ac yn maddeu yn unig ac yn gwbl o ras.

Y mae yr un gwirionedd yn cael ei ddysgu yn bendant yn y Testament Newydd, ac yn cael ei dybied mor hanfodol i'r Efengyl, fel nad oes prin angenrheidrwydd am i ni fanylu ar Ysgrythyrau neillduol er prawf o hono. Yr un pryd, ni a allwn gymmeryd ychydig engreifftiau. Rhagfynegid gan Zacharias ei dad, am Ioan, rhagflaenor ein Harglwydd, fel un oedd,—"i roddi gwybodaeth iachawdwriaeth i'w bobl, trwy faddeuant o'u pechodau; o herwydd tiriondeb trugaredd ein Duw" (Luc i. 77, 78); a phan ddaeth yr amser cyfaddas, wele y rhagflaenor hwnw yn ymddangos yn niffaethwch

Judea, "gan bregethu bedydd edifeirwch, er maddeuant pechodau" (Luc iii. 3). Ni a gawn ein Harglwydd yn dysgu ei ddysgyblion i weddio am faddeuant: "a maddeu i ni ein pechodau" (Luc. xi. 4). Ni a'i cawn yn darlunio trefn maddeuant fel un sydd yn cyfateb yn hollol i amgylchiad pechadur, ac yn amlygiad arbenig o'r graslonrwydd dwyfol: "a phryd nad oedd ganddynt ddim i dalu, efe a faddeuodd iddynt ill dau" (Luc vii. 42). Ni a'i cawn yn portreadu y sawl sydd yn ei geisio yn iawn yn y fath ymdeimlad â'i euogrwydd ac â'i annheilyngdod, fel nad oes ganddo ddim i'w ddadleu ond trugaredd: "O Dduw, bydd drugarog wrthyf bechadur" (Luc xviii. 13). Ni a'i cawn ef ei hunan yn gweddio am faddeuant hyd yn nod i'r rhai a'i croeshoelient ef: "O Dad, maddeu iddynt: canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur" (Luc xxiii. 34). Ni a'i cawn yn gorchymyn i'w ddysgyblion wneuthur y drefn i faddeu yn hysbys i'r holl fyd, ac i'r rhai gwaethaf o'i fewn: "A phregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef yn mhlith yr holl genhedloedd, gan ddechreu yn Jerusalem" (Luc xxiv. 47). Mewn ufudd-dod i'r gorchymyn hwn, yr ydym yn cael yr Apostolion yn galw hyd yn nod ar y rhai a gymmerasant ran yn y croeshoeliad i syrthio i mewn â'r drefn i'w gael:— "Edifarhewch a dychwelwch, fel y dilëer eich pechodau" (Act. iii. 19); ïe, yr ydym yn eu cael yn sicrhau i'r cynghor a gondemniasai ein Harglwydd, nad oedd eu cyflwr, trwyddo ef, yn anobeithiol: "Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw, yn Dywysog ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau" (Act. v. 31).

Heb i ni liosogi tystiolaethau, y mae yr Ysgrythyrau a nodwyd yn dysgu yn bendant fod maddeuant gyda Duw; ac yn dysgu hefyd fod y maddeuant hwnw yn

hollol o ras. Dyna ystyr y tystiolaethau ei fod i'w gael; y galwadau ar ddynion i'w geisio; nodwedd y cymeriadau a wahoddir i'w dderbyn; helaethrwydd y maddeuant a weinyddir; rhadlonrwydd y gweinyddiad o hono; gweddiau duwiolion am dano; a'u diolchiadau am ei gael;—y mae yn y cwbl yn cael ei gysylltu yn amlwg ac yn bendant â'r graslonrwydd dwyfol, ac yn brawf arbenig o hono. Fel, yn ol yr Ysgrythyrau, y mae maddeuant yn sicr o ras.

2. Y mae mor amlwg hefyd yn ngwyneb yr Ysgrythyrau fod maddeuant trwy Iawn, neu, yn ngeiriau y testyn, "trwy ei waed ef."

Ni a adawn y cyfeiriadau at hyn a gawn yn nefodau yr hen oruchwyliaeth ac yn ngeiriau prophwydi yr Hen Destament, ac a gyfyngwn ein profion yn unig i'r Testament Newydd. Dyma y rheswm pendant a roddir gan ein Harglwydd ei hunan am ei farwolaeth, a'i esboniad ar ei hamcan: "Canys ni ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu; ac i roi ei einioes yn bridwerth dros lawer" (Marc x. 45),—yn *daliad*, yn *bris gollyngdod*, y gwerth gofynol er rhyddhad llawer. "Hwn yw fy ngwaed o'r testament newydd, yr hwn a dywelltir dros lawer, er maddeuant pechodau" (Matt. xxvi. 28). Dyma ystyr yr holl adnodau yn y rhai y cysylltir maddeuant, a bendithion ereill yr Efengyl, âg enw yr Arglwydd Iesu:—"Ac nid oes iachawdwriaeth yn neb arall: canys nid oes enw arall dan y nef, wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig" (Act. iv. 12); "I hwn y mae yr holl brophwydi yn dwyn tystiolaeth, y derbyn pawb a gredo ynddo ef faddeuant pechodau, trwy ei enw ef" (Act. x. 43); "Trwy hwn yr ydys yn pregethu i chwi faddeuant pechodau: a thrwy hwn y cyfiawnheir pob un sydd yn credu, oddiwrth yr holl bethau y rhai ni allech

trwy gyfraith Moses gael eich cyfiawnhau oddiwrthynt" (Act. xiii. 38, 39); "Fel," meddai Iesu Grist wrth Paul, pan yn ei anfon i bregethu i'r cenhedloedd, "Fel y derbyniont faddeuant pechodau, a chyfran yn mysg y rhai a sancteiddiwyd, trwy y ffydd sydd ynof fi" (Act. xxvi. 18); "A hyn a fu rhai o honoch chwi; eithr chwi a olchwyd; eithr chwi a sancteiddiwyd; eithr chwi a gyfiawnhawyd; yn enw yr Arglwydd Iesu, a thrwy Ysbryd ein Duw ni" (1 Cor. vi. 11); "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau" (Col. i. 14); "Megis y maddeuodd Duw, er mwyn Crist, i chwithau (Eph. iv. 32); "A gwaed Iesu Grist, ei Fab ef, sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod" (1 Ioan i. 7). Mor amlwg yw dysgeidiaeth y Bibl ar hyn, fel mai un o'i dystiolaethau pendant ydyw,—"Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant" (Heb. ix. 22).

Y mae yn amlwg oddiwrth yr Ysgrythyrau a nodwyd, ac ereill y gellid cyfeirio atynt, fod y maddeuant, a gysylltir mewn rhai adnodau â gras, ac sydd yn sicr yn hollol o ras, yn cael, mewn adnodau ereill, ei gysylltu hefyd â marwolaeth yr Arglwydd Iesu, ac â'r farwolaeth hono yn bendant megis pridwerth, neu bris prynedigaeth.

Ac nid hyny yn unig, ond yr ydym yn fynych yn cael y ddau wirionedd yn cael eu dysgu yn yr un adnod, neu yn yr un frawddeg. Y maent felly yn bendant yn y testyn: "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef." Nid oedd yr Apostol yn teimlo fod un annghysondeb, na lle i neb ddychymygu annghysondeb, rhwng y ddau wirionedd. Yr un modd y mae y ddau yn cael eu gosod allan gyda'u gilydd, ac mewn cysondeb prydferth a gogoneddus, yn yr Epistol at y Rhufeiniaid (pen. iii. 24):—"A hwy wedi eu cyfiawnhau yn rhad trwy ei ras ef, trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu."

Fel hyn nis gall dim fod yn fwy amlwg, na bod maddeuant o ras, a maddeuant ryw fodd trwy Iawn, yn cael eu dysgu yn bendant a diammwys yn yr Ysgrythyrau sanctaidd.

Yn awr, gan fod y ddau wirionedd yn cael, fel hyn, eu dysgu yn yr Ysgrythyrau, hyny yw, mewn geiriau ereill, gan fod y ddau wirionedd yn gyson â'r Ysgrythyrau, y mae yn rhaid i bawb a addefont eu hawdurdod ddwyfol hwy, addef hefyd y rhaid eu bod yn gyson â'u gilydd, pa un bynnag a allant hwy weled y *modd* y maent felly, ai ni allant. Nid ydyw hynyna ond cymhwysiad o egwyddor neu arwiredd a gydnabyddir yn hunanbrofedig, fod pethau a fyddont yn ogymmaint neu yn gyd-bwys â'r un peth, o angenrheidrwydd yn ogymmaint neu yn gyd-bwys â'u gilydd. Ac yn fynych iawn dyna y cwbl a allwn ni wneuthur er dangos cysondeb dau beth â'u gilydd, dangos fod y ddau yn gyson â rhyw drydydd peth; ac yn eu cyd-gysondeb â'r peth hwnw, yr ydym yn cael prawf o'u bod yn gyson â'u gilydd. Tybiwch am un yn astudio natur, ac yn cael allan ynddi ryw allu sydd yn ymddangos iddo ef yn gweithredu fel ag i dynu gwahanol ronynau a gwahanol sylweddau at eu gilydd, nes y mae pob gronyn, trwyddo, yn dylanwadu ar ronynau ereill, a phob sylwedd, yn ol ei faint a'i bellder, yn dylanwadu ar sylweddau ereill, pa mor bell bynnag y byddont oddiwrth eu gilydd; fel, can belled ag y mae y gallu hwn yn myned, y delent at eu gilydd, i gyffyrddiad hollol â'u gilydd, gan gyfansoddi ond un clamp neu grynswth. Y mae yn cael profion digonol o fodolaeth a dylanwad y gallu hwn, nes penderfynu ei feddwl yn hollol yn ei gylch; ac y mae yn edrych arno fel deddf hanfodol i'r greadigaeth, ac yn ei galw wrth yr enw ATDYNIAD.

Ond aroswch. Wrth fyned rhagddo yn ei ymchwil-

iadau i natur, y mae yn cyfarfod â rhyw allu sydd yn ymddangos iddo ef yn sicr yn gwrthweithio y ddeddf a ddarganfyddwyd o'r blaen ganddo, ac yn hollol groes iddi. Y mae yn cael rhyw allu sydd yn gwahanu, yn ysgar, yn tueddu i attal sylweddau i ddyfod i gyfarfyddiad â'u gilydd, ac, yn ffurfiad sylweddau, yn attal cyflyniad trwyadl y gronynau yn eu gilydd, fel y maent, mewn gwahanol sylweddau, yn cael eu cadw mewn rhyw bellder, mwy neu lai, y naill oddiwrth y llall. Y mae yn raddol yn gweled fod graddau cymharol dylanwad y gallu hwn ar wahanol sylweddau, mewn gwrthgyferbyniad i raddau dylanwad y gallu a ddarganfyddasid ganddo yn y ddeddf flaenorol, yn effeithio yn ddirfawr ar gyfansoddiad y sylweddau hyny, fel ag i beri i rai o honynt fod yn galed, y lleill yn feddal; rhai yn ffer, y lleill yn hylif; rhai yn wydn, y lleill yn frau, &c. Y mae yn dyfod i sicrwydd hollol am fodolaeth a dylanwad y gallu hwn eto, ac yn edrych arno fel deddf hanfodol i'r greadigaeth, ac yn ei galw, GWRTHDAFLIAD.

Yn awr, pa beth a wna yr efrydydd y cyfeiriwn ato? Ai gwrthod derbyn y naill, am nas gall weled pa fodd y mae yn gyson â'r llall? Gwrthod *Atdyniad*, gan ei fod wedi darganfod *Gwrthdafliad!* neu wrthod *Gwrthdafliad*, yn gymmaint a'i fod yn groes i *Atdyniad!* Nage: nage: ond derbyn y naill a'r llall; a hyny nid am ei fod yn gallu gweled eu cysondeb â'u gilydd, ond am ei fod yn cael y ddwy yn gyson â natur. Ac, yn gymmaint a bod y ddwy yn gyson â natur, y mae yn hollol ddisigl ei feddwl y rhaid eu bod, ryw fodd, er nad oes ganddo ef un amgyffred pa fodd, yn hollol gyson â'u gilydd.

Yr un modd y gwna y gwir athronydd pan y daw at gwestiynau moesol. Y mae ei ymwybodolrwydd yn dysgu iddo ei fod o ran ei ewyllys yn hollol rydd, i ddewis neu wrthod; i wneyd neu i beidio gwneyd;

i lefaru neu fod yn ddistaw; i symmud o neu aros yn y fan lle y mae; mewn gair, i wneuthur yn gwbl fel y myno ei hunan. Y mae yn teimlo ei fod yn berffaith rydd. Ond y mae ei syniad naturiol ac angenrheidiol am yr Anfeidrol, yn gystal a dysgeidiaeth bendant yr Ysgrythyrau sanctaidd, yn ei arwain i briodoli iddo Hollwybodaeth, yn ystyr eangaf y gair; ac felly rhagwybodaeth hollol am y pethau sydd eto i ddyfod fel am y pethau sydd neu y pethau a aethant heibio; ac felly rhagwybodaeth hollol, neu mewn geiriau ereill sicrwydd hollol am bethau sydd yn dybynu yn gwbl ar ei ewyllys ef ei hun, a'r hon y mae yn ymwybodol sydd berffaith rydd. "Ti a adwaenost fy eisteddiad, a'm cyfodiad; dealli fy meddwl o bell." Y mae yn gweled yn awr yr hyn fydd yn fy meddwl i yn mhen myrdd o oesoedd i ddyfod. Ond a oes rhyw un a all ddangos cysondeb y pethau hyn? Eithr nid oes yr un Cristion, nac yn wir yr un *Theist*, nad yw yn derbyn y ddau wirionedd, nid am ei fod yn gallu eu cysoni, ond am fod y ddau yn gorwedd ar eu prawf priodol eu hunain; ac felly, o angenrheidrwydd, er mewn modd nas gwyddom ni, yn gyson hollol â'u gilydd.

Yr un modd gyda y mater sydd yn awr dan ein sylw. Y mae y ddau beth wedi eu profi yn gyson â'r Bibl, ac felly rhaid eu bod yn gyson â'u gilydd. Ac mi a ddymunwn i chwi sylwi ein bod i edrych ar holl wirioneddau y Bibl fel *ultimate facts*, fel ffeithiau annibynol, ac i'w derbyn nid i'r graddau y gallom ni weled eu cysondeb â gwirioneddau ereill a ddatguddir yno, ond, er nas gallwn weled eu cysondeb, ar dystiolaeth y datguddiad ei hun. Ac am y gwirioneddau yn awr ger ein bron,—gan fod yn eglur fod y ddau yn cael eu dysgu yn y Bibl,—byddai mor resymol i un wadu fod maddeuant o ras, gan fod yn eglur ei fod trwy Iawn, ag ydyw i'r

llall wadu ei fod trwy Iawn, gan fod yn eglur ei fod o ras. Yr unig lwybr gwir athronyddol, yn gystal a chrefyddol, ydyw derbyn y ddau ar y dystiolaeth ddwyfol: a chredu fod maddeuant trwy Iawn, gan mai dyna ddysgeidiaeth y Bibl, yn berffaith gyson á maddeuant o ras.

II. Ond ni allwn symmud cam yn mlaen er ceisio dangos y cysondeb hwn, os ystyriwn fod amgylchiad pechadur y fath yn ngwyneb y gyfraith, fel y buasai gwneuthur unrhyw gyfnewidiad ar ei achos ef, fel ag i dderbyn iawn drosto, hyd yn nod pe buasai ganddo ef ei hunan un i'w gynnyg, yn ras hollol.

Y mae dyn yn naturiol yn ddeiliad deddf. Fel creadur Duw, yn meddiannu natur resymol a moesol, y mae dan rwymedigaeth angenrheidiol, annghyfnewidiol, a thragywyddol, i ufudd-dod iddo. Y mae y ddeddf y mae dani yn ei ofyn yn ei holl natur ac yn ei holl alluoedd, a hyny am yr oll o'i fodolaeth. "Ar garu o honot yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, ac â'th holl enaid, ac â'th holl nerth; a'th gymmydog fel ti dy hun." Dyma y ddeddf. Ac y mae cydwybod pob dyn yn tystio pe gofynai lai y byddai yn annherffaith. Yn awr, y mae o bwys i ni gofio mai deddf ydyw: nid cynghor; nid cyfarwyddyd; nid annogaeth; ond deddf. Deddf, yr ydym dan rwymedigaeth dragywyddol i ufuddhau iddi, nas gallwn byth ymryddhau oddiwrthi, ac nas gallwn ei throseddu heb fod yn agored ac yn rhwym i'r gospedigaeth gysylltiedig â hyny. Pe na byddai cospedigaeth yn gysylltiedig âg anufudd-dod, nid deddf fyddai: oblegyd dyna y gwahaniaeth rhwng deddf â chynghor neu annogaeth. Ac fel y mae *natur* deddf yn gofyn ar fod cospedigaeth yn gysylltiedig â throsedd, felly y mae *anrhydedd* deddf yn gofyn ar i'r gospedigaeth hono gael nid yn unig ei *bygwth* ond ei

*gweinyddu.* Heb hyny ni byddai dim sicrwydd na syrthiai i ddirmyg hollol yn meddyliau yr holl ddeiliaid. Pe gadewid i'r troseddwr ddianc, ac yn neillduol ped ymddygid tuag ato, er troseddu, yr un modd a phe buasai yn ddiniwed, fe fyddai y cymhelliad mawr sydd i ufudd-dod yn mygythiad y gyfraith yn cael ei golli, ac nis gellid dysgwyl amgen, yn y canlyniad, nag i'r llywodraeth syrthio i annhrefn, ac mewn gwirionedd darfod bod yn llywodraeth. Y mae hawliau ac anrhydedd y gyfraith, a diogelwch a chysur y llywodraeth, yn gofyn am i'r troseddwr gael ei gospi.

Yn awr, pe câi troseddwr o gyfraith gwlad ryw un a foddlonai gymmeryd arno ei hunan y gospedigaeth a haeddesid ganddo ef, nid oes neb a dybia y gallai efe ddyfod â hwnw yn mlaen, a'i gyflwyno i'r gyfraith, a hòni hawl, er ei fwyn ef, i fod ei hunan yn rhydd yn ei gwyneb hi. Na: y mae y gyfraith yn gofyn y troseddwr ei hunan. Ac nid yw y gyfraith, yn hyn, ond llais cyfiawnder yn nghydwybodau yr holl ddeiliaid. Pan y cyflawner trosedd ysgeler, a'r euog wedi dianc, y mae cydwybod y wlad megis mewn anesmwythder, hyd nes y byddo y troseddwr wedi ei ddal, ac y byddo dialedd wedi ei oddiweddyd. Ac ni byddai clywed fod rhyw un diniwed wedi rhoddi ei hunan a dioddef yn ei le, er iddo wneyd hyny o'i fodd, ond camwri ychwanegol â'r gydwybod hono.

Yn awr, y mae yr un modd gyda deddf y nefoedd: "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw"; "Yn y dydd y bwytai o hono, gan farw y byddi farw"; "Melldigedig yw pob un nad yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt"; "Yn gwybod fod y rhai sydd yn gwneuthur y cyfryw bethau yn haeddu marwolaeth"; "Cyflog pechod yw marwolaeth." Yr ydych yn sylwi nad oes yma ddim son am y pechadur i farw, neu ryw un arall yn ei le; neu, oni

cheid iawn drosto. Nid yw y gyfraith, fel y cyfryw, ar dir cyfiawnder noeth, yn gwybod dim am neb i gael anrhydedd iddi ei hunan, yn ei gospedigaeth, ond y sawl y dianrhydeddwyd hi ganddo. Cwestiwn arall hollol ydyw,—A all y llywodraethwr,—os tuedda at hyny, neu os cydsynia â chymhelliad rhyw rai ereill i geisio at hyny,—ddarpar neu dderbyn rhyw gynllun, trwy yr hwn y gall yn gyson â'i anrhydedd ei hunan, ac âg anrhydedd ei gyfraith, ac â daioni cyffredinol ei lywodraeth, faddeu i'r troseddwr a'i ollwng yn rhydd? Y mae y cwestiwn yna tu allan i gylch y ddeddf y mae y creadur dani, ac yn hollol uwchlaw y cyfiawnder noeth dyledus iddo yn ei berthynas â'r ddeddf hono fel troseddwr, ac nis gall ddyfod i sylw o gwbl oddieithr ar dir gras.

Fe welir, gan hyny, fod pa gyfnewidiad bynnag a ddichon gymmeryd lle ar achos dyn fel troseddwr, yn un ag sydd o ran ei natur yn rhwym o fod uwchlaw deddf; yn un nas gall fod dim darpariaeth mewn deddf ynddi ei hun ar ei gyfer; yn un, felly, cwbl annibynol ar gyfiawnder noeth; ac, yn ganlynol, yn un yn hollol o ras. Pe buasai y fath beth yn bod ag iddo lwyddo, ryw fodd, i gael rhyw un i gynnyg rhoddi iawn drosto, y mae yn amlwg mai cwestiwn arall ydyw, a fyddai y llywodraethwr yn foddlawn i'w dderbyn? gan na buasai, y mae yn eglur, dim rhwymau arno, yn ol cyfiawnder pur a pherthynas noeth dyn â'r ddeddf y mae dani, ac a droseddwyd ganddo, i wneuthur hyny.

Fel hyn y mae y sawl sydd yn dadleu yn erbyn graslonrwydd y maddeuant oblegyd ei fod trwy iawn yn colli golwg ar raslonrwydd hollol y drefn am dderbyniad iawn drosto o gwbl, a gollyngdod iddo yntau drwyddo, hyd yn nod pe buasai yr iawn hwnw wedi ei ddarpar ganddo ef ei hunan.

III. Fe ymddengys eu cysondeb yn mhellach os ystyriwn nad ydyw yr Iawn, yn ei gysylltiad â maddeuant, ond cyfrwng er gweinyddiad anrhydeddus a diogel, yr hyn sydd yn gwreiddio yn unig mewn gras.

Y mae yn sicr fod syniadau cymmysglyd, a thra chyfeiliornus, yn cael eu coleddu gan lawer, yn nghylch cariad Duw yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Y mae llawer yn edrych ar y cariad fel pe byddai yn effaith cyfryngdod a marwolaeth yr Arglwydd Iesu; mai llidiawgrwydd a digofaint a lanwent fynwes y Tad tuag at bechaduriaid, ond fod y Mab, trwy farw drostynt a dwyn eu cospedigaeth, wedi lliniaru a lleddfu ei deimladau, ac ennyn tynerwch ynddo fel ag i beri ei fod yn awr yn eu caru ac yn ewyllysio eu cadwedigaeth. Ond y mae y fath olygiad yn gam-gymmeriad dybryd, ac yn gwbl groes i ddysgeidiaeth bendant ac amlwg yr Ysgrythyrau. Y mae ystyr, yn sicr, yn yr hwn y mae Duw yn ddigllawn wrth bechaduriaid. Y mae pechod y fath wrthdarawiad yn erbyn purdeb dihalog ei natur, yn cynnwys y fath ddianrhydedd ar ei ddeddf sanctaidd, ac mor beryglus i ddiogelwch a chysur deiliaid ei lywodraeth fawr, fel nas gall lai na'i gasâu â chasineb perffaith; ac oblegyd y cysylltiad sydd rhwng y pechadur âg ef, fel peth wedi ei gyflawni ganddo, ac felly peth sydd yn eiddo hollol iddo, y mae mewn ystyr yn ei gasâu yntau, yn "ddigllawn beunydd wrth yr annuwiol."

Ond nid ydym i olygu fod y digllonedd hwn yn y Duw mawr yn cyfranogi o natur nwyd yn y creadur, yn cynnwys rhyw deimlad personol o elyniaeth yn y Duw mawr at y pechadur, fel ag i beri ei fod yn sychedu am ei waed, ac yn cynllwyn am ei einioes i'w difetha. I'r gwrthwyneb, pa beth bynnag ydyw, y mae yn rhywbeth perffaith gydweddol â'r gofal manylaf am dano, yr amddiffyn cryfaf drosto, a gweinyddiad trugareddau heb

rifedi iddo. Yn wir, y mae yn rhaid ei fod yn gydweddol â'r tosturi mwyaf tuag ato yn y cyflwr y mae ynddo, megis un wedi gwrthryfela yn ei erbyn, ac felly un y mae yntau, dan angenrheidrwydd gogoneddus ei natur a'i gyfraith, yn rhwym i'w gospi. Rhaid ei fod yn gydweddol â chariad ato, awydd am ei hapusrwydd, cariad mor gryf ag i beri iddo wneuthur yr aberth mwyaf tuag at hyny.

Yn ganlynol, yn lle bod dioddefiadau a marwolaeth y Mab yn achos y cariad, nid oeddent ond effaith iddo ac amlygiad o hono: "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab" Ioan iii. 16. Nid Felly y rhoddodd fel y carai, ond "*Felly* y carodd *fel* y rhoddodd." Y cariad oedd achos yr anfoniad; y cariad oedd achos y farwolaeth; y cariad, felly, oedd achos yr Iawn. Ac, yn ganlynol, yn lle bod yr Iawn yn achos y gras maddeuol, nid oedd ond cyfrwng i'r gras hwnw; rhywbeth i alluogi y Duw mawr i'w arddangos yn ogoneddus. Nid ydyw o bwys i ni, gyda golwg ar ein cwestiwn presennol, allu penderfynu yn gwbl pa fodd y mae felly; digon i ni mai cyfrwng ydyw i ras, oedd yn hanfodi yn flaenorol yn y fynwes ddwyfol, gael ei weinyddu yn unol â hawliau priodoliaethau ereill yn natur ac â hawliau deddf y Llywodraethwr Mawr.

Yr un pryd, er cywiro y dybiaeth am iawn sydd yn rhoddi achlysur i'r wrthddadl sydd wedi bod dan ein sylw, ni a allwn ddywedyd nad ydym i olygu yr iawn yn rhywbeth masnachol, fel taliad arianol; megis pe buasai ein Harglwydd â phechodau ei bobl yn cael eu rhoddi yn ei erbyn wrth eu rhif, a rhyw gymmaint o ddioddefaint yn ddyledus ar gyfer pob un o'r pechodau hyny fel ei gosp briodol, ac yntau yn dioddef yn gyfatebol i nifer ac ysgelerder y pechodau a gyfrifwyd arno, fel, pe buasai mwy i'w hachub, neu y rhai a

achubir yn fwy pechadurus, y buasai raid iddo yntau ddioddef mwy. Y mae y syniad yna, heblaw ei fod yn awgrymu rhywbeth cableddus am ddioddefiadau ein Harglwydd, yn hollol groes i ddysgeidiaeth yr Ysgrythyrau am natur yr iawn, yr angenrheidrwydd am dano, y cariad tragywyddol y tarddodd o hono, a'r graslonrwydd dwyfol a ddangosir ynddo. Y mae Iawn yn golygu rhywbeth yn cael ei gymmeryd fel boddlonrwydd i'r Llywodraethwr Mawr, a atebo i'w natur ef ei hunan, ac yn nghydwybodau ei holl ddeiliaid, holl ddybenion cospedigaeth er maddeu i'r pechadur. Trosedd ydyw pechod, mewn ystyr briodol, nid dyled. Ufudd-dod ydyw ein dyled ni i Dduw; ac nis gall pechod fod yn ddyled ond yn yr ystyr o'n bod o'n rhan ein hunain yn hollol rwymedig i gosp o'i blegyd. Yn awr, dyna ydyw Iawn Crist yn ei gysylltiad â maddeuant, nid rhywbeth i dueddu yr Anfeidrol i faddeu, nid rhywbeth yn lleihau dim ar raslonrwydd y maddeuant, ond cyfrwng trwy yr hwn y gall yr Anfeidrol ei weinyddu, a'r gyfraith mewn anrhydedd, cyfiawnder ei natur wedi cael boddlonrwydd llawn, y cymhelliadau i ufudd-dod ar feddwl holl ddeiliaid ei lywodraeth yn gryfach na phe buasai yn cospi y troseddwyr eu hunain, a gras ei galon yr un pryd yn cael ei amlygu yn yr helaethrwydd mwyaf. "Yr hwn a osododd Duw yn Iawn, trwy ffydd yn ei waed ef; i ddangos ei gyfiawnder ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddioddefgarwch Duw; i ddangos ei gyfiawnder ef y pryd hwn; fel y byddai efe yn gyfiawn ac yn cyfiawnhau y neb sydd o ffydd Iesu" (Rhuf. iii. 25, 26). Y mae yr ystyriaethau hyn, ni a dybygem, yn ddigon i benderfynu fod maddeuant trwy Iawn yn berffaith gyson â maddeuant o ras.

Ac y mae maddeuant trwy Iawn nid yn unig yn gyson â maddeuant o ras, ond yma yn wir y ceir

yr arddangosiad uwchaf o ras,—maddeuant pechodau, *yn ol cyfoeth ei ras ef.*" Gwelir ei fod felly, os cymmerir y geiriau "yn ol cyfoeth ei ras ef," fel yn cyfeirio at fawredd y graslonrwydd dwyfol fel ffynnonell holl fendithion yr iachawdwriaeth. Nis gellir eu priodoli i ddim ond i ras, gras ar ei eithaf. "Mae Duw yn canmol ei gariad tuag atom; oblegyd, a nyni eto yn bechaduriaid, i Grist farw drosom ni." Dyma ffordd gras i achub; trwy draul fawr yr agorwyd hi: dryllio y llestr aur i arbed y llestri pridd; y Tad yn rhoddi y Mab dros ei elyn; y Mab yn rhoddi ei hunan dros ei leiddiaid; Mab Duw yn dyfod yn fab dyn i wneyd meibion dynion yn feibion Duw. "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef." Mab Duw yn dyfod oddiar ei orsedd i godi pechadur iddi; yn gwisgo coron o ddrain, fel y gallai y pechadur gael coron gogoniant. Cymmerodd ef y gorsen gan y milwyr, fel y gellit ti gael ymaflyd yn y deyrnwialen aur. Cymmerodd ef yr hoelion fel y gellit ti gael y fodrwy. Wynebodd ef orsedd cyfiawnder fel y gellit ti gael gorsedd-fainc y gras. Dioddefodd ef y cleddyf fel y gellit ti gael cysgod y darian byth. Ei angeu ef yw ein bywyd ni; ei waradwydd ef yw ein gogoniant ni; ei boenau ef yw ein nefoedd ni. Nid oes dim esboniad ar hyn ond gras, a dyma "gyfoeth gras"; dyma orchest gras ei hunan; dyma hanner dydd cariad Duw; tynu meddyginiaeth o glwyfau; tynu bywyd o angeu; "prynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef."

Mae yr arddangosiad uwchaf o ras hefyd os cymmerir y geiriau, "yn ol cyfoeth ei ras ef," fel yn cyfeirio at ddigonolrwydd a helaethrwydd y trugareddau a ddarperir i bechaduriaid yn yr Efengyl. Maddeuant

"yn ol,"—cyfatebol i gyfoeth gras y Goruchaf ei hunan. Nid oes yma ddim prinder yn ngweinyddiad y bendithion. Pan y mae brenhin yn rhoddi, y mae yn rhoddi fel brenhin. Pan y mae Duw yn rhoddi, y mae yn rhoddi mewn dull sydd yn cyfateb i gyfoeth ac urddas y Duwdod. Mae yn gwahodd *pawb* i gyfranogi o fendithion yr iachawdwriaeth; "Trowch eich wynebau ataf fi holl gyrrau y ddaear, fel y'ch achuber." Nid oes neb yn cael ei wrthod, neb yn cael ei esgeuluso,—tlodion, cleifion, anafusion. "Ewch allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau, cynnifer oll ag a gaffoch, dygwch i mewn yma." Nid oes dim gwahaniaeth gwlad, iaith, cenedl, lliw; neb yn cael ei gau allan. Terfyn y cyhoeddiad ydyw y "byd,"—"yr holl fyd"—"holl gyrrau y ddaear"—"pob creadur"—"pawb." Y mae pob mur gwahaniaeth wedi ei dynu i lawr. Y mae yr un alwad ar bawb, a'r un croesaw i bawb. Rhai o *bob cymeriad;* nid i rai dichlynaidd, hardd eu moes, yn unig, y mae bywyd tragywyddol yn cael ei gynnyg yn yr Efengyl; "Pwy bynnag a alwo ar enw yr Arglwydd, cadwedig fydd"; "pawb sydd yn flinderog ac yn llwythog"; "pob un y mae syched arno." Ac y mae y bendithion i gyd yn *rhad*,—"heb arian ac heb werth." Nid oes yma ddim crintachrwydd, ond gras yn rhedeg yn ffrydiau llydain, yn afonydd dyfnion, dros y byd i gyd. "Lliosowgrwydd o ras"; "rhagorol olud gras"; "gras yn teyrnasu"; "Maddeuant, yn ol cyfoeth ei ras ef."

---

# PREGETH XIX.*

## DIFRIFOLDEB GWEINIDOGAETHOL.

2 COR. V. 11.

"*A ni, gan hynny, yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion; eithr i Dduw y'n gwnaed yn hysbys; ac yr ydwyf yn gobeithio ddarfod ein gwneuthur yn hysbys yn eich cydwybodau chwithau hefyd.*"

Mae y geiriau hyn, yn y cysylltiad y cawn hwynt yma, yn amlwg wedi eu bwriadu gan yr Apostol, yn amddiffyniad iddo ei hunan, yn mhurdeb ei amcanion a difrifoldeb ei ysbryd yn y cyflawniad o'i weinidogaeth fawr; ac yn neillduol yn yr eiddigedd a'r brwdfrydedd a ddangosid ganddo dros symledd yr Efengyl, yn erbyn pob math o lygriad arni gan unrhyw gyfeiliornad, yn gystal ag yn mhlaid ei hawl i ledaeniad a derbyniad

* Traddodwyd y Bregeth hon yn Nghymdeithasfa Llanfair-Caereinion, Mehefin y 14eg, 1866, fel Cynghor ar Neillduad deuddeg o frodyr i holl waith y Weinidogaeth,—sef Mri. Hugh Parry, Thomas Hughes, David Jones, R. Llugwy Owen, Nathaniel Cynhafal Jones, o Sir Fflint; W. Hughes, o Sir Ddinbych; Cadwalader Roberts, o Sir Feirionydd; William Ellis a David Williams, o Arfon; John Jones, Abereirch (ar y pryd yn Llanrhaiadr, Sir Drefaldwyn), a John Jones, Bethel, o Leyn ac Eifionydd; a William Foulkes, o Henaduriaeth Trefaldwyn.

Cyn nodi y testyn, annerchai y Pregethwr y gweinidogion a neillduasid fel y canlyn:—"Anwyl Frodyr,—Yr ydych yn awr wedi eich gosod gan Eglwys Crist, yn ol y drefn sydd yn ymddangos i ni yn fwyaf cydweddol â meddwl ein Harglwydd Iesu Grist ei hunan, yn y swydd uwchaf a phwysicaf a ymddiriedwyd gan yr Anfeidrol erioed i ddyn; swydd ag y mae y canlyniadau mwyaf i'r byd yn dibynu ar y gweinyddiad o honi; swydd ag y mae y cyfrif manylaf yn eich aros ar y dull y gweinyddir hi genych; a swydd ag y mae ei goruchwylion y fath ag a barai i'r Apostol Paul, wrth feddwl am danynt waeddi allan, 'Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?' Y mae yn gorphwys arnaf fi yn awr roddi i chwi ryw air o gyfarchiad yn yr amgylchiad presennol; ac wedi treulio cryn lawer o amser i feddwl yn nghylch yr hyn a fyddai gyfaddasaf i'r achlysur, nis gallaf feddwl am ddim mwy teilwng o'ch sylw na'r geiriau hyny o eiddo yr Apostol Paul a gawn yn 2 Cor. v. 11," &c.

cyffredinol trwy yr holl fyd, ac yn mhlith yr holl genhedloedd, yn wrthwyneb i syniadau gŵyrgam a chyfyng a rhagfarnllyd y gau-athrawon Iuddewig. Ond, tra yn cydnabod yr ymröad a'r dyhewyd y beiid ef o'u plegyd, ac a ymddangosent i ryw rai megis gradd o wallgofrwydd, y mae yn dangos eu bod yn cyfodi yn gwbl oddiar argyhoeddiad dwfn o'i gyfrifoldeb i Dduw, am y dull y cyflawnai y gwasanaeth a ymddiriedasid iddo:— "Canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist." Y mae y gair a ddarllenir yma, "*ymddangos*," yn arwyddo mwy na sefyll neu fod yn bresennol yno. Yr un gair ydyw ag a ddarllenir ddwywaith yn y testyn, "gwneyd yn hysbys"; a'r ystyr ydyw, Fe'n gwneir ni oll yn hysbys yn mrawdle Crist; ni a ymddangoswn yno yn ein gwir gymeriad; ni a ymddangoswn yno yr hyn ydym. Fe ddatguddir yno yn berffaith, oddiar ba ysbryd yr ydym yn gweithredu, pa egwyddorion sydd yn ein llywodraethu, ac at ba amcanion yr ydym yn cyfeirio. Ac fe fydd ein tragywyddoldeb ni yn troi ar hyny: "fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynnag ai da ai drwg."

Ac yn y geiriau yn awr ger ein bron, y mae yn gosod allan y dylanwad yr oedd yr ystyriaeth o hyn yn adael ar ei feddwl, yn y cyflawniad o'i weinidogaeth: "A ni, gan hyny, yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion." Y mae yn anhawdd penderfynu yn gwbl ar yr hyn a olygir yma wrth "*ofn* yr Arglwydd"; pa un a yw yn cyfeirio at y teimlad yn dufewnol yn y galon, ai ynte at yr hyn sydd yn y gwrthddrych oddiallan yn gyfaddas i'w gynnyrchu; hyny yw, pa un a yw yn golygu *ofn* ai *ofnadwyaeth*. Y mae y defnydd cyffredin o'r gair "*ofn*" yn y Testament Newydd, yn gystal a'r ymadrodd "ofn yr Arglwydd," yn yr Hen

Destament, yn ymddangos fel yn pleidio y golygiad cyntaf. "Yn gwybod ofn yr Arglwydd,"—yn ngrym ein teimlad o barchedigaeth iddo, ein hawydd i ryngu ei fodd, a'n harswyd rhag gwneyd dim i'w ddigio, "yr ydym yn perswadio dynion." Mae y golygiad yna yn dra naturiol; ac fel yna y mae Grotius, Alford, Hodge, ac ereill, yn esbonio.

Y mae y cysylltiad yma, pa fodd bynnag, yn ymddangos yn hytrach yn pleidio y golygiad arall,—"Yn gwybod *ofnadwyaeth* yr Arglwydd." Dan ddylanwad yr ystyriaeth pa mor ddifrifol ydyw ymddangos ger bron y frawdle i roddi ein cyfrif i fyny, a'r canlyniadau pwysig fydd i hyny, "yr ydym yn perswadio dynion." Y mae yn ymddangos hefyd fod y gair a ddarllenir yma, "*gwybod*," yn annghydweddol â'r golygiad blaenorol, ac yn cyfeirio nid at yr hyn y gallai dyn fod yn ymwybodol o hono fel ei deimlad personol a thufewnol, megis *ofn*, ond at rywbeth megis oddiallan i'r meddwl, yr hyn a barai yr *ofn*,—*ofnadwyaeth*. Dyna y golygiad a gymmerir gan Chrysostom, Calvin, Beza, Estius, Bengel, Billroth, Stanley, Webster *and* Wilkinson, a lliaws ereill.

Y mae Meyer, ac felly Kling, yn cymmeryd golygiad sydd yn tynu yn agos iawn i'r un diweddaf a nodwyd, ac eto yn deall y gair "*ofn*" yn cyfeirio at y teimlad tufewnol. Yn gymmaint a'n bod yn gwybod yr ofn sydd yn gweddu i Grist fel Barnwr, gan nad ydyw arswyd duwiol ger ei fron ef mewn un modd yn deimlad dieithr ac anadnabyddus i ni; ond, i'r gwrthwyneb, gan ein bod yn gwybod pa mor fawr ac yn mha fodd y mae efe i'w ofni, "yr ydym yn perswadio dynion."

Y mae rhai yn cymmeryd y "*perswadio*" yma yn cyfeirio at ymdrech yr Apostol i argyhoeddi dynion o'i gywirdeb yn ei amcanion gyda'r weinidogaeth, ac nad oedd yn cael ei lywodraethu yn ei lafur gan unrhyw

egwyddor wael ac isel, ond gan ysbryd gwir Gristionogol. Eithr y mae yr esboniad yna yn sicr yn darostwng yr Apostol i rodres a hunanolder hollol annheilwng o hono, a chwbl annghydweddol â'i wir gymeriad. Nid oes un amheuaeth genym ni nad ydyw y gair i'w ddeall yn gysylltiedig â'r ymddiried a roddasid iddo am "air y cymmod," y cyfeiria ato yn mlaen yn y bennod, a'i fod yn golygu ei ymdrech er "perswadio dynion" i gofleidio yr Efengyl, i dderbyn y cymmod, ac felly sicrhau iddynt eu hunain fywyd tragywyddol.

"Eithr i Dduw y'n gwnaed yn hysbys." Yr ydym yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef. Y mae efe yn gweled dirgelion ein calonau, yn treiddio i ddyfnderoedd ein hysbryd, ac yn ein canfod yr hyn ydym mewn gwirionedd. Ac y mae gyda hyny yn cymmeradwyo ein hamcanion a'n cymhelliadau.

"Ac yr ydwyf yn gobeithio ddarfod ein gwneuthur yn hysbys yn eich cydwybodau chwithau hefyd." Y mae hyd yn hyn, er dechreu y bennod, wedi bod yn llefaru yn y lliosog; ond yn awr, pan yn cyfeirio at beth oedd yn hollol bersonol iddo ei hunan, y mae yn gwbl naturiol yn troi i'r unigol. "Yr wyf yn gobeithio nad oes cymmaint ag un o honoch, ag y bûm yn llafurio yn eich mysg, ac a gawsoch y fantais oreu i sylwi ar fy ymddygiad, ac i adnabod fy nghymeriad, nad oes llais o'i fewn yn fy mhlaid, nad ydyw ei gydwybod yn dwyn tystiolaeth i mi, fy mod mewn gwirionedd o ddifrif am iachawdwriaeth ei enaid."

Gan ddeall y geiriau fel yna, mi a ddymunwn eich sylw neillduol ar dri pheth oddiwrthynt :—

I. Fod difrifoldeb gweinidogaethol yn gwreiddio mewn dwysder crefyddol: "Yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion."

II. Fod cymhwysder yn y cyfryw ddifrifoldeb i adael

argraff o hono ei hunan ar feddyliau dynion: "Yr ydwyf yn gobeithio ddarfod ein gwneuthur yn hysbys yn eich cydwybodau chwithau hefyd."

III. Pa un bynnag a lwydda i hyny ai peidio, ei fod yn sicr o ennill cymmeradwyaeth y Goruchaf: "I Duw y'n gwnaed yn hysbys."

I. Fod difrifoldeb gweinidogaethol gwirioneddol yn gwreiddio mewn dwysder crefyddol: "Yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion."

Y mae yn amlwg, fel y sylwasom eisoes, mai cyfeirio y mae yr Apostol yma at y difrifoldeb a'i hynodai ef yn y cyflawniad o'i weinidogaeth;—difrifoldeb mor fawr, fel ag yr oedd pob peth arall wedi ei golli ynddo, ac y methai ei elynion a rhoddi un cyfrif am dano, oddieithr trwy awgrymu fod gradd o wallgofrwydd wedi ei feddiannu. Yr ydoedd yn "*ymorchestu*" am foddio ei Arglwydd; yr ydoedd yn cael ei "*gymmell*" gan gariad Crist; nid ydoedd "yn adnabod neb yn ol y cnawd"; cael dynion at Grist ac yn greaduriaid newydd ynddo, oedd ei gwbl ef mwyach; yn "erfyn," yn "deisyf," yn "attolwg," ar ddynion dderbyn y cymmod, yn edrych arno ei hunan dros Grist, ac megis pe buasai Duw ei hunan yn deisyf arnynt drwyddo, ac yn angerddolrwydd ei deimlad, a'i argyhoeddiad o ddigonolrwydd y drefn trwy Iesu Grist ar gyfer y byd, yr oedd yn ymdrechu hyd ag y gallai i wneuthur yr Efengyl am dano yn adnabyddus i'r holl fyd, ac i gael yr holl fyd i'w chofleidio.

Yn awr, yn y testyn, y mae yn olrhain y difrifoldeb hwn i'r ffynnonell y tarddai o honi, sef, y dwysder crefyddol a'i meddiannai; neu, mewn geiriau ereill, y mae yn ein dysgu mai yr hyn a deimlai megis Cristion, a barai iddo deimlo ac ymdrechu fel ag y gwnai megis Apostol: "A ni yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr ydym

yn perswadio dynion." Ac y mae o bwys i ni sylwi fod yr hyn a gynnyrchai y fath ddifrifoldeb ynddo ef, yn sicr, yn ol ei radd, o gynnyrchu yr un peth yn mhawb a gyfranogont o hono. Y mae dwysder crefyddol yn cynnyrchu difrifoldeb gweinidogaethol,—

1. Fel y mae yn tybied, neu yn hytrach yn cynnwys, argyhoeddiad dwfn a sefydlog o wirionedd tystiolaeth y weinidogaeth: "Yn *gwybod* ofn yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion." Angenrheidrwydd cyntaf difrifwch ydyw ffydd. Pa mor bwysig bynnag y gall unrhyw beth fod ynddo ei hun, oddieithr i ddyn fod yn credu ei wirionedd, y mae yn anmhosibl iddo effeithio er creu difrifwch yn ei feddwl ef. Y mae yn analluadwy meddwl am genadwri bwysicach na'r un oedd gan Lot, pan yn rhybuddio ei feibion-yn-nghyfraith o'r perygl yr oeddent ynddo yn Sodom: "Cyfodwch, deuwch allan o'r fan yma; o herwydd y mae yr Arglwydd yn difetha y ddinas hon" (Gen. xix. 14). Yr oedd y perygl yr oeddent ynddo yn Sodom yn ofnadwy; yr oedd yn perthynu yn uniongyrchol iddynt hwy eu hunain; yr oedd yn eu hymyl, ac ar eu goddiweddyd. Ond nid oeddent hwy yn credu yr hyn a ddywedai; ac felly, "yn ngolwg ei ddawon yr oedd efe fel un yn cellwair." O ddiffyg ffydd, nid oedd y perygl yn bod iddynt hwy, ac yn ganlynol "cellwair" yn eu golwg oedd y bygythiad o hono. Yn awr, ffydd yn unig a all roddi bodolaeth sylweddol yn y meddwl i wrthddrychau ysbrydol ac anweledig. Dyna ydyw ffydd. "Ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled" (Heb. xi. 1). Tra na byddo dyn yn credu y pethau y tystiolaethir am danynt, y mae y pethau, iddo ef, megis pe na byddent yn bod. Dyna yn wir ydyw annghredinaeth,—gwadiad ymarferol, os nad pynciol, o'u bod, neu o'u pwys, neu

o'u perthynas á'r dyn ei hunan. Ond y mae dwysder crefyddol yn cynnwys argyhoeddiad dwfn a sicr o fodolaeth pethau dwyfol, ac o wirionedd y tystiolaethau dwyfol. Y mae dyn, trwy ffydd, yn gallu cymdeithasu yn fywiog â phethau nas gall eu gweled â'i lygaid, na'u clywed â'i glustiau, na'u dirnad â'i reswm, a hyny nes rhoddi bodolaeth mor wirioneddol a sylweddol iddynt i'w deimlad ef, ag sydd i wrthddrychau ei synwyrau corphorol yn ei feddwl. Y mae perchen ffydd yn meddu math o synwyr newydd, sydd yn agor iddo fyd newydd, ac yn ei ddwyn i olwg rhyfeddodau newyddion, nas gallasai hebddo ffurfio un drychfeddwl am danynt. Ac i'r dyn sydd yn credu fel hyn, y mae holl wirioneddau yr Efengyl yn ffeithiau, â bodolaeth sylweddol yn perthynu iddynt. Nid tybiau, nid golygiadau, nid syniadau, nid egwyddorion megis gwirioneddau cyffredinol angenrheidiol i'r rheswm, yn annibynol ar bob peth yn y byd oddiallan yn cyfateb iddynt, ac yn hanfodi yn unig megis ffurfiau noeth yn y meddwl, fel egwyddorion Rhifyddiaeth, neu Fesuroniaeth, neu Resymeg. Na, y mae y pethau eu hunain *yn bod*. Y mae Duw *yn bod*: y mae deddf *yn bod*: y mae pechod *yn bod*: y mae euogrwydd *yn bod*: y mae cyflwr colledig *yn bod*: y mae tragywyddoldeb *yn bod*; y mae uffern *yn bod*: y mae nefoedd *yn bod*: oes: y mae Ceidwad *yn bod*: y mae Iawn *yn bod*: y mae trugaredd a maddeuant ac iachawdwriaeth *yn bod*. Y mae y gwirioneddau am y pethau hyn, nid yn bynciau noethion i'r sawl sydd yn eu credu, ond y mae y grediniaeth yn rhoddi bodolaeth sylweddol iddynt yn ei feddwl ef, yn cyfateb i'r hanfodiad gwirioneddol sydd iddynt megis ffeithiau yn y byd ysbrydol yn flaenorol i, ac yn gwbl annibynol ar, ei grediniaeth neu ei annghrediniaeth ef o honynt; a chanlyniadau tragywyddol yn dybynu ar ei berthynas ef â hwynt. Yn awr, y mae

argyhoeddiad dwfn o wirionedd peth, dan angenrheidrwydd, yn ol graddau ei bwysigrwydd, o wneyd y dyn a'i meddianno yn ddifrifol gyda golwg ar y peth hwnw. Ac y mae yn hollol anmhosibl i neb gredu gwirionedd yr Efengyl heb fod felly. Y mae ei ffeithiau y fath, fel, erbyn eu credu, y mae y dyn yn teimlo fod canlyniadau tragywyddol iddo ef yn dybynu arnynt ac ar y berthynas sydd rhyngddo â hwynt. A dyma yr hyn a wna y pregethwr yn ddifrifol. Dyma oedd yn gosod y fath ddifrifoldeb ar weinidogaeth yr Apostolion. "Ni allwn ni na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom" (Act. iv. 20). "Yr hyn a welsom ac a glywsom yr ydym yn ei fynegi i chwi" (1 Ioan i. 3). "Ond un o'r milwyr a wanodd ei ystlys ef â gwaywffon; ac yn y fan daeth allan waed a dwfr. A'r hwn a'i gwelodd a dystiolaethodd; a gwir yw ei dystiolaeth: ac efe a ŵyr ei fod yn dywedyd gwir, fel y credoch chwi" (Ioan xix. 34, 35). Yr oedd gwirioneddau yr Efengyl, fel hyn, yn eu meddyliau hwy yn sylweddau: "Canys nid gan ddilyn chwedlau cyfrwys yr hysbysasom i chwi nerth a dyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist, eithr wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid" (2 Petr i. 16). Yr oedd yr Apostolion yn credu, ac am hyny yn llefaru.

Fe ellir dywedyd yr un peth am Hen Bregethwyr Cymru, yn neillduol yr Hen Dadau Methodistaidd. Yr oeddent hwythau yn eu crefydd uwchlaw pob amheuaeth, yn nghylch gwirioneddau yr Efengyl, ac am hyny yr oeddent yn eu pregethu uwchlaw pob cellwair. Yr oedd eu gweinidogaeth yn cyfranogi o ddifrifoldeb sicrwydd eu ffydd. Yr oeddent yn credu, ac am hyny yn llefaru. Yr oedd llawer o honynt heb wybod dim am y gwrthddadleuon cyffredin yn mhlith anffyddiaid yn erbyn yr Efengyl, ac felly nis gallasent mewn un modd fod i fyny yn bynciol â

sylfaeni y gwirionedd; ond yr oedd ganddynt, iddynt eu hunain fel Cristionogion, rywbeth annhraethol uwch, ac iddynt eu hunain fel pregethwyr, yn amgylchiadau eu gwlad ar y pryd, rywbeth annhraethol well,—profiad dwfn a dwys a sefydlog, o awdurdod y gwirionedd ar eu meddyliau eu hunain, teimlad calon fod yr Efengyl yn allu Duw er iachawdwriaeth,—y dystiolaeth ynddynt eu hunain. Yr oedd hyny yn eu gwneuthur bob amser yn ddifrifol. Ac nid oes dim a wna un yn wir ddifrifol ond hyn. Y mae nodwedd gwirioneddau yr Efengyl y fath, fel y mae yn anmhosibl iddynt gael eu gosod allan gyda dim difrifoldeb, yn cyfateb i'w natur, oddieithr fod meddwl y pregethwr wedi ei lanw âg argyhoeddiad trwyadl a dwfn mai *gwirioneddau* ydynt, ac nis gall hyny fod ond lle byddo gwir ddwysder crefyddol. Meddylier am unrhyw wirionedd ag y mae yn gorphwys ar weinidog yr Efengyl ei ddwyn dan sylw ei wrandawyr; colledigaeth cyflwr; halogedigaeth natur; person Crist; yr Iawn; cyfiawnhad trwy ffydd; y farn gyffredinol; nefoedd; uffern; neu unrhyw wirionedd arall; ac fe deimlir ar unwaith fod yn anmhosibl iddynt gael eu gosod allan gyda dim difrifoldeb yn cyfateb i'w pwys, ond fel y byddo meddwl y pregethwr wedi ei lanw âg argyhoeddiad trwyadl a dwfn o'u gwirionedd.

2. Y mae dwysder crefyddol yn cynnyrchu y difrifoldeb hwn, fel y mae yn cynnwys ymdeimlad calon â *phwysigrwydd* annhraethol pethau y weinidogaeth: "Yn gwybod *ofn,—ofnadwyaeth*,—yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion." Tuag at wneyd dyn yn ddifrifol gydag unrhyw fater, y mae yn hollol angenrheidiol fod, nid yn unig argyhoeddiad yn y meddwl o'i wirionedd, ond hefyd ymdeimlad â'i bwysigrwydd. Y pwysig yn unig a all ddifrifoli. Mae dyn yn naturiol yn teimlo yn ol y ddirnadaeth fyddo ganddo am gymeriad y gwrth-

ddrychau, neu nodwedd y gwirioneddau a ddyger i'w sylw neu a gyflwyner ger ei fron. Mae wedi ei wneuthur i hoffi yr hyn a ymddangoso iddo ef yn brydferth; i synu at yr hyn a ystyrio efe yn gywrain; i dosturio wrth y sawl a gyfrifo yn druenus; i gyffroi yn yr olwg ar yr ysgeler; i ofni pan y gwelo y perygl; ac i *ddifrifoli* yn nghymdeithas y *pwysig*. Ac mewn gwirionedd, yn ol deddfau tragywyddol y meddwl dynol, y mae yn anmhosibl i wagedd, neu yr hyn a ystyrier gan ddyn yn gyfryw, ei ddifrifoli byth. Ond dyger y meddwl i gyfarfyddiad â phethau digon pwysig,—pethau a gydnabyddir felly ganddo,—a'r pethau hyny yn dal perthynas uniongyrchol âg ef ei hunan, ac y mae ar unwaith yn dyfod yn ddifrifol. Nis gall, yn ol y natur sydd ganddo, tra yn nghymdeithas y cyfryw bethau, ac yn sylweddoli eu hystyr, os bydd yn ei bwyll, lai na bod felly. Gadewch i'r dyn deimlo fod ei amgylchiadau mewn perygl, fod ei iechyd wedi ei anmharu, fod angeu yn nesâu ato; gadewch iddo deimlo oddiwrth rywbeth pwysig, yn dal perthynas âg ef ei hunan, ac y mae yn y fan yn cael ei sobri drwyddo. Yn awr, y mae dwysder crefyddol, o angenrheidrwydd, yn cyfodi oddiar gymundeb meddwl â gwrthddrychau neu â gwirioneddau o'r fath ag a gyflwynir ger ein bron yn yr Efengyl, ag y mae y pwysigrwydd mwyaf yn perthynu iddynt. Cymmerwch y gwirionedd mawr a nodir gan yr Apostol yn y geiriau blaenorol, a'r ystyriaeth o'r hwn, dybygid, a arweiniodd ei feddwl i'r datganiad yn y testyn: "Canys rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist; fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynnag ai da ai drwg." Fe'n cesglir ni yno; fe'n datguddir ni yno; fe wneir yn amlwg i ni ein hunain, ac i bawb ereill, yr hyn ydym ni yno. Y pryd hyny fe fydd Duw yn barnu dirgeloedd dynion,

a gwir gymeriad pob un yn dyfod i'r golwg; ac ni a fyddwn yn derbyn yn ol hyny. Bydd ein cyflwr yn ddiddiwedd yn dybynu ar y modd y bydd ein hachos yn cael ei adael gan y frawdle. Ni cheir llys uwch byth i apelio ato. Yn awr, y mae yr ystyriaeth o hyn yn peri i ni deimlo. Y mae yr achos mor bwysig. Y mae y canlyniadau mor fawr. Y mae ein tragywyddoldeb yn troi arno:—"Yn gwybod ofnadwyaeth yr Arglwydd." Yr un modd, y mae pwysigrwydd annhraethol a thragywyddol yn holl wirioneddau yr Efengyl. Bod Duw; gwerth enaid; awdurdod y gyfraith; drwg pechod; trefn maddeuant; poenau uffern; llawenydd y nefoedd; meithder tragywyddoldeb. Cymmundeb meddwl â'r pethau hyn, a'r ansawdd calon cyfatebol i hyny ydyw crefydd; a gradd arbenig o hyny ydyw yr hyn a olygir genym wrth ddwysder crefyddol. Yn awr, y mae yn anmhosibl i'r dyn a fyddo yn teimlo fel hyn oddiwrth bethau yr Efengyl gyda golwg ar ei achos ei hunan, beidio a bod yn ddifrifol pan yn eu dwyn ger bron ereill. Oblegyd yn yr un goleuni ag y mae yn gweled gwerth ei enaid ei hun, y mae yn gweled gwerth eneidiau ereill hefyd. Yn yr un goleuni ag y mae yn gweled ei fod ef ei hunan yn golledig, y mae yn gweled fod pawb felly. Ac y mae y goleuni sydd yn dangos Iesu Grist yn Waredwr digonol iddo ef, yn ei ddangos hefyd yn ddigonol ar gyfer byd cyfan. Yn ganlynol, yn gyfatebol i'r graddau y byddo dyn yn profi ymgeledd yr iachawdwriaeth ar ei enaid ei hun, y bydd ei awydd am i ereill gael profi yr un peth. Mae yn gofus genyf am Mr. Rees, er's llawer o flynyddoedd bellach, yn Sassiwn Lerpwl yn holi Thomas Jones, y cenhadwr, ac yn mhlith pethau ereill yn gofyn iddo, "Pa bryd y byddwch chwi yn teimlo mwyaf o bryder yn achos iachawdwriaeth eich cyd-ddynion? Ni byddwch, mae yn debyg, yn

teimlo yr un mor ddwys bob amser?" A'r ateb oedd, "Pan y byddaf yn gweled fy nghyflwr truenus fy hunan yn fwyaf eglur, a chymhwysder Crist fel Gwaredwr i mi, dyna'r pryd y byddaf yn teimlo yn fwyaf awyddus i ereill gael eu dwyn ato." Y teimlad yna, fy mrodyr, o gymhwysder yr Efengyl fel yr unig ddarpariaeth i'n gwrandawyr a'n gwna ni yn ddifrifol yn ein gweinidogaeth. Pan yn y pulpud yr ydwyf yn siarad â dynion dan gondemniad, ac nid oes un drefn i'w rhyddhau, ond yr un sydd genyf fi i'w chynnyg iddynt. Dim ond hon. Dyma yr unig Geidwad yn cael ei gynnyg i rai yn haeddu marw byth. "Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall." "Crea galon lân ynof, O Dduw; ac adnewydda ysbryd uniawn o'm mewn. Na fwrw fi ymaith oddi ger dy fron; ac na chymmer dy Ysbryd Sanctaidd oddiwrthyf. Dyro drachefn i mi orfoledd dy iachawdwriaeth; ac â'th hael Ysbryd cynnal fi. Yna y dysgaf dy ffyrdd i rai anwir; a phechaduriaid a droir atat" (Psalm li. 10—13). Y mae y dyn yn nwysder ei grefydd yn gweled y diluw yn dyfod ar fyd y rhai anwir, ac yn gwneuthur ei oreu er eu cymmell i'r arch. Y mae yn gweled yr awyr yn duo a'r gawod frwmstanaidd ar ddisgyn, ac yn ymdrechu â'i holl egni cael pawb yn ei gyrhaedd allan o ddinas distryw. Y mae yn gweled y dialydd, ac yn ddifrifol yn cymmell y llofrudd i ffoi i'r noddfa, fel y caffo fyw.

3. Y mae dwysder crefyddol yn cynnyrchu y difrifoldeb hwn, fel y mae yn *symleiddio* ac yn *unoli amcan* dyn yn ei lafur gweinidogaethol: "Yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr ydym yn *perswadio* dynion." Y mae difrifoldeb yn gofyn neillduolrwydd amcan. Y mae yn anmhosibl i ddyn wneuthur pob peth, na theimlo yn angerddol dros bob achos. Y mae ei natur derfynol, megis creadur, yn ei gyfyngu o angenrheidrwydd i

gylch bychan mewn cymhariaeth o wrthddrychau i ymgydnabyddu â hwynt, ac i gylch llawer iawn llai o amcanion i'w cyrhaedd. Fel y teimla yn ddwys oddiwrth unrhyw beth, bydd ei feddwl yn cael ei feddiannu gan y peth hwnw; a phan y byddo holl enaid dyn dan ddylanwad rhyw wirionedd, neu yn argyhoeddedig o bwys arbenig rhyw un amcan, dyn i hyny a fydd y dyn hwnw o hyny allan. Nid oes dim mwy eglur yn hanes y byd na bod y dynion a wnaethant orchestion mawrion ynddo yn ddynion, i fesur mawr, o un drychfeddwl. Meddyliwch am William Wilberforce, yn y deyrnas hon, wedi ei feddiannu â'r meddwl am ddinystrio caethfasnach a rhyddhau y caethion. Wel! dyn i hyny ydoedd. Dyna ei feddwl gwastadol. Nid oedd, ar y pryd, mewn cymhariaeth, yn cymmeryd dyddordeb mawr mewn dim arall. I hyny yr oedd yn byw, yn symmud, yn bod. Am hyny y byddai yn ymddyddan, tuag at hyny y byddai yn darllen, ar hyny y byddai yn ysgrifenu. Dyn megis o un *idea*, o un meddwl ydoedd. Yr oedd yn gysegredig i'r amcan fel gorchwyl mawr ei fywyd; ac fe lwyddodd yn ardderchog ynddo.

Yn awr, y mae crefydd uwchlaw pob peth yn unoli amcan dyn. Ei ymofyniad cyntaf dan ei dylanwad hi yw, "Beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf cadwedig?" Ac nis gall hyny byth lithro yn beth bychan yn ei feddwl. Edrychwch ar yr Apostol Paul. Gwrandewch arno yn adrodd ei brofiad a'i hanes. "Yr wyf fi gan hyny felly yn rhedeg, nid megis ar amcan; felly yr wyf yn ymdrechu, nid fel un yn curo yr awyr. Ond yr wyf fi yn cospi fy nghorph, ac yn ei ddwyn yn gaeth; rhag mewn un modd, wedi i mi bregethu i ereill, fod fy hun yn anghymmeradwy" (1 Cor. ix. 26, 27). "Am hyny hefyd yr ydym yn ymorchestu, pa un bynnag ai gartref y byddom, ai oddicartref, ein bod yn gym-

meradwy ganddo ef" (2 Cor. v. 9). Ac yr oedd, hyd ddiwedd ei oes, yn parhau yn yr un teimlad. "Y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist. Ie, yn ddiammeu, yr wyf hefyd yn cyfrif pob peth yn golled, o herwydd ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd: er mwyn yr hwn y'm colledwyd yn mhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom, fel yr ennillwyf Grist, ac y'm ceir ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r gyfraith, ond yr hwn sydd trwy ffydd Crist, sef y cyfiawnder sydd o Dduw trwy ffydd: fel yr adnabyddwyf ef, a grym ei adgyfodiad ef, a chymdeithas ei ddiofeddiadau ef, gan fod wedi fy nghydffurfio â'i farwolaeth ef; os mewn un modd y gallwn gyrhaeddyd adgyfodiad y meirw: nid fel pe bawn wedi ei gyrhaeddyd eisoes, neu fod eisoes wedi fy mherffeithio; eithr dilyn yr wyf, fel y gallwyf ymaflyd yn y peth hwn hefyd yr ymaflwyd ynof gan Grist Iesu. Y brodyr, nid wyf fi yn bwrw ddarfod i mi gael gafael: ond un peth, gan annghofio y pethau sydd o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen, yr ydwyf yn cyrchu at y nôd, am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu" (Phil. iii 7—10). Dyna y fath oedd yr Apostol Paul yn ei grefydd. Yr oedd ei achos mawr personol rhyngddo â Duw wedi meddiannu ei holl enaid; ac nid oedd yr hyder oedd ganddo fod yr achos hwnw yn dda, mewn un modd yn ei wneuthur yn llai pryderus o berthynas iddo.

Yn ganlynol yr ydym yn cael fod y dwysder hwn oedd yn ei feddwl, gyda golwg arno ei hunan yn bersonol, yn cynnyrchu y difrifoldeb mwyaf yn y cyflawniad o waith ei swydd fel Apostol. Yn wir, ynddo ef, rywfodd, y mae ei grefydd a'i weinidogaeth yn ymddangos os nad yn hollol yr un, eto yn ymwau y naill trwy y llall, ac yn ymblethu y naill yn neu am y

llall, fel y mae yn anhawdd yn fynych penderfynu yn gwbl at ba un o honynt yn uniongyrchol y cyfeiria; ac y mae yn sicr nas gallasai edrych arno ei hunan yn llwyddo yn y naill, ond tra yn yr ymroddiad llwyraf i'r llall. Ei bwnc mawr, bellach, ydyw "*perswadio* dynion." Y mae yn awr yn ystyried nad oes dim yn cael ei gyrhaedd, os bydd hyny heb ei gyrhaedd; ac nad oes dim yn cael ei golli os ydyw hyny yn cael ei sicrhau. Nid oes dim llafur yn ormod, dim aberth yn rhy ddrud, os cyrhaeddir hyn. "Nid wyf fi yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr genyf fy einioes fy hun, os gallaf orphen fy ngyrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniais gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu Efengyl gras Duw" (Act. xx. 23, 24). "Beth a wnewch chwi yn wylo, ac yn tori fy nghalon i? canys parod wyf fi nid i'm rhwymo yn unig, ond i farw hefyd yn Jerusalem, er mwyn enw yr Arglwydd Iesu" (Act. xxi. 13). "Ie, a phe y'm hoffrymid ar aberth a gwasanaeth eich ffydd, llawenhau yr wyf, a chyd-lawenhau â chwi oll" (Phil. ii. 17). "Ennill Crist" iddo ei hun, ac ennill eneidiau ato, oeddent yn awr yn oruchaf yn ei feddwl. Y mae yn dwyn pob peth dan ddarostyngiad i hyny; yn gorfodi pob peth i wasanaethu hyny:—"Canys er fy mod i yn rhydd oddiwrth bawb, mi a'm gwneuthum fy hun yn was i bawb, fel yr ennillwn fwy. Mi a ymwneuthum i'r Iuddewon megis yn Iuddew, fel yr ennillwn yr Iuddewon; i'r rhai dan y ddeddf, megis dan y ddeddf, fel yr ennillwn y rhai sy dan y ddeddf; i'r rhai diddeddf, megis diddeddf, . . . . . fel yr ennillwn y rhai diddeddf. Ymwneuthum i'r rhai gweiniaid megis yn wan, fel yr ennillwn y gweiniaid: mi a ymwneuthum yn bob peth i bawb, fel y gallwn yn hollol gadw rhai" (1 Cor. ix. 19—22). "Megis yr ydwyf finau, yn rhyngu bodd i bawb, yn mhob peth; heb geisio fy llesâd fy hun, ond

llesâd llaweroedd, fel y byddont hwy gadwedig" (1 Cor. x. 33). Y mae pob peth arall yn myned yn ddim yn ei olwg mewn cymhariaeth i hyn,—"*perswadio* dynion." Nid eu difyru; eu *perswadio.* Nid eu synu, eu *perswadio.* Nid yn uniongyrchol eu dysgu, oddieithr er mwyn eu *perswadio.* Erfyn, deisyf, attolwg—pob dull, pob peth er mwyn eu perswadio.

Dyna fel yr oedd Paul. Ac i'r graddau y cyfranogwch chwithau o'r un dwysder crefyddol, chwi a fyddwch yn gyffelyb iddo. Gyda'r symledd hwn yn eich amcan chwi a ewch i bob man am ddadleuon er perswadio dynion. Chwi a ymgedwch rhag pob brawddeg, pob cymhariaeth, pob gair, pob tôn ar y llais, pob osgo ar y corph, pob trem ar y llygad,—rhag pob peth na byddo tuedd ynddo i *berswadio* dynion. A chwi a fyddwch yn ddigon gonest a gwrol a gostyngedig i beidio esgeuluso dim o ran mater, iaith, neu ddull ag a wasanaetho i hyny. Y mae yn eglur fel hyn fod gwir ddifrifoldeb gweinidogaethol yn gwreiddio mewn dwysder crefyddol.

II. Fod cymhwysder yn y cyfryw ddifrifoldeb i adael argraff o hono ei hunan ar feddyliau dynion; "Yr ydwyf yn gobeithio ddarfod ein gwneuthur yn hysbys yn eich *cydwybodau* chwithau hefyd."

Mae yn greadur â chymhwysder ynddo i ffurfio rhyw syniad am gymeriad ac ymddygiadau y rhai y delo i gyfarfyddiad â hwynt, ac y mae yn naturiol yn cymmeradwyo rhyw fath ac yn condemnio math arall. Y mae hyny yn cyfodi oddiar y meddylgarwch priodol iddo, ac yn arbenig oddiar y gydwybod y mae yn feddiannol arni. Y mae yr Anfeidrol wedi ei gynnysgaeddu â galluoedd neillduol i ddal cymundeb â'r gwahanol wrthddrychau sydd yn bod, ac y gall ddyfod i gyfarfyddiad â hwynt. Y mae yn dyfod i adnabyddiaeth o'r

byd elfenol, yn ei amrywiol wrthddrychau, trwy gyfrwng ei synwyrau corphorol. Y mae yn adnabod gwrthddrychau mawrion byd y meddwl—gwirioneddau angenrheidiol deall a rheswm, a'r gwirioneddau cysylltiedig â hwynt a dybynol arnynt—trwy ei reswm. Ond y gallu mawr a roddwyd iddo i adnabod ac i ddal cymundeb â'r moesol, ydyw ei gydwybod. Yr ydych oll yn gwybod yn dda am y gallu hwn. Y mae dyn trwy y gallu hwn yn ymddyrchafu uwchlaw yr anianol, uwchlaw y pleserus, uwchlaw y prydferth, uwchlaw y buddiol, uwchlaw y rhesymol,—at y da, y cywir, yr uniawn, y pur. Ac megis ag y mae cydwybod yn tynu gwahaniaeth rhwng y da â'r drwg, felly y mae yn cymmeradwyo y naill ac yn condemnio y llall. Egwyddorion neu deimladau neu ymddygiadau ydyw gwrthddrychau uniongyrchol a chyntaf y gallu hwn. Ond nid ydyw yn aros ar hyny; na, y mae yn cysylltu y gweithredoedd â'r person sydd yn eu cyflawni, ac yn cario allan y farn am y weithred i gymmeradwyaeth neu gondemniad o'r person sydd yn ei chyflawni. Y mae yn cyhoeddi dedfryd ar y person yn ol nodwedd gyffredin ei weithredoedd. Y mae yn anmhosibl i ddyn, gyda'r natur foesol sydd ganddo, beidio rhoddi barn ar bob ymddygiad o eiddo ei gydddyn, can belled ag y delo dan ei sylw ef. A phan y gwelo gydweddiad neu annghydweddiad rhwng ymddygiad dyn mewn unrhyw amgylchiad â'r hyn fyddo briodol i'r amgylchiad, nis gall omedd cymmeradwyaeth o'r naill neu gondemniad o'r llall. Yn awr, y mae cellwair gyda phethau cysegredig, hyfdra cnawdol uwchben pethau dwyfol, ysgafnder gyda phethau pwysig ysbrydol a thragywyddol, yn cael eu teimlo gan y gydwybod yn bethau pechadurus ac annuwiol, ac ar unwaith yn cael eu condemnio ganddi; tra y mae difrifoldeb yn yr holl ymddygiad, gyda golwg ar y

pethau hyn, yn cael ei deimlo fel yr hyn sydd briodol i'r pethau, ac yn y fan yn ennill cymmeradwyaeth. Mae y Testament Newydd yn amlwg yn cydnabod y gallu hwn megis eiddo cynhenid i'r ddynoliaeth, ac yn fynych yn apelio yn uniongyrchol ato. Y mae hefyd yn hòni fod addasrwydd perffaith yn yr Efengyl o ran y gwirioneddau a ddysgir ganddi, a'r dyledswyddau y mae yn cymmell atynt, i gyfarfod ei holl hawliau. "Trwy eglurhad y gwirionedd yr ydym yn ein canmol ein hunain wrth bob cydwybod dynion yn ngolwg Duw" (2 Cor. iv. 2). "Bywiol yw gair Duw, a nerthol, a llymach nag un cleddyf dau-finiog, ac yn cyrhaedd trwodd hyd wahaniad yr enaid a'r ysbryd a'r cymmalau a'r mer; ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon" (Heb. iv. 12).

Ac y mae yn gysur mawr i'r gweinidog ffyddlawn, yn y cyflawniad o'i ddyledswyddau, gofio fod yn mynwesau ei wrandawyr dyst yn ei blaid, tyst sydd yn cyd-ddywedyd yn hollol âg ef, yn cadarnhau pob gwirionedd a ddysgir ganddo, ac yn peri, ar adegau os nad yn wastadol, i'r rhai caletaf a mwyaf anystyriol o honynt, deimlo yn eu calonau ryw gymmaint o barchedigaeth iddo. Felly yr ydym yn cael yr Apostol yn ymgysuro yma: "Ac yr ydwyf yn gobeithio ddarfod ein gwneuthur yn hysbys yn eich cydwybodau chwithau hefyd."

Y mae cymhwysder arbenig mewn difrifoldeb gweinidogaethol i gyfarfod y gallu hwn sydd yn meddyliau dynion, ac i ennill eu cymmeradwyaeth :—

1. Yn yr addasrwydd sydd ynddo i dynu sylw neillduol y gwrandawyr at yr hyn a draddoder iddynt. Y mae yn amlwg fod holl lwydd y weinidogaeth yn dybynu ar y mesur o sylw a delir i'w chynnwysiad hi. Yr un peth agos o ran buddioldeb ydyw yr Efengyl i'r dyn nad ydyw yn talu un sylw iddi, a phe byddai o gwbl

hebddi. Yn awr nid oes un lle i ammeu nad oes peth dirfawr o'r hyn a elwir "*gwrandaw*" yn ein gwlad yn wrandaw hollol ddisylw. Y mae y geiriau, ac arfer dywediad cyffredin, megis yn myned i mewn trwy un glust, ac allan trwy y llall, heb gael dim ystyriaeth. Y mae yn rhywbeth hynod, yn sicr, pa fodd y mae cynnifer i'w gweled yn cyrchu mor gyson i swn yr Efengyl, ac ar yr un pryd yn ymddangos mor ddisylw o'r hyn a lefarir wrthynt. Y mae yn ddiamheuol fod yr achos mawr o hyny yn yr annhueddrwydd sydd mor naturiol i galon lygredig pechadur at bethau crefydd, er fod ynddo ryw fath o ymdeimlad â'i angen am dani. Y mae yn sicr hefyd y parai gradd uwch o ddysgyblaeth feddyliol, fel ag i gynnefino y bobl i dalu sylw astud i ba beth bynnag a gyflwynid ger eu bron, gryn lawer tuag at ddiwygiad. Ond y mae un peth yn nghyraedd pob pregethwr, ac a ddylai nodweddu pob pregethwr, mwy tebyg na dim arall o fod yn effeithiol i sicrhau sylw ei wrandawyr ar yr hyn a lefarer ganddo, y *difrifoldeb* ag y ceisiwn ei gymmell arnoch. Pan y byddo dyn yn teimlo yn ddwys ei hunan yr hyn a draether ganddo i ereill, y mae hwnw yn lled sicr o ennill sylw. Yr oedd ein Gwaredwr bendigedig yn esiampl nodedig yn hyn, fel yn mhob rhagoriaeth arall. Pan yn pregethu y tro cyntaf yn Nazareth, "Yr oedd llygaid pawb oll oeddent yn y synagog yn craffu arno; ac yr oeddent yn rhyfeddu am y geiriau grasusol a ddeuent allan o'i enau ef" (Luc. iv. 20, 22). Bryd arall, pan anfonwyd y swyddogion gan yr arch-offeiriaid a'r Phariseaid i'w ddal ef, eithr wedi gwrandaw arno yn llefaru, nid oedd nerth ynddynt i ymaflyd ynddo, ac y maent yn dychwelyd hebddo. A phan yn cael eu holi gan yr arch-offeiriaid, "Paham na ddygasoch chwi ef?" y maent yn naturiol yn ymesgusodi trwy ateb, "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn"

Ioan vii. 32, 45, 46). Yr oedd yr un peth yn hynodi yr Apostol Paul. Yr oedd raid hyd yn nod i Ffelix dalu sylw iddo pan y pregethai, nes crynu dan ei weinidogaeth; ac felly nid oedd ganddo er cael tawelwch i'w gydwybod ond rhoddi taw arno: "Dos ymaith, ar hyn o amser; pan gaffwyf fi amser cyfaddas, mi a alwaf am danat" (Act. xxiv. 25). Fe effeithia difrifoldeb yr un peth, i raddau mwy neu lai, bob amser. Ond rhaid iddo fod yn ddifrifoldeb gwirioneddol ac nid ffugiol; a rhaid iddo fod yn ddifrifoldeb cyson. Nid rhywbeth yn meddwl neu yn agwedd y pregethwr i'w gymmeryd i fyny yn y pulpud, neu wrth fwrdd y cymun, neu yn y cyflawniad o ryw ran arall o'i weinidogaeth, fel cymmeryd i fyny ryw ddilledyn, ond rhaid iddo fod yn gywair neu dôn gyffredin a sefydlog y meddwl. Difrifwch gwirioneddol—nid ymddangosiad ar y pryd—nac yn wir fesur o'r peth ei hunan ar y pryd—ond y peth ei hunan yn yr ysbryd, ac yn ei amlygu ei hunan yn nhôn y llais, yn edrychiad y llygad, yn ngwedd y wyneb-pryd, yn mater y genadwri, yn symledd y cyfansoddiad, ac yn arbenig yn annghof y pregethwr o hono ei hunan.

2. Y mae difrifoldeb gweinidogaethol yn gadael argraff o hono ei hunan ar feddyliau dynion, fel ag y mae yn gyfaddas i ennill ymddiried y gwrandawyr yn y pregethwr. Mae yn anmhosibl i weinidogaeth fod yn effeithiol os na bydd rhyw gymmaint o ymddiried gan y gynnulleidfa ynddi; ac y mae yn hysbys i ni oll y dylanwad a gâ y cyfryw ymddiried ar feddwl y bobl er peri derbyniad i'r genadwri. Dyweded ambell un y pethau goreu ar y pethau pwysicaf, ac y maent yn disgyn yn gwbl ddieffaith, tra y mae y pethau mwyaf cyffredin, oddiwrth un arall, yn cael eu gwrando gyda'r astudrwydd dyfalaf. Y mae cymeriad ysgafn un yn darostwng y pethau a ddywedir ganddo, a chymeriad pwysig y

llall yn eu dyrchafu—ïe, yn peri i bethau lled gyffredin gael eu mawrygu a'u canmol, ac aros yn meddyliau dynion am hir amser, i beri lles mawr iddynt. Mewn gwirionedd, y mae gan y dylanwad a berthyn i bwysigrwydd cymeriad y lle uchaf yn llwyddiant y weinidogaeth. Yn awr, nid oes dim mor effeithiol er cynnyrchu yr ymddiried hwn ag argyhoeddiad dwfn yn meddyliau dynion o ddifrifoldeb diragrith y pregethwr. Y mae yn wir fod pethau ereill yn fanteisiol i hyn—gwybodaeth helaeth, dawn rhwydd a serchiadol, cymeriad da, ïe, amgylchiadau allanol cysurus. Ond nid oes dim mor effeithiol er ei sicrhau â difrifoldeb—dyn âg argyhoeddiad yn nghydwybodau y bobl ei fod yn credu ac yn teimlo ei hunan y pethau a draddoder ganddo iddynt. Er i ddyn fod yn ddiffygiol mewn llawer o bethau ereill,—ei wybodaeth yn gyfyng, ei ymadrodd yn afrwydd, ei lais yn aflafar, ei ddull yn afler, ei amgylchiadau allanol yn isel,—os bydd o ddifrif, yn llefaru argyhoeddiadau ei feddwl yn ddiofn megis cenad i Grist, y mae ar unwaith yn cyrhaedd dylanwad ar gydwybodau dynion, ac yn ennill eu hymddiried fel un yn ymgais am iachawdwriaeth eu heneidiau.

3. Y mae difrifoldeb gweinidogaethol yn gadael ei argraff ar feddyliau dynion, oblegyd y cymhwysder arbenig sydd ynddo i gynnyrchu argyhoeddiad o fawr bwys cenadwri yr Efengyl. Nid oes dim sydd sicrach nag mai gair o'r galon all gyrhaedd y galon. Os byddaf fi yn cellwair, nis gallaf ddysgwyl i'm gwrandawyr fod yn sobr a difrifol. Difrifwch yn unig a all gynnyrchu difrifwch. Y mae cymhwysder naturiol ynddo i hyny. Y mae y gwrandawr, pan y gwel y pregethwr o ddifrif am ei iachawdwriaeth, yn dechreu meddwl,—"A ydyw efe yn cymmeryd yr holl drafferth yma gyda mi, ac a ddylwn i fod yn ddiofal fy hunan? A ydyw cadwedig-

aeth fy enaid i o fwy pwys iddo ef nag ydyw i mi fy hunan? Paham y mae efe mor bryderus, a minau mor anystyriol? A ydwyf fi wedi cael allan rywbeth am danaf fy hun, yr hyn pe gwypai efe a'i gwnelai yn llai pryderus? Naddo; naddo. Nid wyf ond twyllo fy hunan. Y mae efe yn gweled yr ystorm ar dori, ac yn ffyddlawn yn fy rhybuddio, a rhaid i mi ystyr yr hyn a ddywedir ganddo. Y mae efe wedi gweled gogoniant a gras ac addasrwydd a digonolrwydd y Gwaredwr, ac wedi rhoddi ei hunan i'w ofal, a rhaid i minau wneuthur yr un peth, neu gael fy ngholli byth. Y mae Iesu Grist wedi ei dderbyn ef, efe a'm derbyn inau. Iesu mawr, Geidwad pechaduriaid, wele fi yn awr yn dyfod fel yr ydwyf, yn euog, yn aflan, yn dlawd, yn druenus, yn golledig byth o'm rhan fy hunan. Cymmer fi fel yr ydwyf. Dyro dy haeddiant mawr yn fy mhlaid. Er mwyn dy angeu, gad i mi gael byw. Cadw fi er dy fwyn dy hun." "Yr ydwyf yn gobeithio ddarfod ein gwneuthur yn hysbys yn eich cydwybodau chwithau hefyd."

---

Dan y pen olaf ni cheir ond y nodiadau canlynol:—

III. Pa un bynnag a lwydda i hyny ai peidio, ei fod yn sicr o ennill cymmeradwyaeth yr Arglwydd: "i Dduw y'n gwnaed yn hysbys." Yr un gair sydd yn cael ei ddarllen "gwneyd yn hysbys" ddwywaith yn yr adnod hon, ag a ddarllenir "ymddangos" yn yr adnod flaenorol: "Ac i Dduw yr ydym yn ddatguddiedig"; y mae efe yn canfod yr hyn ydym mewn gwirionedd, ac yr ydym yn sicr o'i gymmeradwyaeth ef

1. I symledd a chywirdeb ein hamcan: "perswadio dynion."

2. I briodoldeb ein dull yn ceisio cyrhaedd yr amcan hwn.

# PREGETH XX.*

## Cysur yr Efengyl ar gyfer Anobaith Pechadur.

Ezeciel xxxiii. 10, 11.

"*Llefara hefyd wrth dŷ Israel, ti fab dyn, Fel hyn gan ddywedyd y dywedwch: Os yw ein hanwireddau a'n pechodau arnom, a ninnau yn dihoeni ynddynt, pa fodd y byddem ni byw? Dywed wrthynt, Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, ni ymhoffaf ym marwolaeth yr annuwiol; ond troi o'r annuwiol oddi wrth ei ffordd a byw: dychwelwch, dychwelwch oddi wrth eich ffyrdd drygionus: canys, tŷ Israel, paham y byddwch feirw?*"

Nid oes dim sydd amlycach i'r rhai sydd yn gydnabyddus i ryw fesur â hanes y byd na'r tuedd cryf sydd mewn dynion i redeg o un eithaf i eithaf arall, ac i gofleidio syniadau ac arddangos teimladau, nid yn unig gwahanol ond hollol wrthwynebol i'r rhai a goleddid ganddynt ychydig iawn o amser cyn hyny. Yr ydym yn gweled hyny weithiau mewn golygiad gwladwriaethol; dynion yn ddisymmwth yn rhedeg o un eithaf politicaidd i eithaf arall, heb un rheswm o gwbl, dybygid, am hyny ond y tuedd hwn. Y mae yr un peth i'w weled yn fynych mewn dynion yn bersonol. Fel yna, os cewch chwi y dyn i chwerthin, y mae yn llawer haws ei

* Traddodwyd y Bregeth hon yn Nghymanfa Bangor, ar y 3ydd o Fedi, 1874, i un o'r cynnulleidfäoedd mwyaf a welwyd erioed yn Sir Gaernarfon. Yr oedd y traddodiad gyda nerth annghyffredin, a'r effeithiau yn ddwys ar y dyrfa fawr. Dywedid fod y geiriau, "TROI A BYW," yn glywadwy o bellder mawr; ac adroddid fod gwr o Sais oedd ar y pryd ar ymweliad â'r gymmydogaeth, ac yn rhodiana ar y bryniau uwchlaw y dref, wrth glywed y geiriau, wedi dilyn y swn nes dyfod i gyfeiriad y maes lle y cynhelid y gwasanaeth. Gofynai yn bryderus ystyr y geiriau, "*troi a byw*," a dywedid i'r ystyriaeth o honynt wneyd argraff ddofn ar ei feddwl. Cyhoeddid ar y pryd yn rhai o'r papyrau Seisnig i'r amgylchiad arwain i'w droedigaeth, ond nid oes genym hysbysrwydd am hyn.

gael i wylo na'r dyn sydd mor sobr fel nad ellwch chwi gael un wên ar ei enau. Chwi a gewch y gwrol yn fynych yn disgyn i lwfrdra a digalondid mawr, a'r un sydd yn naturiol yn wanaidd ac ofnus yn fynych yn arddangos y fath ysbryd ac ëondra ag i synu y rhai dewraf o'i amgylch. Fel yna y mae dynion, pan y mae yn dawel arnynt, sydd yn gelyd a beiddgar a bostfawr a rhyfygus, yn ngwyneb rhyw gyfyngder yn colli eu holl ymffrost, ac yn ymollwng yn lliprynaidd i anobaith. Yr ydych yn cofio Cain, a Pharaoh, a Judas, a Volney, ac ereill; ac y mae y geiriau a ddarllenwyd genym yn awr yn destyn yn cyflwyno ger ein bron engraifft neillduol o'r un peth. Ychydig amser yn ol, yr oedd y bobl hyn yn annghredu pob bygythiad, yn diystyru pob rhybudd, ac yn arddangos y fath hyder a beiddgarwch, fel nad oedd dim yn tycio i gael ganddynt ystyried eu perygl. Eithr yn awr, wedi eu dal yn y cyfyngder, ac i'r bygythion a gyhoeddid droi yn sylweddau yn eu teimladau, y mae eu profiad wedi newid, a'u hiaith yn dra gwahanol; y maent nid yn unig yn credu y bygythiad, ond yn annghredu yr addewid, fel, er anfon y prophwyd atynt i gyhoeddi trefn gwaredigaeth, a sicrwydd yn y drefn hono am faddeuant a bywyd ac iachawdwriaeth, na fynant mewn un modd eu cysuro, eithr yn yr ymdeimlad â'u heuogrwydd, a'r profiad o'r drwg sydd erbyn hyn wedi eu goddiweddyd, y maent mewn anobaith yn dywedyd, "Os yw ein hanwireddau a'n pechodau arnom, a ninau yn dihoeni ynddynt, pa fodd y byddem ni byw?" Y mae yn ymddangos fod y bobl, yn y geiriau hyn, yn adgofio yr hyn a lefarasid wrthynt gan y prophwyd yn y genadwri ddiweddaf a draddodasid ganddo cyn hyn iddynt: "Byddwch â'ch capiau am eich penau, a'ch esgidiau am eich traed: ni alerwch ac ni wylwch; ond am eich anwiredd y dihoenwch."

Dihoeni,—toddi fel cwyr, treulio ymaith, darfod. Yr oedd ysbaid go faith wedi myned heibio er hyny, pryd yr oedd ei enau wedi ei gau, heb yr un brophwydoliaeth wedi ei rhoddi iddo atynt.

Yn awr, yn mhen tua thair blynedd ar ol y rhybudd yna, dyma yr Arglwydd yn anfon y prophwyd drachefn atynt, i'w gwahodd i edifeirwch ac i gyhoeddi iddynt drefn maddeuant ac iachawdwriaeth. "Llefara hefyd wrth dŷ Israel, ti fab dyn, Fel hyn gan ddywedyd y dywedwch: Os yw ein hanwireddau a'n pechodau arnom, a ninau yn dihoeni ynddynt." Wyt ti yn cofio pa fodd y dywedaist ti yn y bregeth ddiweddaf a glywsom ni genyt—y byddem ni yn dihoeni am ein hanwiredd? Yn awr y mae y gair hwnw wedi ei gyflawni, y mae y farn wedi ein gorddiwes, y mae ein hanwireddau a'n pechodau arnom;—yn eu heuogrwydd yn eu cosp,—a ninau yn dihoeni.

Ond y mae yr Arglwydd yn cyfarwyddo y prophwyd i'w cyfarch drachefn yn y modd mwyaf calonogol, ac i sicrhau iddynt nad oddiwrtho ef yr oedd un perygl ond oddiwrthynt eu hunain, y byddai efe byth yn hollol rydd oddiwrth eu gwaed, ac y byddent yn eu marwolaeth byth yn hollol anesgusodol. "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, ni ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol," &c. Nid wyf fi yn hollol sicr yn mha ystyr y mae i ni gymmeryd y datganiad hwn o'r eiddynt, pa un ai fel iaith calon galed anedifeiriol, yn penderfynu ymroddi i bechod, ac yn cymmeryd yn rhyw fath o esgus dros hyny, anfuddioldeb dychwelyd, ai ynte fel iaith pobl yn dechreu ymdeimlo â'u perygl, ond yn yr olwg ar eu sefyllfa yn gwbl anobeithiol. Yr ydym yn cael y cyntaf weithiau yn y Bibl. "Tithau a ddywedaist, nid oes obaith, nac oes; canys cerais ddieithriaid, ac ar eu hôl hwynt yr âf fi." Ond y mae

tôn yr ymliwiad â hwynt yma yn hytrach yn pleidio y golygiad diweddaf. Felly, pa fodd bynnag, y cymmerwn ni y geiriau yn awr. Ac y mae ynddynt ddau beth y dymunwn gael eich sylw atynt :—

I. Y teimlad anobeithiol y mae pechaduriaid yn dueddol iddo yn yr olwg arnynt eu hunain : "Pa fodd y byddem ni byw?"

II. Y calondid a'r cysur sydd i'r cyfryw rai yn yr Efengyl : "Paham y byddwch feirw?"

I. Y teimlad anobeithiol y mae dynion yn dueddol iddo yn yr olwg arnynt eu hunain fel pechaduriaid : "Pa fodd y byddem ni byw?"

"Yn yr olwg arnynt eu hunain," a ddywedais. Ac y mae lliaws nad ydynt yn teimlo dim oddiwrth hyn,—yn byw yn gwbl ddiofal a didaro, yn hollol annghofus o'u hachos mawr, fel pe na byddai ganddynt eneidiau, fel pe na byddai raid iddynt farw, fel pe na byddai barn iddynt i ymddangos ynddi, na byd tragywyddol i fyw ynddo. Ond yr ydym ni yn son yn awr am rai wedi dyfod i raddau o bryder yn nghylch eu sefyllfa, ac i ystyriaeth o'u perygl, ac yn yr olwg arnynt eu hunain yn hollol anobeithiol : "Pa fodd y byddem ni byw?" Y mae hyn yn cyfodi, dybygid, yn un peth,

1. Oddiar ymdeimlad â'u heuogrwydd oblegyd lliosowgrwydd ac ysgelerder eu pechodau : "Os yw ein hanwireddau a'n pechodau arnom." Y mae y rhagddod a gyfieithir yma "ar" yn y gair "arnom," yn aml yn dwyn yr ystyr "yn erbyn," megis yn Numeri xiv. 2, "A holl feibion Israel a duchanasant yn erbyn Moses, ac yn erbyn Aaron;" Psalm ii. 2, "Y mae brenhinoedd y ddaear yn ymosod, a'r penaethiaid yn ymgynghori yn nghyd, yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn ei Grist ef;" Esaiah xxix. 8, "Felly y bydd tyrfa'r holl genhed-

loedd a lueddant yn erbyn mynydd Sion;" felly, yn wir, yn un o'r pennodau blaenorol yn y llyfr hwn,—xxix. 2, "Gosod, fab dyn, dy wyneb yn erbyn Pharaoh, brenhin yr Aipht." Ac mewn modd nes i'r ystyr yn y testyn, yr ydym yn cael y gair yn Gen. xxvii. 13, "A'i fam a ddywedodd wrtho, arnaf fi y byddo dy felldith, fy mab," hyny yw, "deled yn fy erbyn i." Yr un modd yn Jonah i. 14, "Attolwg, Arglwydd, attolwg, na ddifether ni am einioes y gwr hwn, ac na ddyro *i'n herbyn* waed gwirion." Dyna, dybygid, un meddwl, beth bynnag, i'r gair yn y lle hwn. "Os yw ein hanwireddau a'n pechodau arnom,"—"yn ein herbyn" yn ein cyhuddo ac yn ein gwneuthur yn agored i'r digofaint dwyfol, "Pa fodd y byddem ni byw?" Yn awr, y mae euogrwydd yn gysylltiedig â phechod. Megis y mae pechod yn drosedd o gyfraith Duw, ac yn wrthryfel yn ei erbyn, felly y mae yn rhwymo y troseddwr i gospedigaeth. "Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw." "Cyflog pechod yw marwolaeth." "Yn gwybod fod y rhai sydd yn gwneuthur y cyfryw bethau yn haeddu marwolaeth." "Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenir yn llyfr y ddeddf, i'w gwneuthur hwynt." Ac y mae yr euogrwydd hwn, nid yn unig yn rhwymo y pechadur i gospedigaeth yn ei gysylltiad â'r llywodraeth ddwyfol, ond yn ei rwymo felly yn ei gydwybod ei hunan. Y mae ei ymwybodolrwydd yn ei gysylltu ef â'r weithred, a'i gydwybod yn ddifloesgni yn ei gondemnio. Nis gall ei gwadu; nis gall ei hesgusodi; nis gall ei dadwneyd; nis gall ei hannghofio. A phan, trwy ryw amgylchiad, y mae gyda bywiogrwydd neillduol yn cael ei phortreadu ger bron y meddwl, ac yn gwisgo ei holl ysgelerder, y mae teimladau y truan yn anoddefol. Y mae eich natur foesol y fath fel nas gellwch bechu heb dynu cospedigaeth arnoch eich hunain. Gall

amgylchiadau allanol gydweithredu i guddio y pechod; ond nis gallant droi draw y gospedigaeth; y mae hono yn dechreu can gynted ag y cyflawnir ef. Nid cynt y mae y llofrudd yn cyflawni ei ysgelerder nag y mae cydwybod yn dechreu cospi. Y mae ei gwsg yn colli, a dyna fo ar ei wely, a'r nos yn orlawn o ddrychiolaethau iddo. Erbyn iddo godi yn y boreu, y mae y llofruddiedig yn ei ddilyn; y mae wrth ei benelin i ba le bynnag yr â; y mae yn tremio â'i lygaid dialaidd arno; y mae ei gri wylofus pan y tarawyd ef ganddo yn ysgrechain yn ei glustiau. Er gwybod nad oes neb ar y ddaear yn deall mai efe yw y llofrudd, y mae yn raddol yn myned i dybied fod pawb yn ei ammeu, ac o'r diwedd, yn mhen ugain mlynedd, er mwyn cael rhyw fath o dawelwch iddo ei hunan, y mae o hono ei hunan yn myned i'r llys o flaen yr ynad, ac yno yn cyfaddef y cwbl. Ac y mae yr hyn sydd, fel hyn, yn wir am lofruddiaeth, yn wir, yn ol ei radd, am bob pechod. Nis gallwn bechu ac osgoi y gospedigaeth, mwy nag y gallwn gymmeryd gwenwyn i mewn i'n cyfansoddiad corphorol heb ei niweidio; gorwedd ar wely llaith a dianc yn ddiogel; neu anadlu awyr heintus heb gymmeryd y clefyd. Yn awr, pan y daw dyn i ymdeimlo âg euogrwydd fel hyn, oblegyd pechodau nas gŵyr eu nifer, ac nas gall draethu eu hysgelerder, y mae yn naturiol iddo waeddi, "Pa fodd y byddaf fi byw?"

2. Y mae hyn yn cyfodi oddiar ymdeimlad y pechadur â nerth llywodraeth pechod arno, a'i eiddilwch a'i wendid ei hunan danynt: "Os yw ein hanwireddau a'n pechodau arnom, a ninau yn dihoeni ynddynt." Y mae y rhagddod a gyfieithir yma "ar" yn y gair "arnom," yn fynych yn cael ei ddefnyddio nid yn unig yn yr ystyr o "ar" yn pwyso ar beth, ond "ar" uwchlaw, yn llywodraethu ar beth. Dyna yr ystyr yn Gen. xli. 33.

"Edryched Pharaoh am wr deallgar a doeth, a gosoded ef ar wlad yr Aipht"; felly yn adnod 40: "Tydi a fyddi ar fy nhŷ"; felly yn Psalm ii. 6: "Minau a osodais fy Mrenhin ar Sion, fy mynydd sanctaidd"; felly yn 1 Sam. xv. 17: "ac yr eneiniodd yr Arglwydd di yn frenhin ar Israel"; felly yn Barn. xvi. 9, 12, 14: "Y mae'r Philistiaid arnat ti, Samson," wedi dy orchfygu, a hwy a'th orchfygant.

Yn awr, nid cynt y mae y pechadur yn dyfod i deimlo oddiwrth bwysau euogrwydd pechod arno nad ydyw yn dyfod i deimlo hefyd oddiwrth nerth pechod ynddo. Y mae yn cael nid yn unig fod beiau mawrion wedi eu cyflawni ganddo, ond fod deddf pechod yn gref ynddo. Y mae nid yn unig wedi suddo i ddyled fawr eisoes yn llyfrau Duw, ond yn gweled ei fod yn sicr o suddo i ddyled fwy. Y mae yn cael fod ei yni moesol wedi ei ddwyn oddiarno, ac yntau yn gaeth i'r hyn a'i dinystria byth. Y mae pechod wedi treiddio trwy ei holl enaid, ac yn meddiannu ac yn anurddo ei holl natur. Y mae ei ddeall wedi ei dywyllu; ei galon wedi ei chaledu; ei ewyllys wedi ei chaethiwo; ei gydwybod wedi ei phylu; ac, erbyn dechreu meddwl am ei amgylchiad, y mae yn ei gael ei hunan yn dihoeni yn ei anwireddau; nychdod ac eiddilwch a gwendid wedi ei ddal; gafael ofnadwy pechod ynddo wedi ymblethu â'i holl natur, ymwau âg elfenau ei fod, nes ei wneyd yn anobeithiol am ymwared. "Pa fodd y byddaf fi byw?" Y mae dedfryd marwolaeth arnaf, ac y mae y condemniad yn sicr o'm lladd; y mae yr haint dinystriol, angeuol yn fy nghyfansoddiad, nid oes obaith i mi wella. "Pa fodd y byddem ni byw?" Dyma y teimlad anobeithiol y mae pechaduriaid yn dueddol iddo yn yr olwg arnynt eu hunain: "Pa fodd y byddem ni byw?" Ond ni a symmudwn yn awr at y peth arall a nodwyd genym,—

II. Y calondid a'r cysur sydd i'r cyfryw rai yn yr Efengyl: "Paham y byddwch feirw?" Ac fe fyddai yn dda iawn genyf pe gallwn lwyddo i osod argyhoeddiad yn eich meddyliau oll, nad oes unrhyw angenrheidrwydd o du'r nefoedd am i chwi farw. Ysbryd Duw ei hunan a ddelo yma i hyny! Ac yn

1. "Paham y byddwch feirw?" Nid rhaid i chwi farw,—y mae eich marwolaeth yn hollol wrthwyneb i deimlad calon Duw: "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, ni ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol."

Fel nad ydyw pechadur, pan y daw i olwg arno ei hunan, yn cael dim ynddo ei hunan ag y gall syrthio arno fel ag i beri iddo allu gobeithio am iachawdwriaeth, felly y mae yn dueddol i synio yn gyffelyb am yr Anfeidrol,—nad oes un gobaith iddo ynddo yntau. Ond gan ei fod yn ymwybodol mai yn ei erbyn ef y mae wedi pechu, mai ei ddeddf ef y mae wedi dori, mai yn ei erbyn ef y mae wedi gwrthryfela, y mae yn dueddol i feddwl yn galed am dano, ei fod yn elyn iddo, yn sychedu am ei waed, ac yn cynllwyn am ei einioes i'w difetha. Er cyfarfod y syniad, neu yn hytrach y teimlad, yna yn y pechadur, y mae y Goruchaf yn y testyn, yn y modd mwyaf difrifol, yn ymryddhau oddiwrth bob peth o'r fath, ac ar ei lw yn tyngu, yn tyngu iddo ei hun, yn tyngu i'w fywyd ei hun, fod y cyhuddiad yn gwbl ddisail. "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol." Y mae y syniad naturiol sydd genym am yr Anfeidrol, ei ymddygiadau yn ei ragluniaeth dyner tuag at ddynion, ac yn neillduol tystiolaethau pendant y Datguddiad Dwyfol, yn profi yn bendant nad oes ganddo unrhyw hoffder yn ein dinystr ni. Pe byddai am dy ddinystrio byddai yn hawdd iawn iddo ef wneyd hyny. "Ag anadl ei

wefusau y lladd efe yr anwir." Gallai yn hawdd ymaflyd "yn eithafoedd y ddaear," yn esgyll y ddaear, "ac ysgwyd yr annuwiol allan o honi" Job xxxviii. 13). Ni byddai dim haws iddo na dy ladd,—dim ond attal—cau ei law—dim eisiau y daeargryn ofnadwy—dim eisiau y mellt dinystriol.

Y mae lliosowgrwydd y trugareddau a dderbynir genyt o'i law, yn profi nad yw efe yn ymhoffi yn dy farwolaeth. Efe ydyw tad pob trugaredd wyt yn dderbyn. Pob rhoddiad daionus a phob rhodd berffaith oddiuchod y mae. Ac y mae ei drugareddau yn dyfod bob boreu o newydd. Daioni a thrugaredd yn dy ganlyn holl ddyddiau dy fywyd. Arno yr wyt yn gwbl yn dybynu; ynddo yn byw yn symmud ac yn bod.

Duw cariad yw. Nid yw yn ewyllysio bod neb yn golledig; hoff ganddo drugaredd; parod i faddeu; ymddyrchafu i dosturio; dysgwyl i drugarhau. A phan y mae yn cospi,—gwneyd hyny o angenrheidrwydd y mae—myned allan o'i fangre i ymweled âg anwiredd preswylwyr y ddaear—gwneuthur ei waith, ei ddieithr waith—rhywbeth croes i'w amcanion—"nid o'i fodd"—nid o'i galon—"y blina efe nac y cystuddia blant dynion." Ac os ydych am brawf digonol edrychwch arno yn rhoddi ei Fab, ei briod Fab, yn peidio arbed y Mab er mwyn arbed y pechadur. "Nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol"; pe pwnc o hoffi, pe pwnc o ewyllys fyddai, ni byddai raid iddo farw byth. "Gan ewyllysio a ewyllysiwn i farw yr annuwiol, medd yr Arglwydd Dduw, ac na ddychwelai oddiwrth ei ffyrdd a byw. Nid oes ewyllys genyf i farwolaeth y marw, medd yr Arglwydd Dduw." Wel y mae yr annuwiol yn marw? Oh ydyw: ond o angenrheidrywdd y mae hyny. Fel y Barnwr yn y llys yn condemnio y dyn i farw, ac yn wylo wrth

gyhoeddi y ddedfryd. Y mae calon y Barnwr am arbed, ond nid teimladau ei galon ef ydyw rheol y llys heddyw, ond deddf y llywodraeth,—a rhaid iddo ef weinyddu ei swydd wrth hono.

Os marw fyddwch, os yn uffern y gosodir chwi, o angenrheidrwydd y bydd hyny. "Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol."

2. "Paham y byddwch feirw?" Nid rhaid i chwi farw. Y mae yn gwbl groes i amcan trefn Duw:— "ond troi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd a byw."

Ar dir noeth cyfiawnder, ac yn ngwyneb cyfraith, nid oes i'r annuwiol ddim i'w ddysgwyl ond marw. "Cyflog pechod yw marwolaeth." Felly y bu gyda'r angylion a bechasant: fe'u rhwymwyd hwy "mewn cadwynau tragywyddol, dan dywyllwch, i farn y dydd mawr." Buasai yn gwbl gyfiawn yn y Duw mawr adael dyn yr un modd yn ei wrthryfel, a bwrw arno byth y gospedigaeth ddyledus iddo. Ond nid felly y gwnaeth. "Yn ein hisel radd fe'n cofiodd ni, o herwydd ei drugaredd, yr hon sydd yn dragywydd." "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig fab, fel na choller pwy bynnag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." "Yr hyn ni allai y ddeddf o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod, a gondemniodd bechod yn y cnawd." Ac y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau. Y mae Duw yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau. Y mae Crist mewn pryd wedi marw dros yr annuwiol. Ac yn a thrwy Grist Iesu y mae yn bosibl i'r annuwiol gael byw:—"troi a byw." Nid rhaid i chwi farw, er eich bod yn annuwiol: "troi a byw." Yr ystyr

ydyw, derbyn trefn yr Efengyl, troi o'r ffordd annuwiol, a dychwelyd yn edifeiriol at yr Arglwydd,—"troi a byw." Nid ydyw o un gwahaniaeth, pa beth a fu y dyn, pa beth a wnaeth, pa mor aml, neu pa mor ysgeler, ei bechodau,—"troi a byw." "Yr ydwyf fi yn bechadur mawr,"—"troi a byw." "Yr ydwyf fi yn hen bechadur," —"troi a byw." "Fe'm magwyd i gan rieni crefyddol, fe'm dygwyd i i fyny yn Eglwys Dduw, fe weddiwyd miloedd o weddiau drosof, fe roed y cynghorion goreu filoedd i mi a'r esiamplau goreu o fy mlaen; ac eto yr ydwyf wedi bod yn greadur annuwiol ofnadwy; mi dorais galon fy mam; mi dynais benwynni fy nhad mewn tristwch i'r bedd; y mae pawb yn awr wedi fy ngwrthod; nid oes neb o'm perthynasau yn fy arddel; yr ydwyf yn ddirmygedig gan bawb." Gresyn! gresyn! yn wir; ond,—"troi a byw." "Mi fûm i yn proffesu crefydd, yn enwi enw Crist, yn eistedd wrth Fwrdd yr Arglwydd, yn adrodd fy mhrofiad yn y cyfarfodydd eglwysig, yn enau cyhoeddus yn y cyfarfodydd gweddio; ond yr ydwyf wedi gadael crefydd, wedi gwadu yr Arglwydd yr hwn a'm prynodd, wedi rhoi anair i'r wlad dda, wedi ail-groeshoelio Mab Duw,—pa beth a ddaw o honof?" "TROI A BYW." "Yr wyf fi wedi rhedeg yn hir ar hyd y ffordd lydan, gan ddiystyru pob rhybudd." Nid wyt eto o ras Duw wedi rhedeg i'r pen; nid wyt wedi cyrhaedd distryw; y mae genyt ddigon o le i "droi." Ac ordeiniad y nefoedd ydyw,—"troi a byw." Pe byddai dy bechodau yn ddeg can miliwn amlach nag ydynt, yn ddeg can miliwn mwy ysgeler, pe byddai holl euogrwydd meibion Adda bob un wedi ei gylymu wrth dy berson di dy hunan,—"troi a byw." Nid oes dim "byw" heb "droi"; did oes "troi" a marw. Pan y mae y Duw mawr yn rhoddi dynion i fyny, eu rhoddi i fyny i bechu y mae: "Brashâ galon y bobl hyn,

a thrymhâ eu clustiau, a chau eu llygaid; rhag iddynt weled â'u llygaid a chlywed â'u clustiau, deall â'u calon, a dychwelyd, a'u meddyginiaethu," neu fel y mae y geiriau yn Matthew xiii. 15, "a throi, ac i mi eu hiachâu hwynt." "Paham y byddwch feirw?"

3. "Paham y byddwch feirw?" nid rhaid i chwi farw;—y mae eich marwolaeth yn hollol groes i ddifrifoldeb a dwysder a thaerni gwahoddiadau Efengyl Duw: "Dychwelwch, dychwelwch, oddiwrth eich ffyrdd drygionus: paham y byddwch feirw?"

Y mae yn sicr fod gwahoddiadau yr Arglwydd yn yr Efengyl yn amlygiadau o deimladau ei galon, ac o'r hyn sydd mewn gwirionedd yn bosibl i'r rhai y mae yn eu cyfeirio atynt. Nid ydyw byth yn ein twyllo ynddynt. Os ydyw yn ein rhybuddio o'n perygl, y mae y perygl hwnw mewn gwirionedd yn bod. Os ydyw yn cynnyg bendithion, y mae y rhai hyny ganddo i'w cyfranu, ac y mae y croesaw mwyaf i ni gyfranogi o honynt. Y awr, nid oes dim amlycach na'i fod yn yr Efengyl yn y modd mwyaf difrifol a thaer yn rhybuddio dynion o'u perygl, ac yn y modd mwyaf tyner a serchiadol a dwys, yn eu gwahodd i dderbyn bywyd tragywyddol. Y mae felly yn y testyn: "Dychwelwch, dychwelwch;" "trowch, trowch;" oblegyd yr un gair a ddarllenir yma dychwelwch, ag a ddarllenir "troi" yn y rhan arall o'r adnod: "trowch, trowch; paham y byddwch feirw?" Y mae y galwadau hyn yn gwbl gyffredinol—y mae pawb yn cael eu galw—pob oedran, pob amgylchiadau, pob cymeriadau,—"Gadawed y drygionus ei ffordd a'r gwr anwir ei feddyliau." "Dos allan i heolydd ac ystrydoedd y ddinas, a dwg i mewn yma y tlodion, a'r anafus, a'r cloffion, a'r deillion,"—"pob un y mae syched arno,"—"holl gyrau y ddaear." Y mae yr alwad yn daer a difrifol: "Cymmell hwynt i

ddyfod i mewn." "Yr ydym ni yn genhadau dros Grist, megis pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni, yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw."

Y mae y Duw mawr yn defnyddio pob dull er ymwneyd â meddyliau dynion—bygwth, annog, addaw, deisyf, cymmell, galw, gwahodd.

"Deuwch yr awrhon ac ymresymwn, medd yr Arglwydd, pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cyn wyned â'r eira, pe cochent fel porphor, byddant fel gwlan."

Yn awr, "paham y byddwch feirw?" A ydych chwi yn tybied fod y Duw digelwyddog yn eich twyllo? Ai cellwair, dybygech, y mae â chwi, trwy ymliw a dadleu ac erfyn a deisyf?

4. "Paham y byddwch feirw?" Nid rhaid i chwi farw;—y mae eich marwolaeth yn gwbl groes i'r ffafrau blaenorol a dderbyniasoch oddiar law Duw: "Tŷ Israel, paham y byddwch feirw?" "Ni buasai mor syn gweled yr Aiphtiaid yn marw, gweled plant Moab neu feibion Ammon yn marw, gweled cenhedloedd eilun-addolgar y byd yn marw, ond 'tŷ Israel,' plant fy newisedig, had Abraham, a elwais i o blith yr holl genhedloedd yn wreiddyn cenedl sanctaidd, y gwneuthum gyfammod âg ef, fy hen gyfaill, nas gallwn wneyd dim a'i gelu oddiwrtho. 'Tŷ Israel,' plant trugareddau lawer, pobl y gwaredigaethau mawr. Rhai a ddygais i allan o'r Aipht â llaw gref ac â braich estynedig; y rhai y parthais i y môr o'u blaen, y rhai a gerddasant ar waelod y môr fel ar dir sych; y rhai y bûm i yn gwlawio bara o'r nefoedd i'w porthi, yn peri i'r graig gallestr bistyllio dwfr iddynt; rhai fuont yn byw flynyddoedd ar fy ngwyrthiau; rhai y trowyd yr Iorddonen yn ei hôl o'u blaen, y bu'r sêr yn eu graddau yn ymladd drostynt; rhai y gwneuthum y rhyfeddodau mwyaf erddynt. 'Tŷ

Israel,' rhai gafodd y manteision uchaf, y breintiau crefyddol mwyaf, y rhai yr ysgrifenais iddynt bethau mawrion fy nghyfraith, yr anfonais atynt fy holl weision y prophwydi, yr ymddiriedais iddynt am fy ymadroddion; pobl y deml, yr arch, y drugareddfa, yr allor, a'r gwasanaeth a'r addoliad, yr uchelwyliau a'r Sabbathau. 'Tŷ Israel, paham y byddwch feirw?'" Ah! y mae yma ugeiniau o honoch ag y gellid fel hyn eu cyfarch yn fwy priodol hyd yn nod nag Israel gynt. Gymry, Gymry, "paham y byddwch feirw?" Nid ydyw mor ryfedd gweled trigolion China, gweled anwariaid Affrica, gweled Paganiaid India, gweled Pabyddion yr Iwerddon yn marw; ond Gymry, pobl y Biblau, yr ysgolion, y pregethau, y cymmanfaoedd; wedi eich magu yn yr Ysgol Sul, wedi eich dysgu er yn blant yn ngwirioneddau crefydd, wedi arfer gwrando yr Efengyl ar hyd eich oes, "Paham y byddwch chwi feirw?" O ïe, y mae yma ugeiniau o honoch, plant pobl dduwiol, wedi eich cyflwyno i'r Arglwydd yn eich babandod, wedi sugno bronau mamau sydd heddyw yn y nefoedd, wedi eich dwyn i fyny mewn teuluoedd sanctaidd,—plant blaenoriaid, plant pregethwyr, "paham y byddwch feirw?" A wyt ti yn cofio dagrau y fam, gweddiau y tad, cynghorion yr aelwyd, rhybuddion yr athraw? "Trowch, trowch oddiwrth eich ffyrdd drygionus; canys paham y byddwch feirw?"

## PREGETH XXI.*

### Y Gwir Weinidog yn Mawrhau ei Weinidogaeth.

Rhuf. xi. 13.

"*Canys wrthych chwi y Cenhedloedd yr wyf yn dywedyd, yn gymmaint a'm bod i yn apostol y Cenhedloedd, yr wyf yn mawrhau fy swydd.*"

Mae un gweinidog gwirioneddol i Iesu Grist, o'i anfoniad ef ei hunan i wasanaeth yr Efengyl, yn ol ei radd, yn gynllun neu yn ddarlun o bob gweinidog arall; ac yn meddiannu ynddo ei hunan, i ryw fesur, yr holl elfenau hanfodol i'r swydd, a arddangosir, mewn graddau mwy neu lai, yn mhob un a osodir gan y Pen Mawr ei hunan ynddi. Fel, yn y byd naturiol, y mae y naill greadur yn gynllun neu yn gynddelw pob creadur arall o'r un rhywogaeth; fel, yn mhlith dynion, y mae y naill ddyn yn engraifft neu yn esampl o bob dyn arall; ac fel, yn yr eglwys, y mae y naill Gristion yn cynnwys ynddo ei hunan yr elfenau sydd yn hanfodol i ffurfiad cymeriad pob Cristion arall, felly y mae pob gweinidog cywir i Iesu Grist yn cynnwys ynddo ei hunan, i ryw raddau, yr elfenau sydd yn hanfodol i bob gweinidog arall, ac megis drych y gellir edrych trwyddo fel ag i adnabod ereill. Pa fwyaf fyddo rhagoriaethau unrhyw un yn y swydd, mwyaf eglur y gellir cael golwg ynddo ar bethau hanfodol y swydd, ac y daw yn gyfrwng er adnabod ereill, yn eu gwahanol ragoriaethau, trwyddo. Yr un modd eto ag yn y byd naturiol:—pa berffeithiaf fyddo cyfansoddiad unrhyw greadur, cymhwysaf oll a fydd i'n galluogi i adnabod rhagoriaethau neillduol

* Traddodwyd y Bregeth hon ar y 29ain o Fai, 1871, yn Nghapel Dyffryn, Sir Feirionydd, ar derfyn angladd y Parchedig Edward Morgan.

creaduriaid ereill o'r un rhywogaeth trwyddo. Yr oedd yr Apostol Paul, yn ddiddadl, yn un o'r rhai mwyaf rhagorol o'r holl rai rhagorol erioed a gawsant ran yn y weinidogaeth hon. Yr ydoedd wedi ei addurno yn arbenig, ac i raddau annghyffredin, â'r holl ddoniau angenrheidiol er ei wneuthur yn weinidog cymmwys y Testament Newydd. Y mae, felly, yn gyfrwng nodedig o fanteisiol, yn y rhagoriaethau neillduol a berthynent iddo, fel yr ymddengys ger ein bron yn ei ysgrifeniadau, ac yn yr hanes sanctaidd am dano, i ni i edrych trwyddo ar weinidogion ereill, yn y rhagoriaethau neillduol a berthynent iddynt hwy. A'm hamcan i, yn awr, fydd edrych trwyddo ef, yn ngwyneb geiriau y testyn, ar ein hanwyl frawd sydd wedi ein gadael, y daethom yma heddyw i hebrwng ei gorph i dŷ ei hir gartref.

Nid ydyw fy meddwl i, yn yr ychydig amser a ganiatawyd i mi, wedi gallu disgyn ar un adnod o fewn yr holl Fibl mwy dysgrifiadol o'n hanwyl frawd, na'r geiriau hyn a ddefnyddir gan Apostol mawr y cenhedloedd yn dystiolaeth am dano ei hunan: "Yr ydwyf yn mawrhau fy swydd."

Gan adael heibio yn gwbl, ar hyn o bryd, bob sylw ar gysylltiad y geiriau, a'u hystyr neillduol yn eu perthynas â'r cyd-destyn, ni a'u cymmerwn, am ychydig amser, yn sail rhai sylwadau ar "Y gwir weinidog yn mawrhau ei weinidogaeth,"—gan gymmeryd yr Apostol Paul megis drych i edrych trwyddo ar ein hanwyl frawd ymadawedig. Ac er dangos hyn, ni a geisiwn gyfeirio eich sylw at bedwar neu bump o bethau. Yr oedd yr Apostol Paul "yn mawrhau ei swydd"

I. Yn yr argyhoeddiad dwfn a'i meddiannai o'i gosodiad, ei hawdurdod, a'i hurddas dwyfol.

Nid oedd dim petrusder yn nghylch hyn yn meddwl yr Apostol; ac nid yn unig hyny, ond yr oedd y gwir-

ionedd wedi cymmeryd gafael drwyadl ar ei holl enaid. Yr oedd y fath neillduolrwydd ac arbenigrwydd yn perthyn i'w alwad ef ei hunan at y gwaith fel ag i'w wneuthur am byth yn gwbl ddiamheuol yn nghylch yr awdurdod a berthynai i'r gwaith ei hunan. Pa bryd bynnag braidd y cyfeiria ato ei hunan yn y swydd, y mae yn gofalu hefyd am gyfeirio at y gosodiad dwyfol arno ynddi. Ac nid gyda golwg arno ei hunan yn bersonol yn unig yr oedd yr Apostol yn synio fel hyn. Yr oedd yn edrych ar y swydd, fel y cyfryw, yn ordeiniad Pen yr eglwys ei hun, ac i barhau yn yr eglwys nes y byddai amcan mawr ei sefydliad yn y byd wedi ei gyrhaedd. Yr oedd yn edrych arni wedi gwreiddio yn Nghyfryngdod yr Arglwydd Iesu, ac wedi ei rhoddi i'r byd yn ffrwyth ei ddarostyngiad, ei ddioddefiadau, a'i angeu ef. "Yr hwn a ddisgynodd, yw yr hwn hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd, fel y cyflawnai bob peth. Ac efe a roddes rai yn Apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon; i berffeithio y saint i waith y weinidogaeth, i adeilad corph Crist; hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist."

Yn yr argyhoeddiad hwn o'i dwyfoldeb, yr oedd yn teimlo fod rhyw urddas ac anrhydedd yn perthyn i'r swydd, oedd yn ei dyrchafu yn annhraethol uwch na phob swydd arall yn y byd, a gras rhyfedd wedi ei ddangos tuag ato ef yn y gosodiad o hono ynddi. "Felly cyfrifed dyn nyni, megis gweinidogion i Grist, a goruchwylwyr ar ddirgeledigaethau Duw." "Yr ydym ni yn genhadau dros Grist,"—cenhadau llys, cenhadau o'r orsedd, cenhadau âg awdurdod y Brenhin genym,—"megis pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni, yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi

â Duw." "Yr ydwyf yn diolch i'r hwn a'm nerthodd i, sef Crist Iesu ein Harglwydd, am iddo fy nghyfrif yn ffyddlawn,"—fy nghyfrif yn un y gallai roddi ymddiried ynddo—rhoddi peth mor fawr yn fy ngofal,—"gan fy ngosod yn y weinidogaeth." "I mi, y llai na'r lleiaf o'r holl saint, y rhoddwyd y gras hwn i efengylu yn mhlith y cenhedloedd anchwiliadwy olud Crist."

Yn y golygiad hwn ar ei swydd yr oedd yn teimlo fod mawredd, a gogoniant, a gwerth anmhrisiadwy, yn y genadwri oedd ganddo i'w chyhoeddi i'r byd. "Y mae genym y trysor hwn mewn llestri pridd, fel y byddai godidawgrwydd y gallu o Dduw, ac nid o honom ni." "Yr ydwyf yn hysbysu i chwi, frodyr, am yr Efengyl a bregethwyd genyf fi, nad yw hi ddynol. Canys nid gan ddyn y derbyniais hi, nac y'm dysgwyd; eithr trwy ddatguddiad Iesu Grist."

Oblegyd y nodwedd hwn a berthynai i'w swydd, yr oedd yr Apostol yn teimlo fod y canlyniadau pwysicaf iddi:—"Perarogl Crist ydym ni i Dduw, yn y rhai cadwedig, ac yn y rhai colledig: i'r naill yr ydym yn arogl marwolaeth i farwolaeth; ac i'r lleill, yn arogl bywyd i fywyd."

Yn ol y golygiad hwn ar y swydd, yr oedd yn teimlo fod yr holl gymhwysderau angenrheidiol iddi yn dyfod yn unig oddiwrth yr Arglwydd. Yr oedd y swydd, yn ei holl gysylltiadau, yn ol argyhoeddiad yr Apostol, â dwyfoldeb yn perthynu iddi; ac felly yr oedd yr urddas, yr anrhydedd, y parchedigaeth, a'r gogoniant mwyaf, yn ei feddwl ef, yn gysylltiedig â hi. "Yr ydwyf yn mawrhau fy swydd."

Nid rhaid i mi ddywedyd am ein hanwyl frawd ei fod ef yn arbenig yn mawrhau ei swydd yn hyn. Ni bu neb erioed dyfnach ei argyhoeddiad mai nid peth o ddyfais ddynol, neu rywbeth ag y gallai yr Eglwys

fod at ei rhyddid i'w ddefnyddio neu beido, er sicrhau amcanion ei sefydliad yn y byd, ydyw gweinidogaeth yr Efengyl. Ond credai ei bod yn ordinhad o sefydliad y Duw mawr ei hunan, hanfodol—os nad i fôd—i fywyd a pharhad eglwys ar y ddaear; a bod pob gwir weinidog, yn ein dyddiau ni, yn cael ei anfon mor wirioneddol at y gwaith, a'i gymhwyso mor wirioneddol iddo, gan Iesu Grist, â'r rhai a anfonwyd, ar y cyntaf yn uniongyrchol ganddo, ac y gall, fel hwythau, ddysgwyl am ei bresennoldeb ef gydag ef ynddo, i'w gynnorthwyo yn ei lafur, gosod awdurdod ar ei weinyddiadau, a pheri bendith i eneidiau dynion trwyddo. Yr oedd yn mawrhau ei swydd yn ei argyhoeddiad o'i gosodiad, ei hawdurdod, a'i hurddas ddwyfol.

II. Yr oedd yn mawrhau ei swydd, yn y syniad uchel a goleddai am y cymhwysderau angenrheidiol iddi.

Yn ol graddau yr argyhoeddiad o'r mawredd a'r pwysigrwydd a berthynant i unrhyw swydd yr ymdeimlir â'r anhawsderau cysylltiedig â hi, ac â'r angenrheidrwydd am gymhwysderau priodol iddi. Yr oedd Apostol mawr y cenhedloedd yn teimlo mor ddwys oddiwrth bwysigrwydd y swydd fel ag yr oedd bron cael ei lethu ei hunan ynddi gan y syniad uchel a goleddai am y cymhwysderau angenrheidiol iddi. "I'r naill yr ydym yn arogl marwolaeth i farwolaeth; ac i'r lleill, yn arogl bywyd i fywyd: a phwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?"

Y mae hyny i'w ganfod yn ei olygiad ar natur gwaith y swydd a'r amcan goruchel oedd ganddo i'w gyrhaedd ynddi:—"Yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu, gan rybuddio pob dyn, a dysgu pob dyn yn mhob doethineb; fel y cyflwynom bob dyn yn berffaith yn Nghrist Iesu."

Y mae hyny yn dyfod i'r golwg yn y defnydd arbenig sydd i'w wneuthur gan y gweinidog o'r Ysgrythyrau

sanctaidd: "Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi trwy ysbrydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder: fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda."

Y mae hyny i'w weled yn y dysgrifiad a roddir ganddo o'r rhai a ddylid osod yn y swydd ac y mae y weinidogaeth i'w hymddiried iddynt: "Y pethau a glywaist genyf trwy lawer o dystion, traddoda y rhai hyny i ddynion ffyddlawn, y rhai a fyddant gymmwys i ddysgu ereill hefyd." "Rhaid i esgob fod yn ddiargyhoedd, fel goruchwyliwr Duw; nid yn gyndyn, nid yn ddigllawn, nid yn wingar, nid yn darawydd, nid yn budr-elwa; eithr yn llettygar, yn caru daioni, yn sobr, yn gyfiawn, yn sanctaidd, yn dymherus; yn dal yn lew y gair ffyddlawn, yn ol yr addysg, fel y gallo gynghori yn yr athrawiaeth iachus, ac argyhoeddi y rhai sydd yn gwrth-ddywedyd."

Hyny sydd yn dyfod i'r golwg yn yr holl gynghorion a roddir ganddo i'r rhai sydd yn y swydd: "Bydd yn ensampl i'r ffyddloniaid, mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn ffydd, mewn purdeb." "Hyd oni ddelwyf, glŷn wrth ddarllen, wrth gynghori, wrth athrawiaethu." "Myfyria ar y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros; fel y byddo dy gynnydd yn eglur i bawb." "Bydd ddyfal i'th osod dy hun yn brofedig gan Dduw, yn weithiwr difefl, yn iawn-gyfranu gair y gwirionedd." "Ond chwantau ieuengctyd, ffo oddiwrthynt; a dilyn gyfiawnder, ffydd, cariad, tangnefedd, gyda'r rhai sydd yn galw ar yr Arglwydd o galon bur. Eithr gochel ynfyd ac annysgedig gwestiynau, gan wybod eu bod yn magu ymrysonau. Ac ni ddylai gwas yr Arglwydd ymryson; ond bod yn dirion wrth bawb, yn athrawus, yn ddioddefgar. Mewn addfwynder yn dysgu y rhai gwrthwynebus;

i edrych a roddo Duw iddynt hwy ryw amser edifeirwch i gydnabod y gwirionedd." "Gwylia arnat dy hun, ac ar yr athrawiaeth." "Edrychwch arnoch eich hunain, ac yr holl braidd ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn olygwyr, i fugeilio eglwys Duw, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed."

Y mae pob gwedd, fel hyn, a gymmerir gan yr Apostol ar y cymhwysderau angenrheidiol i'r swydd, yn ddangosiad o'r syniad uchel a goleddai am danynt, ac felly yn profi ei dystiolaeth—"Yr ydwyf yn mawrhau fy swydd."

Ac y mae yn ddiammeu genyf nad oes yma neb adnabyddus i raddau â'n hanwyl frawd nas gall ddwyn tystiolaeth bendant i'r un peth yn ei feddwl yntau. Oddiar y syniad uchel oedd ganddo am hyn, yr oedd ar y cyntaf, er ei holl awydd i'r gwaith, ac er cymmaint a gymhellid arno iddo, braidd yn hwyrfrydig i ymaflyd ynddo. Hyn a barodd iddo, yn ngwyneb llawer o anhawsderau, ymdrechu i gael y manteision addysg a gafodd er ei barotoi iddo. Hyn a'i gwnelai mor llafurus ac ymroddedig yn ymbarotoi ac yn ymddarpar ar gyfer ei ddyledswyddau cyson yn y gwaith. Hyn a'i gwnelai, er ei holl ddoniau, a'i holl boblogrwydd, a'i holl ddylanwad, mor ostyngedig ac isel ei feddwl am dano ei hun. Hyn a'i gwnelai mor awyddus am i'r rhai a ddymunent ymgysegru i'r gwaith, ac a arwyddent ryw raddau o gymhwysderau ato, gael y manteision addysg goreu oedd yn bosibl iddynt tuag at eu gwneuthur yn gysurus a defnyddiol ynddo. Hyn a'i gwnelai mor awyddus am i'r rhai oll a fyddont ynddo fod yn gwbl rydd oddiwrth bob gorchwylion a gofalon ereill, fel ag i gael eu holl amser iddo. Hyn a'i gwnelai mor ymdrechgar am sefydlu cysylltiad uniongyrchol rhwng pob gweinidog â rhyw eglwys neu eglwysi neillduol, er sicrhau, hyd y gellid, nas gadewid ef gan amgylchiadau yn agored i'r

brofedigaeth o fyned yn ddilafur, ac felly yn ddiddefnydd. Yr oedd ein hanwyl frawd, fel yr Apostol Paul, yn mawrhau ei swydd, yn y syniad uchel a goleddai am y cymhwysderau angenrheidiol iddi.

III. Yr ydoedd yn mawrhau ei swydd, yn yr ymröad, yr egni, a'r ffyddlondeb, a ddangosid ganddo yn y cyflawniad o'i dyledswyddau hi.

Y mae swydd yn tybied gwaith neu wasanaeth, ac nis gall neb fawrhau unrhyw swydd a bod yn ddiofal am waith y swydd. Mae pob diofalwch felly yn tueddu yn uniongyrchol i'w darostwng, ac i beri i ddynion feddwl nad oes un angen am dani, ac, yn y diwedd, i'w dileu. Mae lliaws o segur-swyddau felly wedi eu hysgubo ymaith yn ein teyrnas ni. Ond nid oes yr un segur-swydd yn nheyrnas y Cyfryngwr mawr; ac, yn arbenig, nid ydyw gweinidogaeth yr Efengyl felly, ac nis gall neb ei mawrhau tra yn esgeulus o'i gwaith hi; ac yr oedd yr Apostol Paul yn arbenig yn mawrhau ei swydd yn hyn. Nis gall neb a ddarlleno Lyfr Actau yr Apostolion a'i Epistolau ef ei hunan ammeu hyny am un munud. O'i alwad ar y cyntaf at y gwaith a'i ymgysegriad iddo, hyd yr amser y rhoddes ei fywyd yn aberth i gynddaredd ei erlidwyr, nid oedd ei holl oes ond un cyfnod didor o lafur diorphwys. Y mae yn teithio y gwledydd, yn sefydlu eglwysi, yn ysgrifenu llythyrau, yn ymresymu yn y synagog, yn dadleu yn y farchnad, yn gweithio y dydd, yn pregethu y nos;—heddyw o flaen y rhaglaw, yfory gydag ychydig wragedd ar lan yr afon, yn pregethu y gair yn daer, mewn amser ac allan o amser, ar gyhoedd ac o dŷ i dŷ, heb arbed dim arno ei hunan, ond yn llwyr ymroddi i Efengyl Crist. "Am yr hyn," meddai, "yr ydwyf hefyd yn llafurio, gan ymdrechu yn ol ei weithrediad ef, yr hwn sydd yn gweithio ynof fi yn nerthol." "Canys ni

feiddiaf fi ddywedyd dim o'r pethau ni weithredodd Crist trwof fi, i wneuthur y cenhedloedd yn ufudd ar air a gweithred, trwy nerth arwyddion a rhyfeddodau, gan nerth Ysbryd Duw; hyd pan o Jerusalem, ac o amgylch hyd Ilyricum, y llenwais i Efengyl Crist." Ac y mae yn ymroddi fel hyn yn ngwyneb rhwystrau a fuasent yn digaloni pawb ond efe ei hunan. Gwrandewch arno, yn lled gynnar ar ei oes, yn cyfeirio at ychydig o'i hanes, er amddiffyniad iddo ei hunan pan oedd rhyw rai yn ceisio ei ddarostwng: "Ai gweinidogion Crist ydynt hwy? (yr ydwyf yn dywedyd yn ffol) mwy wyf fi; mewn blinderau yn helaethach, mewn gwïalenodiau dros fesur, mewn carcharau yn amlach, mewn marwolaethau yn fynych, gan yr Iuddewon bum' waith y derbyniais ddeugain gwïalenod ond un. Tair gwaith y'm curwyd â gwïail; unwaith y'm llabyddiwyd; teirgwaith y torodd llong arnaf; noswaith a diwrnod y bûm yn y dyfnfor," &c., &c. (2 Cor. xi. 23—33; Act. xx. 24; 1 Thess. ii. 4—10; 2 Cor. vi. 4—10; Act. xxi. 13.) Yr oedd ei awydd i'w waith yn angerddol. Ac felly y parhaodd hyd y diwedd. A phan yn y diwedd y mae yn syrthio yn ysglyfaeth i gynddaredd Nero, cyn rhoi ei wddf ar y blocyn, i gael tori ymaith ei ben, y mae yn gallu edrych yn ol heb ddim cywilydd, ac edrych yn mlaen heb ddim ofn: "Myfi yr awrhon a aberthir, ac amser fy ymddattodiad i a nesâodd. Mi a ymdrechais ymdrech dêg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd. O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi." Yr oedd yr Apostol, yn sicr, mewn modd arbenig, yn mawrhau ei swydd, yn ei ymröad, ei egni, a'i ffyddlondeb, yn y cyflawniad o'i dyledswyddau hi. Ac oni allwn ni apelio at holl Gymru er prawf fod ein hanwyl frawd yn hyn yn arbenig yn mawrhau ei swydd, yn ei ofal am yr Achos Mawr yn ei gartref ei hunan, o fewn

cylch ei Gyfarfod Misol, a thrwy y Cyfundeb yn gyffredinol; yn pregethu gyda'r fath yni; yn gwir ofalu am bob rhan o'r gwaith; yn pleidio pob ysgogiad a dybiai a allai dueddu er mantais i'r achos; yn dychymyg daioni i Gymru ac i Fethodistiaeth; heb son am orchestwaith fawr ei oes—casglu y gronfa fawr at ein Hathrofa, a thrachefn at yr adeilad. Ac fe wnaeth hyn oll gyda chyfansoddiad oedd yn naturiol yn wanaidd, corph bychan ac eiddil, ac iechyd er's blynyddoedd tra anmharus, fel mai y syndod i bawb yw ei fod wedi dal cyhyd. Yn fynych, fynych, yn myned i'w gyhoeddiad pan y byddai ei briod yn teimlo y dylasai aros gartref, ac yn aml iawn, yn ei flynyddoedd diweddaf, yn y pulpud pan y buasai odid bawb ond efe yn y gwely, yn treulio ac yn ymdreulio dros eneidiau ei wrandawyr. "Ni a fuom hyf yn ein Duw i lefaru wrthych chwi Efengyl Duw trwy fawr ymdrech; nid megis yn rhyngu bodd i ddynion ond i Dduw, yr hwn sydd yn profi ein calonau ni. Oblegyd ni fuom ni un amser mewn ymadrodd gwenieithus, fel y gwyddoch chwi, nac mewn rhith cybydd-dod; Duw yn dyst." Mewn gwirionedd, fel yr Apostol Paul, yr oedd ein hanwyl frawd yn mawrhau ei swydd, yn ei ymröad, ei egni, a'i ffyddlondeb i'r cyflawniad o'i dyledswyddau hi.

IV. Yr oedd yn mawrhau ei swydd yn y gofal arbenig a gwastadol a gymmerai ar fod ei holl ymddygiadau yn anrhydedd iddi.

Y mae pob ymddygiad annghydweddol âg amcan ac âg urddas swydd yn ddianrhydedd ac yn ddarostyngiad arni. Ac fel y dywedodd yr Apostol am ryw rai gynt oeddent yn rhodio yn afreolus, mai gelynion croes Crist oeddent; felly, ysywaeth, y gellir dywedyd am lawer o rai a elwir yn weinidogion yr Efengyl, ond heb ofalu am fod â'u hymarweddiad yn addas iddi, mai gelynion

gweinidogaeth yr Efengyl ydynt. Ond yr oedd yr Apostol Paul yn nodedig o ofalus am ymddwyn yn deilwng i'r Efengyl. Yr oedd ei gydwybod ei hunan yn dwyn tystiolaeth iddo yn hyn: "Ein gorfoledd ni yw hyn; sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd, a phurdeb duwiol, nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw, yr ymddygasom yn y byd, ond yn hytrach tuag atoch chwi." "Tystion ydych chwi, a Duw hefyd, mor sanctaidd, ac mor gyfiawn, a diargyhoedd, yr ymddygasom yn eich mysg chwi y rhai ydych yn credu." Mewn gwirionedd, yr oedd yn ddibetrus yn gallu galw ar y rhai mwyaf adnabyddus o hono i'w ddilyn: "Pa un bynnag, gan hyny, ai bwyta ai yfed, ai beth bynnag a wneloch, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw. Byddwch ddiachos tramgwydd i'r Iuddewon ac i'r cenhedloedd hefyd, ac i eglwys Dduw. Megis yr ydwyf finau yn rhyngu bodd i bawb yn mhob peth; heb geisio fy llesâd fy hun, ond llesâd llaweroedd, fel y byddont hwy gadwedig." "Byddwch ddilynwyr i mi, frodyr, ac edrychwch ar y rhai sydd yn rhodio felly, megis yr ydym ni yn siampl i chwi. . . . Canys ein hymarweddiad ni sydd yn y nefoedd; o'r lle hefyd yr ydym yn dysgwyl yr Iachawdwr, yr Arglwydd Iesu Grist." Yr oedd yr Apostol yn arbenig yn ymarfer i "gadw cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a dynion yn mhob peth." Yr ydoedd, dybygid, bob amser, hyd yn nod cyn ei droedigaeth, yn nodedig o gydwybodol. At hyny, y mae yn ymddangos, y cyfeiria pan yn cyfarch y cynghor yn Jerusalem, "Ha wyr, frodyr, mi a wasanaethais Dduw mewn pob cydwybod dda, hyd y dydd heddyw." Ac at hyny, fe allai, y cyfeiria pan yn ysgrifenu ar ddiwedd ei oes, "Y mae genyf ddiolch i Dduw, yr hwn yr ydwyf yn ei wasanaethu o'm rhieni â chydwybod bur." Yr ydoedd yn enwedig gyda phethau

arianol mor fanwl fel ag i dynu ymaith gysgod amheuaeth; "y rhai ydym yn rhag-ddarpar pethau onest, nid yn unig yn ngolwg yr Arglwydd, ond hefyd yn ngolwg dynion." Yn ganlynol, nis gallai ddioddef unrhyw awgrymiad a allasai dueddu i beri i neb ammeu ei onestrwydd. "Derbyniwch ni. Ni wnaethom gam i neb; ni lygrasom neb; nid yspeiliasom neb." "Arian, neu aur, neu wisg neb, ni chwennychais. Ie, chwi a wyddoch eich hunain ddarfod i'r dwylaw hyn wasanaethu i'm cyfreidiau i, ac i'r rhai oedd gyda mi." Yr oedd yr Apostol yn arbenig yn ofalus i fawrhau ei swydd trwy ymddygiadau teilwng iddi.

Yn awr, oni allaf apelio at bawb, yn enwedig at y rhai a'i hadwaenent ef oreu, mai dyma y fath oedd ein hanwyl frawd sydd wedi ein gadael. Onid ydyw eich cydwybodau chwi yn dwyn tystiolaeth i burdeb dihalog ei gymeriad yn ystod ei arosiad yn eich plith am dros ddeng-mlynedd-ar-hugain? Yn mha le y gwelsoch un mwy dihoced, mwy diragrith, mwy uniawn, mwy unplyg, mwy gofalus am y gwirionedd, mor rydd a gwynebagored yn mhob ymdrafod o eiddo pawb âg ef, un na ddiystyrai y tlawd, na wenieithiai i'r cyfoethog, un gofalus am gymmell holl rinweddau yr Efengyl ar ereill, ac mor ofalus am eu hymarfer tuag at a cher bron ereill. Nid ydwyf yn myned i hòni ei fod yn berffaith, na'i fod bob amser, fe allai, mor ofalus am addfwynder crefydd ag oedd am ei hiawnder hi; ond yn ystod fy holl gydnabyddiaeth âg ef, ni welais ac ni chlywais mo hono yn dywedyd yr un gair ag a barai i mi deimlo ei fod yn gŵyro dim allan o'i le. Yn y gofal arbenig a gwastadol a gymmerai am i'w holl ymddygiadau fod yn anrhydedd iddi, yr oedd ein hanwyl frawd yn mawrhau ei swydd.

V. Yr oedd yn mawrhau ei swydd yn yr eiddigedd a deimlai a'r ymdrechiadau a wneid ganddo er sicrhau

pob mantais iddi a dueddai at ei heffeithiolrwydd. Y mae yn anmhosibl i neb fawrhau unrhyw swydd os bydd yn ddiofal am fod amcanion y swydd yn cael eu cyrhaedd. Yn awr yr oedd Apostol mawr y cenhedloedd yn hyn yn esampl i'w efelychu gan holl weinidogion y byd. Nid ydoedd byth yn foddlawn heb weled fod ei ymdrechiadau yn llwyddo, ei swydd yn cyrhaedd ei heffeithiolrwydd. "Oh frodyr," meddai, "gwir ewyllys fy nghalon, a'm gweddi ar Dduw dros yr Israel, sydd er iachawdwriaeth." "Mi a ddymunwn fod fy hun yn anathema oddiwrth Grist dros fy mrodyr, sef fy nghenedl yn ol y cnawd." "Os gallaf ryw fodd yru eiddigedd ar fy nghig a'm gwaed fy hun, ac achub rhai o honynt." "Canys er fy mod yn rhydd oddiwrth bawb, mi a'm gwneuthum fy hun yn was i bawb, fel yr ennillwn fwy. Ac mi a ymwneuthum i'r Iuddewon megis yn Iuddew, fel yr ennillwn yr Iuddewon; i'r rhai dan y ddeddf, megis dan y ddeddf, fel yr ennillwn y rhai sydd dan y ddeddf; i'r rhai diddeddf, megis diddeddf, fel yr ennillwn y rhai diddeddf. Ymwneuthum i'r rhai gweiniaid megis yn wan, fel yr ennillwn y gweiniaid: mi a ymwneuthum yn bob peth i bawb, fel y gallwn yn hollol gadw rhai. A hyn yr wyf fi yn ei wneuthur er mwyn yr Efengyl, fel y'm gwneler yn gyd-gyfranog o honi." I'r amcan hwn yr oedd yr Apostol yn ordeinio iddynt henuriaid yn mhob eglwys. I'r un amcan y mae yn anfon Timotheus i Ephesus, Titus i Creta, Epaphroditus yn ei ol i Philippi. Y mae pob symmudiad o'r fath yn cael ei lywodraethu ganddo ef yn ol y dylanwad a gaffai ar effeithiolrwydd y weinidogaeth. I'r un amcan yr ydoedd yn dadleu dros gynhaliaeth y rhai a fyddont yn ymroddi i'r swydd. "Nid oes neb a'r sydd yn milwrio yn ymrwystro gyda negeseuau y bywyd hwn, fel y rhyngo fodd i'r neb a'i galwodd yn filwr." "Cyfrifer yr

henuriaid sydd yn llywodraethu yn dda, yn deilwng o barch dau-ddyblyg; yn enwedig y rhai sydd yn poeni yn y gair a'r athrawiaeth. Canys y mae yr Ysgrythyr yn dywedyd, Na chau safn yr ŷch sydd yn dyrnu yr ŷd: ac, Y mae y gweithiwr yn haeddu ei gyflog." "Pwy sydd un amser yn rhyfela ar ei draul ei hun? pwy sydd yn planu gwinllan, ac nid yw yn bwyta o'i ffrwyth hi? neu pwy sydd yn porthi y praidd, ac nid yw yn bwyta o laeth y praidd? Os nyni a hauasom i chwi bethau ysbrydol, a'i mawr yw, os nyni a fedwn eich pethau cnawdol? . . . . Felly hefyd yr ordeiniodd yr Arglwydd, i'r rhai sydd yn pregethu yr Efengyl, fyw wrth yr Efengyl." "A chyfraned yr hwn a ddysgwyd yn y gair, â'r hwn sydd yn ei ddysgu, yn mhob peth da." I'r un amcan yr ydoedd yn eiddigus iawn am weled yr eglwysi yn arddangos, yn nghymeriad eu haelodau, y purdeb a'r uniondeb a'r cysondeb a ganmolir yn yr Efengyl.

Mae gras Duw, sydd yn dwyn iachawdwriaeth, yn dysgu hefyd i ddynion ymwadu âg annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol yn y byd sydd yr awrhon.

---

Yr unig nodiadau yn cyfeirio at Mr. Morgan, dan y pen olaf, yw yr hyn a ganlyn:—

"1. Addysg. 2. Bugeiliaeth. 3. Cynhaliaeth. 4. Dysgyblaeth."

Mae y rhai sydd yn gydnabyddus â hanes Methodistiaeth yn Ngogledd Cymru, dros ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf, yn gwybod am wasanaeth gwerthfawr Mr. Morgan yn y pedwar cysylltiad a nodir yma, er mai yr hyn sydd yn fwyaf adnabyddus ydyw ei ymdrech gorchestol a llwyddiannus i sicrhau addysg effeithiol i weinidogion yr Efengyl.

Terfynwyd y Bregeth gydag apêl difrifol at hen wrandawyr y gweinidog ymadawedig.

# PREGETH XXII.*

## PERYGL CELLWAIR A'R HUDOLIAETH I BECHOD.

DIARHEBION VI. 27, 28.

"*A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?*"

Un o nodweddion amlwg yr Ysgrythyrau sanctaidd, ac sydd mewn modd arbenig yn eu cyfaddasu i wasanaethu amcanion neillduol yr Anfeidrol yn y rhoddiad o honynt i'r byd, ydyw y defnydd gwastadol a wneir ynddynt o wirioneddau cyffredin, hollol adnabyddus i ddynion gyda golwg ar bethau y byd a'r bywyd hwn, er egluro yr egwyddorion mawrion moesol ac ysbrydol ag y mae y fath bwys ynddynt iddynt yn eu cysylltiad â Duw, ac yn eu perthynas â'r byd tragywyddol. Yn y nodwedd hwn arnynt, y maent yn cyfateb i'r hyn a ellir ei olygu fel deddf naturiol meddwl dyn i ddysgu unrhyw beth. Y ddeddf hono ydyw ei fod yn dysgu y dieithr trwy yr adnabyddus. Y mae yn myned at y pell trwy yr agos; ac at yr agos trwy y nes. Y mae yn esgyn at y Dwyfol trwy y dynol, ac yn ymddyrchafu trwy yr elfenol a'r amserol at yr hyn sydd ysbrydol a thragywyddol. Ac, yn ganlynol, y mae dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau, yn y nodwedd y cyfeiriasom ato, yn fwy pendant ac eglur i'r fath greadur ag ydyw dyn nag y gallasai fod mewn unrhyw wedd arall. Ac nid hyny yn unig, ond y mae cymhwysder arbenig yn y nodwedd hwn sydd ar eu dysgeidiaeth, i wneuthur eu haddysg yn fwy effeithiol; i beri iddi ennill y sylw yn rhwyddach

* Traddodwyd y Bregeth hon yn Nghymdeithasfa Treffynnon, Rhagfyr 6ed, 1871.

a llwyrach, gadael argraff ddyfnach a mwy arhosol ar y côf, a sicrhau dylanwad cryfach ar y galon a'r fuchedd. Y mae y gwirionedd, fel hyn, yn gwisgo y fath wedd ag y rhaid i ddyn fod yn hynod o esgeulus i fethu dirnad ei ystyr, ac yn nodedig o galed i beidio teimlo oddiwrth bwysfawrogrwydd ei gynnwysiad. A dyma y nodwedd, fel y canfyddwch i gyd, sydd iddo yn y geiriau a ddarllenwyd genym yn awr yn destyn: "A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?"

Mae y geiriau hyn yn amlwg wedi eu bwriadu er cymmell yn fwy effeithiol ar feddwl y gwr ieuanc, sydd yma yn bendant yn cael ei annerch, yr angenrheidrwydd am ymgadw yn hollol oddiwrth achlysuron y pechod gwaradwyddus sydd yma yn uniongyrchol yn cael ei wahardd. Y pechod hwnw, fel y gwelir, ydyw putein dra; pechod ag y mae oedran ac amgylchiadau y fath un yn ei wneuthur yn arbenig yn agored iddo, a phechod, ysywaeth! ag y mae miloedd lawer o ieuenctyd yn cael eu hysglyfaethu ganddo. Mae y gwr doeth, yn y lle cyntaf, yn ei gyfarwyddo at yr amddiffyn goreu iddo rhag pob tuedd at y pechod hwn. Y mae yn cael hyny mewn adgof o, sylw ar, a chydymffurfiad â'r, addysg deuluaidd a gawsai yn moreu ei oes: "Fy mab, cadw orchymynion dy dad, ac nac ymado â chyfraith dy fam." Wrth "orchymyn" y tad, a "chyfraith" y fam, yma, yr ydym i ddeall, mi dybiwn, oddiwrth yr adnodau dilynol, y gyfraith Ddwyfol, yn y datguddiad oedd gan y genedl y pryd hyny o honi; a'r hon yr oedd rhieni duwiol, yn ol gorchymyn yr Arglwydd, yn arfer ei dysgu yn fanwl i'w plant. Yr oedd rhieni y gwr ieuanc hwn wedi bod yn nodedig o ofalus i'w ddysgu ef ynddi. Yn awr, fy mab, dos yn ol i'th flynyddoedd

cyntaf; adgofia yr hen dŷ y cefaist dy eni ynddo, yr hen aelwyd y'th fagwyd arni; cofia fel y byddai dy dad yn dy gymmeryd ar ei liniau i'th ddysgu; cofia mor ddifrifol a serchiadol y byddai yn dy rybuddio; cofia mor daer y byddai yn gweddio trosot: "Cadw orchymyn dy dad." Cofia fel y byddai dy fam yn dy gymmeryd i'w mynwes, ac yn dy gynghori; cofia ei phryder; cofia ei chariad; cofia ei dagrau. Gwylia arnat, i ba le bynnag yr äi, rhag anufuddhau i'r "gorchymyn" a glywaist gan dy dad; gwylia rhag ymadael â'r "gyfraith" a ddysgwyd i ti gan dy fam. Ac nid yn unig hyny, ond edrych arnynt gyda'r anwyldeb mwyaf, golyga hwynt fel dy addurn pennaf:—"Rhwym hwynt ar dy galon yn wastadol; cwlwm hwynt am dy wddf." Bydded iddynt fod yn wrthddrychau dyfnaf dy serch, ac yn ddefnyddiau pennaf dy harddwch.

Ac yna y mae, mewn modd nodedig o brydferth, yn gosod ger ei fron y budd a ddeilliai iddo trwy ymddwyn fel yr annogid ef tuag at y gyfraith: "Pan rodiech, hi a'th gyfarwydda; pan orweddych, hi a'th wylia; pan ddeffröych, hi a gydymddyddan â thi." Y mae y gyfraith, chwi a welwch, yn cael yma ei phersonoli, fel cyfarwyddwr medrus, fel gwarcheidwad gofalus, ac fel cydymaith dyddan. "Pan rodiech, hi a'th gyfarwydda." Hi a'th dywys yn y lleoedd mwyaf dyrys; dengys i ti y ffordd y dylit ei rhodio, a'r fan, bob amser, y dylit osod dy droed i lawer. Yn dy holl ymddygiadau, hi a fydd yn arweinydd i ti, i'th gadw rhag cyfeiliorni o'r ffordd ddiogel. "Pan orweddych, hi a'th wylia." Wedi i ti ddarfod â gorchwylion a thrafferthion a blinderau y dydd, ac yn dy ludded dy daflu dy hunan i freichiau cwsg, a phan y byddi yn gwbl analluog i, a difeddwl am bob gofal am danat dy hunan, hi a fydd yno yn gwylio drosot, yn gofalu am gadw pob niwed draw.

"Pan ddeffröych, hi a gydymddyddan â thi." Wedi i ti ddeffro yn y boreu, yn nghanol yr unigedd mwyaf, ti a'i cei hi megis cydymaith cyfeillgar, dyddanus, yn sefyll wrth erchwyn dy wely, â rhywbeth difyrus a buddiol ganddi yn wastadol i'w adrodd i ti. Ti a elli fod yn sicr o hyny, oblegyd dyna yw ei nodwedd hi: "Canys canwyll yw'r gorchymyn; a goleuni yw'r gyfraith; a ffordd i fywyd yw ceryddon addysg." Hi a deifl oleuni i ti yn nghanol y tywyllwch duaf, ac a fydd yn ddiogelwch i ti yn nghanol y peryglon mwyaf.

Ac, yn enwedig, hi a'th geidw rhag y peryglon neillduol y mae dy oedran a'th amgylchiadau yn peri dy fod yn arbenig yn agored iddynt: "I'th gadw rhag y fenyw ddrwg, a rhag gweniaith tafod y ddieithr." Ac y mae o'r pwys mwyaf i ti gael dy gadw yn hollol rhag hono: "Na chwenych ei phryd hi yn dy galon: ac na âd iddi dy ddal â'i hamrantau." Ymgadw yn gwbl oddiwrthi; paid a gadael iddi gael unrhyw le yn dy feddwl, na'r fantais leiaf arnat. Canys os caiff, fe fydd y canlyniad yn ofnadwy: y mae ei dilyn yn dinystrio holl ddefnyddiau cysur yn y byd hwn, ac yn damnio yr enaid yn y byd a ddaw: "Oblegyd y fenyw buteinig y daw dyn i damaid o fara." Y mae ei amgylchiadau bydol yn cael eu difetha. Y mae, o ganol llawnder, yn cael ei ddarostwng i brinder ac eisiau a newyn. Ac nid yw y niwed yn darfod ar hyny; na, y mae y drwg yn cyrhaedd yn mhellach, yn ymestyn drosodd i fyd arall: "A gwraig gwr arall a hela yr enaid gwerthfawr."

Yna, yn y geiriau a ddarllenwyd genym yn destyn, y mae yn ymddangos ei fod yn dychwelyd eilwaith at yr angenrheidrwydd am ymosod yn uniongyrchol yn erbyn y drwg, yn yr achlysur o hono, yn y demtasiwn iddo; a hyny oddiar yr ystyriaeth o'r anmhosibilrwydd o gellwair â'r hudoliaeth heb syrthio i'r pechod: "A ddichon gwr

ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?" Yr wyf yn gweled fod yr holl esbonwyr y dygwyddodd i mi gael golwg arnynt, yn cymmeryd y geiriau fel cadarnhad o'r hyn a honasid eisoes, yn yr adnod flaenorol; sicrwydd cospedigaeth i'r hwn a ymroddo i'r pechod hwn; fod hyny mor sicr ag y bydd i'r dillad losgi wrth "ddwyn tân yn y fynwes," neu y bydd i'r traed gael eu llosgi wrth "rodio ar hyd marwor." Ond y mae yn ymddangos i mi braidd yn hytrach mai yr hyn a nodwyd ydyw yr ystyr: nid yn gymmaint, sicrwydd y gosp—o fyw yn y pechod—â sicrwydd y pechod, wrth chwareu â'r demtasiwn. Mae yr ystyr yna yn ymddangos yn llawn mor gydweddol ág ysbryd y geiriau eu hunain, ac yn hytrach yn fwy cydweddol â'r eglurhad arnynt, neu y cymhwysiad o honynt, a gawn ni yn yr adnod ganlynol: "Felly, pwy bynnag a êl at wraig ei gymmydog; y neb a gyffyrddo â hi ni bydd glân."

Mae y geiriau, fe welir, yn cyfeirio yn uniongyrchol at bechod neillduol, a phechod, yn ddiddadl, sydd yn uchel ei ben yn ein gwlad, ac y dylem, pe gwyddem pa fodd i wneyd hyny heb wneyd mwy o niwed nag o les, gyfodi ein llef yn benderfynol yn ei erbyn. Ond y maent yn cynnwys egwyddor, ac egwyddor bwysig, o gymhwysiad cyffredinol at bob pechod, ac at bechod yn mhob ffurf arno, y dymunwn gael eich sylw ati yn bresennol: Yr anmhosibilrwydd i ddyn gellwair â'r hudoliaeth i bechod, heb syrthio yn ysglyfaeth iddo.

Fy amcan, yn awr, chwi a welwch, ydyw, nid dweyd yn gymmaint yn erbyn i'r gwr ieuanc ladrata arian neu eiddo ei feistr, ag yn erbyn iddo chwareu â'r demtasiwn i hyny; nid yn gymmaint yn erbyn godineb yn weithredol, ag yn erbyn cellwair â'r chwant; nid yn

gymmaint yn erbyn meddwdod, ag yn erbyn ei achlysuron; nid yn gymmaint yn erbyn y pechod ei hunan, ag yn erbyn yr hudoliaeth iddo; a hyny, yn arbenig, am y rheswm a gawn yn y testyn, yr anmhosibilrwydd o gellwair â'r hudoliaeth, heb syrthio i'r pechod ei hunan: "A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?" A all un chwareu â phechod, heb, yn y diwedd, gael ei ddal yn gaeth ganddo?

Ymddengys gwirionedd ein gosodiad ond i ni sylwi ar y pethau canlynol:—

I. Fob pob hudoliaeth ar ddyn yn ei chyfeirio ei hunan at natur sydd eisoes yn llygredig, ac felly yn hollol agored i ymgymmeryd â hi.

II. Fod dyn, wrth gellwair â'r hudoliaeth, yn ei roddi ei hunan yn uniongyrchol yn y llwybr sydd yn arwain yn naturiol i'r pechod.

III. Fod cellwair â'r hudoliaeth, ynddo ei hunan, yn arwyddo rhyw gymmaint o duedd at y pechod a fyddo yn wrthddrych neillduol iddi.

IV. Fod cellwair â'r hudoliaeth yn dwyn dyn i gyfarfyddiad â'r pechod yn unig yn y wedd swynol arno, ac felly yn rhoddi mantais iddo i adael argraff bleidiol iddo ei hunan ar ei feddwl.

V. Fod dyn, trwy gellwair â'r hudoliaeth, yn gwanhau ei nerth moesol yn erbyn pechod, ac, yn raddol, yn myned mor eiddil ag i fod yn rhy wan i'w wrthsefyll.

VI. Fod dyn, trwy gellwair â'r hudoliaeth, o'r diwedd yn temtio Ysbryd Duw i dynu ei amddiffyn oddiarno, ac i'w adael iddo ei hunan, ac yn ysglyfaeth i'w chwant. "A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?"

I. Mae pob hudoliaeth ar ddyn yn ei chyfeirio ei

hunan at natur sydd eisoes yn llygredig, ac felly yn gwbl agored i ymgymmeryd â hi.

Y mae yn ymddangos oddiwrth hanes dynolryw fod grym digonol mewn hudoliaeth, trwy gadw y meddwl mewn cymdeithas â hi, i ddylanwadu hyd yn nod ar greaduriaid sanctaidd er peri iddynt syrthio. Felly y bu gyda'n rhieni cyntaf yn Eden. Yr oeddynt hwy wedi eu creu "ar ddelw Duw," "mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd"; ac eto, "pan welodd y wraig mai da oedd ffrwyth y pren yn fwyd, ac mai teg mewn golwg ydoedd, a'i fod yn bren dymunol i beri deall, hi gymmerth o'i ffrwyth ef ac a fwytaodd, ac a roddes i'w gwr hefyd gyda hi, ac efe a fwytaodd" (Gen. iii. 6). Nid ydwyf fi yn proffesu deall athroniaeth neu arddansoddiaeth y pwnc. Chwi a allech fy nyrysu yn fuan wrth ymholi,—Pa fodd y pechodd creadur sanctaidd? Pa fodd yr anufuddhaodd dyn, heb ddim yn ei galon ond egwyddor ufuddhau? Nis gallaf fi olrhain tarddiad y drwg. Ond y mae y ffaith yn aros, ac y mae yn ddigon eglur. Y mae y drwg wedi dyfod i mewn, ac fe ddaeth i mewn, rywfodd, i'n natur ni trwy gymundeb meddwl â'r demtasiwn iddo. Yn awr, os oedd y fath rym mewn hudoliaeth pan nad oedd ond sancteiddrwydd yn unig yn y meddwl, beth raid fod ei grym ar greadur sydd eisoes yn halogedig? Ond dyna ydyw dynolryw yn eu sefyllfa bresennol. "Pawb a bechasant, ac ydynt yn ol am ogoniant Duw" (Rhuf. iii. 23); y mae "pawb, yr Iuddewon a'r Groegwyr, dan bechod" (Rhuf. iii. 9); yr ydym "wrth naturiaeth yn blant digofaint" (Eph. ii. 3). Yr ydym o'r groth yn ymddieithrio, o'r bru yn cyfeiliorni, wedi ein llunio mewn anwiredd, o'r cnawd wedi ein geni yn gnawd. Dyma hanes y ddynoliaeth. Yr ydym oll yn aelodau o gorph wedi syrthio; yn ganghenau o bren y mae ei gyff wedi ei wenwyno. Y mae

profiad dynolryw trwy yr holl oesoedd yn dwyn tystiolaeth i'r gwirionedd hwn. Y mae dynion yn mhob oes, yn mhob gwlad, yn mhlith pob cenedl, o bob oedran, o bob gradd, o bob amgylchiad, o bob gallu naturiol, o bob diwylliad meddyliol a moesol, yn eu profi eu hunain yn llygredig. Yn mha le bynnag y cewch chwi ddyn, chwi a gewch y pechadur. Byddai mor anhawdd i chwi gyfarfod â dyn heb gorph ganddo, a chyfarfod â dyn heb bechod ynddo, a'r pechod hwnw, wrth naturiaeth, yn llywodraethu arno. Nid gwirionedd datguddiad, mewn ystyr briodol, ydyw hwn. Y mae holl ddynolryw, gydag ychydig eithriadau, yn ei gydnabod, ac y mae holl grefyddau y byd, yn y naill wedd neu y llall, yn ei dybied. Yr hyn sydd yn arbenig yn gwahaniaethu y Bibl gyda golwg arno ydyw, ei fod yn dangos i ni pa fodd y daeth dyn i'r cyflwr hwn, ac, yn enwedig, ei fod yn datguddio y drefn ogoneddus trwy yr hon y mae iddo gael ei waredu o hono. Y mae dyn, fel hyn, â'i natur yn ei addasu i dderbyn niwed moesol oddiwrth y demtasiwn, ac, yn ngwyneb y cyflwyniad o honi ger bron ei feddwl, i gael ei ddal ganddi, a syrthio yn ysglyfaeth iddi.

Fe fu un yn y byd yma, a dim ond un, yn hollol wahanol. Fe'i ganwyd ef "y peth sanctaidd" (Luc i. 35). Fe fu byw ei holl fywyd yn ddibechod. "Yr hwn nid adnabu bechod" (2 Cor. v. 21); "Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau" (1 Pedr ii. 22); "Sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid" (Heb. vii. 26). Yr oedd yn nghanol pechaduriaid, "yr holl bublicanod a'r pechaduriaid yn nesâu ato" (Luc. xv. 1), yn ymrwbio ynddo; ond eto yr oedd, yn eu canol, yn "ddidoledig oddiwrthynt," ac heb ei lychwino mewn dim ganddynt. Yr oedd ganddo ddynoliaeth wirioneddol, ond dynoliaeth berffaith ddilwgr. Ni

chyflawnodd yr un weithred, ni lefarodd yr un gair, ni thaflodd yr un edrychiad, ni luniodd yr un meddwl, ni choleddodd yr un teimlad, a amrywiai yn y gradd lleiaf, yn ngolwg yr Anfeidrol ei hunan, oddiwrth uniondeb perffaith. Fe'i temtiwyd; ond, er ei "demtio yn mhob peth yr un ffunud a ninau, eto heb bechod" (Heb. iv. 15). Nid oedd gan y demtasiwn un dylanwad arno ef. "Tywysog y byd hwn sydd yn dyfod, ac nid oes iddo ddim ynof fi" (Ioan xiv. 30); "dim defnyddiau yn cyfateb i'w ymosodiadau fel ag i roddi mantais iddo i fuddugoliaethu arnaf; dim llygredd ynof i'r demtasiwn allu trwyddo wneuthur unrhyw niwed i mi." Yr oedd yr hudoliaeth yn unig *oddi allan* iddo ef; nid oedd yr un blaid iddi *oddi mewn*, ac am hyny, nid oedd yn effeithio i beri un niwed iddo. Yr oedd ei natur ef wedi ei llanw i'r ymylon â sancteiddrwydd, fel yr oedd picellau tanllyd y fall ar unwaith yn diffodd ynddo. Ond fel arall y mae gyda ni. Y mae ansawdd ein hysbrydoedd, naws ein calonau ni, yn ansanctaidd a halogedig. Y mae gogwydd ein natur ni at bechod, tuedd wreiddiol ein meddyliau at yr hyn sydd ddrwg. Ac yn y fan yna, enaid anwyl, y mae dy berygl di i gellwair â'r demtasiwn. Y mae rhywbeth *ynot* ti sydd yn fantais iddi. Os ydyw y tân yn yr hudoliaeth, y mae y pylor yn dy natur dithau; ac, er mwyn dy fywyd, gwylia rhag i'r naill ddyfod i gyfarfyddiad â'r llall, onide fe fydd yna ffrwydriad ofnadwy.

Y mae holl natur foesol dyn wedi ei hanmharu. Y mae gogwydd naturiol ei feddwl at yr hyn sydd ddrwg. Rhaid ei ail-eni,—ei greu o'r newydd yn Nghrist Iesu, er dwyn ei galon i garu sancteiddrwydd; ac, hyd yn nod wedi ei ail-eni, y mae yn angenrheidiol iddo fod mewn gofal a gwyliadwriaeth ac ymdrech gwastadol er ei gadw ei hunan yn bur. Ond y mae llithro i bechod yn naturiol—yn rhywbeth sydd hawdd—iddo. Nid oes

eisiau iddo, er mwyn hyny, fyned yn erbyn anhawsderau mawrion, ymwadu â'i bleserau pennaf a chryfaf, tynu y llygad dehau neu dori y fraich ddehau; ymryddhau oddiwrth wrthddrychau sydd yn ymblethu am ei serchiadau dyfnaf, yn ymwau âg elfenau ei fôd, ac wedi arfer llywodraethu yn hollol arno. Yn awr, y mae fod y fath un—un sydd mor agored i bechod—yn cellwair â'r hudoliaeth, yn gwneuthur y pechod ei hunan yn rhywbeth anmhosibl, ar y tir hwnw, ei osgoi. Yn gyffelyb fel pe meddyliech am ryw glefyd heintus yn cynniwair trwy dref neu gymmydogaeth. Yn y fath amgylchiad, nid oes neb yn hollol ddiogel. Gallai yr iachaf a'r cryfaf ddyfod i gyfarfyddiad âg ef, a chael ei ddal ganddo. Ond y mae yn gwbl adnabyddus fod mewn rhai cyfansoddiadau ragduedd at ryw ffurfiau o afiechyd, rhywbeth sydd yn eu gwneuthur yn llawer mwy darostyngedig i'r mathau hyny o glefydau nag ereill; a phan y daw y clefyd i'r gymmydogaeth, y mae rhai o gyfansoddiadau felly mewn llawer mwy o berygl i'w gymmeryd na'r rhai sydd heb fod felly. Nid ydwyf fi yn ddigon o feddyg i benderfynu y rheswm am hyny, pa un a yw yn cyfodi oddiar ardymheredd gwreiddiol y cyfansoddiad, neu wendid cyffredinol y cyfansoddiad, neu ynte oddiar ansawdd neillduol y rhan hono o'r corph—yr *organ* neu y *tissue*—yr ymosoder yn uniongyrchol arno gan yr afiechyd hwnw. Y mae y peth, pa fodd bynnag, yn bod. Yn awr, y mae yr anmhariaeth foesol sydd ar ddynolryw y fath ag i'w gwneyd yn gwbl agored i'r ffurfiau neillduol ac amrywiol ar lygredigaeth ag sydd yn cynniwair trwy y ddaear, mewn gwahanol hudoliaethau; ac nis gall neb fod yn ddiogel, mewn byd mor afiach, ond gyda'r gofal a'r gwyliadwriaeth mwyaf. Ac os cyrcha yn hyf i leoedd heintus, gan chwareu a chellwair â'r clefyd, y mae yn anmhosibl iddo, â'r natur sydd ganddo, beidio ei gymmeryd.

Yr oeddwn i, yn y dref acw, ryw noswaith, ychydig wythnosau yn ol, yn myned trwy *Shaw Street*, a chyferbyn a'r *Collegiate*, yr oedd gwr cyfrifol yr olwg arno yn cerdded o'm blaen. Gyda fy mod yn myned heibio iddo, mi a ganfyddwn fwg yn dyfod allan o'i ddillad. Mi a droais ychydig gamrau yn fy ol, ac a ddywedais wrtho fy mod yn ofni, wrth weled y mwg, fod tân yn ei ddillad. Nid oedd efe ei hunan wedi sylwi arno; ond, yn ei ddychryn, fe ddattododd ei wisg; ac ar hyny, ac mewn llai o amser nag wyf fi yn gymmeryd i adrodd y peth i chwi, trwy ollwng yr awyr oddi allan i gyffyrddiad â'r tân oedd yn goddeithio oddi fewn, yr oedd yr ochr hono i'w ddillad yn fflamio. Yn awr, dyna ydyw natur pechadur. Y mae yn ddefnydd hylosg, parod i dân. Y mae eisoes, yn wir, yn ysu o'i fewn, ac yn deifio pob teimlad sanctaidd yn ei galon; ac nid rhaid iddo ond agor ei fynwes, a rhoddi mantais i awel yr hudoliaeth chwythu arno, na bydd yn ei gyneu yn fflam, ac yn ei osod yn y perygl o gael ei losgi yn gwbl. Ysbryd y Duw byw lefaro ei hunan: "A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?"

II. Mae dyn wrth gellwair â'r hudoliaeth, yn ei roddi ei hunan yn uniongyrchol yn y llwybr sydd yn arwain yn naturiol i'r pechod.

Er, fel y sylwasom, fod ansawdd naturiol calon dyn dan y cwymp yn ansanctaidd, a bod gogwydd gwreiddiol ynddo at yr hyn sydd ddrwg, eto y mae pechod, yn y ffurfiau neillduol a gymmerir ganddo yn ei feddwl, yn gystal ag yn ei fuchedd gyhoeddus, yn ei ddarostwng iddo ei hunan trwy ryw hudoliaeth. Y mae, yn y naill wedd neu y llall, yn cael ei demtio iddo. Y mae i bob pechod ei hudoliaethau neillduol. A diffyg mawr moesol miloedd ydyw, eu bod heb adnabod pechod yn

yr hudoliaeth iddo. Gwelir ambell un yn ymddangos megis yn gofidio oblegyd y pechod, ond yn chwareu â'r hudoliaeth; yn ceisio ymladd â'r pechod, ond yn cofleidio yr hudoliaeth. Edrychwch ar yr hudoliaethau i bechodau, ac ar ddynion yn cellwair â hwynt. Pa fodd yr aeth y dyn ieuanc hwnw yn lleidr? Ai y peth cyntaf a wnaeth oedd lladrata arian ei feistr, neu ffugio ei law-ysgrifen wrth y *cheque* ar y *bank*, neu dori i dŷ ei gymmydog a lladrata ei feddiannau? O, nage. Pa fodd, ynte? pa fodd! Fe ddechreuodd trwy ddefnyddio arian ei feistr, heb ei genad ac yn gwbl ddiarwybod iddo ef, i'w gwario arno ei hunan i ryw amcan heb fod y goreu, gyda'r bwriad o'u dychwelyd drachefn, yr un mor ddiarwybod iddo, pan y delai ei arian ei hunan i'w law. Nid oedd yn ddigon gwrol a gwyneb-agored i fyned at ei feistr i ofyn benthyg ychydig ganddo; ond yr oedd yn ddigon diegwyddor i'w cymmeryd heb ei genad, ac, fe allai, am beth amser yn ddigon gonest i'w had-dalu wedi i'w arian ei hunan ddyfod i'w law. Gwnaeth felly unwaith ac eilwaith a thrachefn, gan chwareu â'r demtasiwn i ladrata. Ond, rywbryd, yr oedd yn annghyfleus—ïe, dyna ei air ef, *annghyfleus*—iddo eu talu yn ol; yr oedd eisiau cymmaint ag oedd ganddo at rywbeth arall; am hyny, fe oedodd hyd adeg arall. Ond, yn y cyfamser, cyn i'r adeg hono ddyfod, yr oedd arno angen benthyca eilwaith, ac fe gymmerodd drachefn o arian ei feistr, gan ychwanegu at ei ddyled. Ac felly, gan barhau i gellwair â'r hudoliaeth, a chael ei hunan o'r diwedd o fewn cylch rhyw anhawsderau y teimlai ei hunan yn analluog i'w goresgyn, dyna fo yn dyweyd wrtho ei hunan, "Nis gallaf eu talu yn ol; nid oes dim modd i mi wneyd; yn wir, ni wn i ddim a ddylwn i; nid wyf fi yn cael yn agos y cyflog a ddylwn i gael; beth bynnag, nid oes neb yn gwybod am hyn

ond myfi fy hunan; ni wnaf fi ddim meddwl am eu talu yn ol, os na ddof fi rywbryd yn mhen blynyddoedd yn gyfoethog, ac yn hawdd i mi wneyd; ond yr wyf fi yn penderfynu na chymmeraf fi ddim arian fel hyn byth eto." Ond, och! nid ar hyny yr arosodd. Efe a aeth rhagddo yn yr un cyfeiriad, yn mlaen, yn mlaen! Yn mha le y mae o heno? Yn mha le hefyd? Yn y *penal servitude;* wedi dinystrio ei gymeriad ei hunan dros byth; wedi tori calon ei fam, a'i dwyn i'r bedd yn anamserol; ac wedi tynu gofid a thristwch, a dianrhydedd, a chywilydd ar ei holl berthynasau. Wrth gellwair â'r hudoliaeth, fe aeth yn lleidr.

Yr un modd y mae gyda phob pechod. Edrychwch ar y dyn yna, nad oes dim ymddiried gan neb yn ei air—na hoffech chwi byth, heb ryw dystiolaeth arall, adrodd un chwedl ar ei ol. Pa fodd yr aeth y dyn fel yna? Nid ar unwaith? Na; fe ddechreuodd trwy adrodd, yn unig fe allai er mwyn digrifwch, rhyw chwedlau disail a dychymygol. Mewn rhyw gylchoedd, fe'i cafodd ei hunan trwy hyny yn ennill cryn sylw, ac yn cynnyrchu cryn chwerthiniad. Ymollyngodd gyda'r hudoliaeth, ac ymroddodd i feithrin y duedd, nes, erbyn hyn, y mae yn ddiareb am ei anwiredd; y mae yn credu ei gelwyddau ei hunan; ac agos wedi colli y gallu i wahaniaethu rhwng y gwir a'r gau.

Y mae lliaws, ysywaeth, o ieuenctyd ein cenedl, o leiaf mewn rhai parthau o'n gwlad, yn dilyn hen arferiadau llygredig a gwarthus yn eu rhag-gyfeillach â'u gilydd, cyn eu mynediad i'r cyflwr priodasol, sydd yn tueddu yn uniongyrchol i ddinystrio eu diweirdeb. Yn nhrefi mawrion Lloegr, ac y mae lle i ofni y gallai yr un peth fod mewn rhai trefi yn Nghymru, y mae lliaws o ieuenctyd yn ystelcian yn yr hwyr yn nghonglau yr heolydd, yn cellwair â'r cymeriadau isel sydd yn cyn-

niwair ar hyd-ddynt, yn ymbleseru yn eu hiaith serthaidd a'r tremiadau anllad, yn . . . . yn cellwair yn gyson â'r hudoliaeth i buteindra.

Y mae miloedd yn ein gwlad yn cellwair yn wythnosol, os nad yn feunyddiol, â'r diodydd meddwol, yn cyrchu yn rheolaidd i'r tafarnau, yn treulio amser maith a gwerthfawr yno yn yr ymyfed a'r gyfeddach, ac yn chwareu felly yn gyson â'r demtasiwn i feddwdod.

Yn awr, nis gall fod un amheuaeth am y rhai sydd yn cellwair fel hyn â'r hudoliaeth i unrhyw bechod, nad ydynt yn eu rhoddi eu hunain yn uniongyrchol yn y llwybr sydd yn arwain yn naturiol iddo. Yn ganlynol, y mae moesoldeb yr Ysgrythyrau sanctaidd nid yn unig yn bendant yn erbyn y pechod ei hunan, ond hefyd yn erbyn yr holl achlysuron iddo, a gogwyddiadau cyntaf y galon tuag ato; "Na ddywedwch gelwydd wrth eich gilydd" (Col. iii. 9); ïe, ond "Bydded eich ymadrodd chwi, Ie, ïe; nage, nage; oblegyd beth bynnag sydd dros ben hyn, o'r drwg y mae" (Matt. v. 37); a rhaid "dywedyd y gwir yn y galon" (Psalm xv.). Y mae nid yn unig yn erbyn lladrata, ond, "Na chwennych . . . na dim a'r sydd eiddo dy gymmydog" (Exod. xx. 15, 17). Y mae nid yn unig yn gwahardd lladd, ond, "Pob un a ddigio wrth ei frawd heb ystyr, a fydd euog o farn" (Matt. v. 22); ac nid hyny yn unig, ond,—"Na fydd gydymaith i'r digllawn, ac na chydgerdd a'r gwr llidiog, rhag i ti ddysgu ei lwybrau ef, a chael magl i'th enaid" (Diar. xxii. 24, 25). Y mae nid yn unig yn condemnio ac yn gwahardd godineb, ond, "edrych ar wraig i'w chwennychu hi" (Matt. v. 28); ïe, "Cadw dy ffordd yn mhell oddiwrthi hi, ac na nesâ at ddrws ei thŷ hi" (Diar. v. 8); "Na feddwer chwi gan wîn" (Eph. v. 18); ïe, ac, "Na fydd yn mysg y rhai sydd yn meddwi ar wîn"; "Nac edrych ar y gwîn pan fyddo coch, pan ddangoso

ei liw yn y cwpan, pan ymgynhyrfo yn iawn" (Diar. xxiii. 20, 31). Dyna ydyw natur a rheol fawr moesoldeb yr Ysgrythyrau sanctaidd. Ac, yn awr, fel mai dyna foesoldeb y llyfr, dyna foesoldeb y galon a'r fuchedd. Y mae nerth yr egwyddor foesol yn y dyn i'w datguddio ei hunan, nid mewn myned mor agos ag y gallo at y pechod, heb syrthio iddo, ond mewn ymgadw mor bell ag y gallo oddiwrtho; nid mewn myned mor agos ag y gallo at y dibyn heb syrthio drosto, ond mewn rhodio ar ganol y ffordd, yn gwbl bell oddiwrth y perygl: "ymgadw oddiwrth bob rhith drygioni" (1 Thes. v. 22), "a chasâu hyd yn nod y wisg a halogwyd gan y cnawd" (Judas 23), ac felly bod yn bur a dihalog i Grist Iesu, ac "yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd."

Y mae yr hen fardd Groegaidd, fel y mae rhai o honoch yn cofio, pan yn adrodd hanes crwydriadau Ulysses yn Môr y Canoldir, yn ei gymmeryd heibio i'r ynys lle yr oedd y chwiorydd Sirenaidd yn canu mor swynol, nes dylanwadu ar y morwyr a fyddent yn myned heibio, fel nas gallent ymattal rhag myned i'r ynys, lle y delid hwynt ganddynt, ac y gwleddent ar eu cyrph. Ond yr oedd efe wedi ei gyfarwyddo gan Circe, er amddiffyn iddo ei hunan a'i gyfeillion, pan y delai i dueddau yr ynys, i roddi cŵyr toddedig yn eu clustiau hwy, fel na byddai yn bosibl iddynt glywed eu lleisiau a'u canu swynol, ac i beri iddynt hwythau ei rwymo yntau wrth yr hwylbren, fel, er iddo glywed, ac er pob awydd dan ddylanwad y swn i fyned i'r ynys, na byddai un gallu ganddo i wneuthur dim er arwain y llong tuag yno. Ac felly y cadwyd ef a hwythau yn ddiogel.* A fynech chwi beidio syrthio i'r pechod? Cauwch eich clustiau rhag gwrando ar lais yr hudoliaeth; trowch heibio eich llygaid rhag edrych arni; rhwymwch eich hunain wrth

* Odyss. xii. 39—208.

rywbeth digon nerthol i'ch cadw rhag cael eich maglu byth ganddi. Y mae dyn, pan yn cellwair â'r hudoliaeth, ar ganol y brif-ffordd sydd yn arwain i'r pechod.

Ieuenctyd anwyl, a ydych chwi yn gweled ystyr hyn oll? A ydych chwi yn deall i ba le y mae darllen llyfrau halogedig, edrych ar luniau anniwair, arfer geiriau aflan, cellwair â chymeriadau isel a gwaradwyddus, dilyn hen arferion llygredig,—yn arwain? A ydych chwi yn canfod yn mha le y mae cyrchu i'r tafarnau, eistedd uwchben y cwpan meddwol, ymddifyru yn y gyfeddach, ymfoddhau yn mlâs ac arogl y ddiod, a theimlo yn gysurus dan ei heffeithiau,—yn terfynu? Y mae yn bwnc bywyd i ti sydd yn cellwair felly â'r hudoliaeth ddychryn trwyddot. Yr wyt yn ymyl y dibyn; dim ond ychydig gamrau eto a thi a fyddi yn cwympo drosodd. Y mae y tân yn y fynwes, nid oes wybod pa funud y bydd y dillad yn wenfflam. "A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?"

III. Mae cellwair â'r hudoliaeth, ynddo ei hunan, yn arwyddo rhyw gymmaint o duedd eisoes at y pechod neillduol a fyddo yn wrthddrych uniongyrchol iddi.

Ni a sylwasom eisoes fod hanes dynolryw yn dwyn tystiolaeth i'r dylanwad sydd gan gymdeithas meddwl â'r hudoliaeth, hyd yn nod ar greadur sanctaidd, er ei ddarostwng i bechod. Yr un pryd, y mae yn wirionedd, ac yn wirionedd pwysig, mai *yn nghymdeithas y meddwl â'r hudoliaeth* y mae y grym hwnw; ac os bydd cymmaint yn y meddwl o'r rhinwedd cyferbyniol i'r pechod a fyddo yn wrthddrych neillduol yr hudoliaeth, ag i gadw y dyn ar ei wyliadwriaeth rhag cellwair â hi, y mae yn hollol ddiogel rhag pob niwed oddiwrthi. Mewn gwirionedd, pan y byddo felly, nid yw yr hudoliaeth yn hudoliaeth i hwnw. I'r dyn ieuanc diwair, pur yna, nid

oes dim hudoliaeth yn neniadau y fenyw ddieithr. I'r dyn sobr, y dirwestwr trwyadl yna, nid oes dim hudoliaeth yn arogl a blâs a dylanwad y ddiod feddwol, nac yn nghynwrf na bloeddiadau a chrechwen y dafarn. Y mae gormod o'r peth croes i'r pechod ynddo i ganiatau hyny. Dyna y meddwl, dybygid, ond mewn ystyr annhraethol uwch, i'r geiriau hyny, "Na ddyweded neb pan demtier ef, gan Dduw y'm temtir. Canys Duw nis gellir ei demtio â drygau, ac nid yw efe yn temtio neb" (Iago i. 13). "Nis gellir ei demtio â drygau." Paham? Paham hefyd? Gormod o ddaioni sydd ynddo. Y mae yn anfeidrol dda. Ac, yn anfeidroldeb daioni ei natur, y mae yn ymddyrchafu yn anfeidrol uwchlaw y posibilrwydd o gael ei demtio i ddim sydd groes i'r daioni hwnw. Yn awr, y mae yr un peth yn wirionedd am ddyn, yn ol graddau nerth sancteiddrwydd ynddo, a grym gwrthwynebiad ei galon i bechod. Y mae hyny yn ei ddatguddio ei hunan trwy beidio rhoddi lle i'r hudoliaeth; trwy beidio caniatau iddi aros dim yn ei feddwl. Pan y mae yn casâu y *pechod* â chasineb perffaith, y mae yr *hudoliaeth* iddo yn atgas ganddo; ac y mae yn cilio, nid yn unig oddiwrth y pechod ei hunan, ond oddiwrth yr holl achlysuron iddo, ac oddiwrth bob peth a allai ei dueddu ato. Yr un fath a hoffder gwr o'i gyfaill, yn peri iddo werthfawrogi pob cyfleusdra i gael cymdeithas âg ef. Edrychwch fel y mae hoffder y dyn duwiol o gymdeithas â Duw, yn ei ddatguddio ei hunan yn ei hoffder o'r fantais i gael cyfarfod âg ef: "Fel y brefa'r hŷdd am yr afonydd dyfroedd, felly yr hiraetha fy enaid am danat ti, O Dduw. Sychedig yw fy enaid am Dduw, am y Duw byw: pa bryd y deuaf ac yr ymddangosaf ger bron Duw?" (Psalm xlii. 1, 2). Un peth a ddeisyfais i gan yr Arglwydd, hyny a geisiaf, sef caffael trigo yn nhŷ yr Arglwydd holl ddyddiau fy

mywyd, i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd, ac i ymofyn yn ei deml" (Psalm xxvii. 4). "Arglwydd, hoffais drigfan dy dŷ, a lle preswylfa dy ogoniant" (Psalm xxvi. 8). Y mae cariad ei galon at Dduw yn peri iddo garu pob mantais i gael cymdeithas âg ef, a mwynhad o hono. A'r un modd, yn ei gasineb at bechod, y mae yn casâu pob peth, ac yn cilio oddiwrth bob peth a fyddo yn tueddu ato, neu a allo fod yn blaid iddo. Or tu arall, os bydd dyn yn caniatau i'w galon chwareu gydag unrhyw chwant, yn cael ei hunan yn troi ato, ac yn ymddifyru o ran ei feddwl ynddo, yn edrych arno drachefn a thrachefn, yn rhoddi lle iddo yn fynych yn ei fyfyrdod; yn cellwair, felly, â'r hudoliaeth iddo,—y mae yn amlwg fod yna ogwydd neillduol yn y dyn at y pechod hwnw; ac, er y dychrynai, fe allai, ar y pryd, rhag ei gyflawni yn weithredol, eto gall fod yn sicr mai rhyw ystyriaethau oddi allan yn unig sydd yn ei attal rhagddo, ac nid egwyddor ei galon ei hunan.

Yr ydym wedi sylwi eisoes fod ein natur ni, dan y cwymp, wedi ei llygru, ac felly ein bod oll, mewn modd arbenig, yn agored i ymgymmeryd â hudoliaethau i bechodau neillduol. Ond y mae gwirionedd pwysig arall ynglŷn â hyn. Y mae genym oll y "pechod sydd barod i'n hamgylchu" (Heb. xii. 1); y mae yn mhob un o honom, ar ei ben ei hun, ryw ragdueddiad at ryw bechod neillduol. Yr un modd ag y ceir mewn rhai cyfansoddiadau naturiol ryw ragdueddiad at glefydau neillduol. Y mae hyny, yn fynych, yn etifeddol; yn ymddangos megis yn rhedeg yn ngwaed y teulu, ac yn gwneuthur y teulu, yn ei holl ganghenau, yn fwy rhagdueddol i'r afiechyd hwnw. Yr ydym yn gweled yr un peth yn fynych mewn ystyr foesol. Y mae rhai ffurfiau ar bechod fel pe byddent yn ngwaed ambell i deulu. Weithiau ceir celwydd, weithiau lladrad, weithiau

meddwdod, weithiau aflendid, fel yn rhedeg drwy deulu cyfan, ac am genhedlaethau lawer, nes eu gwneyd yn ddïareb am hyny yn eu cymmydogaethau. Ond, yn annibynol ar yr hyn a ellir ei olygu yn etifeddol, gall fod rhywbeth yn nghyfansoddiad naturiol dyn yn ei wneuthur yn fwy rhagdueddol i ryw bechod neillduol, ac felly yn gosod arno angenrheidrwydd am wyliadwriaeth a gofal arbenig rhag syrthio i hwnw. Y mae un â'r blysiau anianol yn gryfach ynddo, ac felly yn fwy rhagdueddol at bechodau y cnawd ; y mae y llall â'r nwydau eneidiol yn gryfach ynddo, ac felly yn fwy rhagdueddol at bechodau yr ysbryd. Y mae un yn naturiol o dymmer fwy bywiog a chwimmwth ac anngerddol a phoethlyd, ac felly yn fwy rhagdueddol i ysgafnder, ar y naill law, neu i wylltineb ar y llaw arall ; y mae y llall yn naturiol yn swrth a thrymaidd a mwythus a llegus, ac felly yn fwy rhagdueddol i fyned yn ddiofal, a segur, a diog a diddaioni, os nad yn sur a sarug a dreng ac afrywiog. Y mae un yn naturiol yn uchelfrydig ac ymhongar, ac felly yn fwy rhagdueddol i falchder a rhodres ; y mae y llall yn naturiol yn fwy blysig a danteithus, ac felly yn fwy rhagdueddol i lythineb a meddwdod. Rhagdueddiadau naturiol y gelwais y rhai hyn. Ond y mae rhagdueddiadau ereill, y gellir eu golygu yn gynnyrch ymarferiad yn unig, yr un mor rymus yn eu dylanwad, ac y mae yn llawn mor beryglus rhoddi unrhyw fantais iddynt. Ac weithiau,—na, nid weithiau, ond yn fynych iawn ysywaeth !—y mae y rhagdueddiad naturiol yn cael ei gryfhau yn ddirfawr gan yr ymarferiad.

Yn awr, pan y byddo dyn yn cellwair âg unrhyw hudoliaeth, y mae hyny yn brawf penderfynol o ryw gymmaint o ragdueddiad eisoes yn y meddwl at y pechod a fyddo yn wrthddrych uniongyrchol yr hudol-

iaeth hono. Nid ydyw cellwair â'r hudoliaeth yn ddim amgen nag ymestyniad y galon at y pechod: y chwant yn ymddŵyn yn y meddwl. Edrychwch ar Balaam. Dacw genhadon oddiwrth Balac yn dyfod ato, â gwobr dewiniaeth yn eu dwylaw, i'w gyrchu i felldithio Israel. Gellid tybio ei fod ar unwaith yn ammeu y priodoldeb o hyny, tra, ar yr un pryd, na arwyddai unrhyw anfoddlonrwydd i fyned. Pa fodd bynnag, y mae yn eu cymmell i aros gydag ef y noswaith hono, fel y caffai wybod ewyllys yr Arglwydd. Mae yn cael ei wahardd yn bendant i gydsynio â'u cais; ac felly, eithr gan adrodd ond hanner yr hyn a ddywedasai yr Arglwydd wrtho, y mae yn eu hanfon ymaith, gan ddywedyd fod yr Arglwydd yn nacâu gadael iddo fyned gyda hwynt, ond, yn amlwg yn gadael argraff ar eu meddyliau hwy o'i fod ef, o'i ran ei hunan, yn hollol barod i hyny, pe caniatesid iddo. Ond dacw Balac yn anfon cenhadon ereill ato,—mwy o nifer, ac anrhydeddusach na'r rhai blaenorol, gyda gwobr fwy, y mae yn ddiamheuol, yn eu dwylaw, a chan addaw anrhydedd mawr iddo os cydsyniai i fyned gyda hwynt. Y mae yntau yn cymmeryd arno fod yn dduwiol iawn: "Pe rhoddai Balac i mi arian ac aur lonaid ei dŷ, nid allwn fyned dros air yr Arglwydd fy Nuw, i wneuthur na bychan na mawr. Ond, attolwg, yn awr, aroswch chwithau yma y nos hon, fel y caffwyf wybod beth a ddywedo yr Arglwydd wrthyf yn chwaneg" (Num. xxii. 18, 19). "Hwyrach ei fod wedi newid ei feddwl. Hwyrach y caf fi ddyfod. Chwi a welwch nad wyf fi fy hunan ddim yn gwrthwynebu dyfod. Mi a ewyllysiwn, o'm rhan fy hunan, gael dyfod. Ac mi a ddeuaf oddieithr i mi gael fy rhwystro yn hollol." Wrth lettya y cenhadon, yr oedd yn dangos yn amlwg fod gogwydd ei galon i fyned gyda hwynt. Felly, pan y mae dyn yn rhoddi lletty i'r hudoliaeth yn

y meddwl, yn chwareu â'r chwant yn y fynwes, y mae yn eglur yn gogwyddo at y pechod ei hunan. Nis gellwch attal yr ymosodiad. Nid eich pechod chwi ydyw eich bod yn cael eich temtio; fe demtiwyd Iesu Grist ei hunan. Y drwg ydyw llettya yr hudoliaeth yn y meddwl: gwrando ar lais y temtiwr; peidio dywedyd ar unwaith wrtho, "Tro yn fy ol i Satan"; caniatau amser a mantais i'r "chwant ymddŵyn," nes "esgor ar bechod" (Iago i. 15). Yn y fan yma, gan hyny, y mae y perygl arbenig a neillduol sydd mewn cellwair â'r hudoliaeth, a'r anmhosibilrwydd i ddyn wneuthur hyny heb syrthio yn ysglyfaeth i'r pechod. A wyt ti yn ddiofal am y gwirionedd? Y mae gogwydd dy galon di at gelwydd. Gwylia rhag ymollwng iddo. A wyt ti yn cellwair â'r hyn nad yw yn eiddo i ti? Gofala! nid wyt yn mhell o fod yn lleidr. A wyt ti yn chwareu â rhyw achlysur i aflendid? Arswyda! y mae ymestyniad dy galon di at y drwg, ac nid oes eisiau ond ychydig ddadblygiad pellach ar y duedd na byddi di yn odinebwr. Wyt ti yn arfer cyrchu i'r dafarn, ac yn ymbleseru yn y gyfeddach? Yr wyt ti yn nghyfeiriad uniongyrchol meddwdod: a phe na byddai dim arall, y mae yr hoffder yna yr wyt yn ei gael yn yr hudoliaeth, yn ddigon o reswm paham y dylit ti gilio oddiwrthi am byth. "A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?"

IV. Nad ydyw cellwair â'r hudoliaeth yn dwyn dyn i gyfarfyddiad â'r pechod ond yn unig yn ei fwyniant, ac felly yn rhoddi mantais arbenig iddo i adael argraff bleidiol iddo ei hunan ar ei feddwl.

Y mae yn rhaid addef fod i bechod ei fwyniant. Y mae yn wir nad ydyw ond isel a gwâg a disylwedd, ac nad ydyw ei barhad ond byr a thra ansicr. Eto y mae

yn bod; ac nid yn unig hyny, ond y mae yn bresennol, a sicr, a hawdd ei gyrhaedd. Y mae yn cynnwys boddhad uniongyrchol i dueddiadau llygredig ein natur; ac, mewn rhai o'i ffurfiau, yn cyfeirio ei hunan yn arbenig at ei flysiau a'i nwydau anianol, ac, yn mhob ffurf arno, yn gwenieithio i hunan-gais a hunan-foddiant a hunan-ewyllys y creadur. Y mae, fel hyn, yn swyno miloedd a miliynau i'w ddilyn: yn gymmaint felly, fel nad oes dim grym mewn un ystyriaeth ellir gyflwyno ger bron eu meddyliau, er cael ganddynt wneuthur un ymdrech i ymryddhau oddiwrtho, ac ymadael âg ef. Y mae y dyn yn aberthu iechyd ei gorph, cysur ei deulu, ei amgylchiadau bydol, ei barch cymdeithasol, ei einioes naturiol, bywyd tragywyddol ei enaid anfarwol, ar allor ei gariad at ei chwant. Ond "*mwyniant* pechod" yn *unig* sydd yn yr hudoliaeth. Nid oes i'w weled ond y ffurf lluniaidd, y wyneb hawddgar, yr edrychiad siriol, a'r gwisgoedd gwychion; nid oes i'w glywed ond y llais mwyn, y geiriau teg, y canu soniarus, a'r chwerthiniad llawen; nid oes i'w deimlo ond y llaw esmwyth a'r gusan felus; nid oes dim i'w ganfod ond yr ymddangosiad deniadol i hudo: y mae y galon sydd yn llawn twyll, yr ysbryd sydd yn llawn brâd, a'r gostrel sydd yn llawn gwenwyn, yn cael eu cuddio yn hollol, fel nad yw yr adyn yn dychymygu fod un niwed i'w ofni, nac un perygl yn bod; nid oes dim yn y golwg ond y mwyniant. "A phan welodd y wraig mai da oedd ffrwyth y pren yn fwyd, ac mai teg mewn golwg ydoedd, a'i fod yn bren dymunol i beri deall, hi a gymmerodd o hono, ac a fwytaodd" (Gen. iii. 6). Yr oedd yno bethau ereill i'w gweled pe buasai hi yn edrych: gwaharddiad Duw, bygythiad Duw, awdurdod Duw, euogrwydd, gwarth, marwolaeth. Eithr nid oedd yr hudoliaeth yn dangos yr un o'r rhai hyny; dim ond rhyw degwch a dymunol-

deb dychymygol a disylwedd i dwyllo. Ond trwy ymollwng gyda'r hudoliaeth, er mwyn y dymunoldeb dychymygol, hi a gafodd brofi trueni gwirioneddol a sylweddol. "Mi a welais," meddai Achan, "yn mhlith yr ysbail fantell Babilonig dêg, a dau can' sicl o arian, ac un llafn aur o ddeg sicl a deugain ei bwys; yna y chwennychais hwynt, ac a'u cymmerais; ac wele hwy yn guddiedig yn y ddaear yn nghanol fy mhabell, a'r arian danynt" (Josh. vii. 21). Yr oedd yno bethau ereill i'w gweled: gwaharddiad Duw, blino Israel, gwneyd y gwersyll yn ysgymunbeth, peri i'r Arglwydd gefnu ar ei bobl, ac iddynt hwythau ffoi o flaen eu gelynion, ei labyddio ef a'i deulu â meini, a'u llosgi â thân. Ond nid oedd yr hudoliaeth yn dangos y rhai hyny: dim ond y fantell dêg, yr arian, a'r aur; ac wrth edrych ar y rhai hyny, dyna Achan yn chwennych, ac wedi chwennych yn cymmeryd, ac ar ol cymmeryd yn cuddio; ond er y cuddio, yn cael ei ddal, yn cael ei labyddio i farwolaeth, a'i losgi yn lludw â thân.

Chwi a fuoch, pan yn blant, yn pysgotta. A fyddech chwi yn arfer dangos y bâch i'r pysgodyn? O na. Fe fyddai genych fâch, ond fe fyddai o'r golwg genych, wedi ei guddio yn yr abwyd; a dyna y pysgodyn, wrth gydio yn yr abwyd, wedi llyncu y bâch; a'r creadur oedd y munud o'r blaen yn chwareu yn hoew yn ei elfen ei hunan, yn awr wedi ei ddal, ac yn y fasged. Dyna fel y mae yr hudoliaeth yn gwneyd: dangos yr abwyd a chuddio y bâch, ac felly yn dal ac yn lladd. Dyna ystyr hudo—dangos yr ochr oreu, yr ochr ddymunol. Edrychwch ar y dyn ieuanc yna sydd wedi ymrestru yn filwr. Dyna fo yn myned gyda'r swyddog, y *recruiting officer*, at yr ynad, i gael ei dyngu i mewn. Pa fodd yr hudwyd ef i hyna? Pa fodd? Onid meddwl a wnaeth am y cyflog bychan, y bwrdd cul, y *drill* caled, y ddys-

gyblaeth fanwl, yr ufudd-dod hollol raid iddo roddi, y rhyfel gwaedlyd, yr ymladd ofnadwy, y cleddyf miniog yn trywanu ei gorph ac yn ei archolli yn farwol, y belen danllyd yn hollti ei ben ac yn ei ladd yn y fan, ei gelain yn gorwedd ar y maes yn mhell o'i wlad ei hunan, ac yn cael ei chladdu yno, na chaiff neb o'i berthynasau byth wybod yn mha le y bydd ei fedd,—ac, wrth feddwl am y pethau yna, fe ymrestrodd yn filwr. Meddwl am y pethau yna! pe buasai yn meddwl ond am un o'r rhai yna, prin y buasai byth yn gwneuthur y fath beth. Pa fodd, ynte, y bu? O, fe'i denwyd gan y wisg goch, yr ymddangosiad trwsiadus, yr hyn a dybiai efe yn fywyd segur, rhyw obaith *pension* yn ngweddill ei oes, ac, yn enwedig, gan y rhyddid a addawai iddo ei hunan oddiwrth gynghorion tad, a dagrau mam, a gofal chwiorydd, i gael ei ffordd ei hun mewn rhysedd ac annuwioldeb. Rhywbeth dymunol ar y pryd, yn y bywyd, yn ngolwg y llanc, a'i temtiodd iddo.

Yr un modd, yn gwbl, y mae yr hudoliaeth i bechod yn dylanwadu ar y meddwl. Pa fodd yr hudwyd y dyn hwnw i fyned yn lleidr? Ai meddwl a wnaeth am y gofid a ddygai ar ei rieni, y gwarth a dynai ar ei frodyr a'i chwiorydd, y dinystr a barai ar ei gymeriad ei hunan, y cywilydd a deimlai wrth gael ei ddal, a'i ddodi yn y carchar, a'i ddwyn oddiyno ar ddiwrnod y prawf i sefyll yn y llys barnol, y boen a deimlai wrth weled a chlywed ei hen gyfeillion yn cael eu holi ac yn gorfod dwyn eu tystiolaeth yn ei erbyn, ei bryder yn nghylch y ddedfryd, a'i loes wrth glywed y gair "EUOG," y carchariad a'r llafur caled am ddwy flynedd, y gwaradwydd bellach arno ei hunan tra byddo byw, a'r dylanwad dinystriol a gai hyn oll arno, er ei yru yn mhellach yn yr un cyfeiriad, nes gorphen ei yrfa druenus yn y *penal servitude*, a'r gydwybod erbyn hyny wedi

deffro, ac yn dechreu cnoi yn ddychrynllyd, ac yn sicrhau iddo drueni mwy ofnadwy fyth yn y byd a ddaw? Ac wrth feddwl am y pethau yna fe aeth yn lleidr? Och, nage! ni feddyliodd yr adyn ddim am y pethau yna onide fe'i cadwesid rhag y fath lwybrau. Nid oedd yn meddwl am ddim ond y cyfleusdra manteisiol oedd yn ei ymyl i gyrhaedd yn ddidrafferth, ac mewn amser byr, yr hyn nas gallai trwy lafur cyffredin ei gyrhaedd am faith flynyddoedd, nac, fe allai, byth, a mwynhau felly yn hawdd ryw bleser presennol, nas gallai, yn ol yr hudoliaeth ei sicrhau unrhyw ffordd arall. Y canlyniad fu, fe aeth yn lleidr.

Pa fodd y syrthiodd y gwr ieuanc yna yn ysglyfaeth i aflendid? Ai meddwl a wnaeth am yr "archoll a'r gwarth" a'r cywilydd ni ddileir? Ai cofio am y "saeth yn dryllio yr afu," a'r "ochain wedi i'r cnawd a'r corph gurio," ac mai "ffordd i uffern yw tŷ" y butain, "yn disgyn i ystafelloedd angeu"? (Diar. vii. 27). O, nage! cymmeryd ei droi a wnaeth "â'i haml eiriau teg," a'i gymmell â "gweiniaith ei gwefusau;" ac, yna, druan, "efe a'i canlynodd hi ar frys, fel yr ŷch yn myned i'r lladdfa, . . . fel yr aderyn yn prysuro i'r fagl, heb wybod ei bod yn erbyn ei einoes ef" (Diar. vii. 21—23). Efe a edrychodd yn unig ar yr hyn oedd swynol yn y pechod, ac felly a syrthiodd yn ysglyfaeth iddo.

Pa fodd yr aeth y llall yn feddwyn? Ai cofio a meddwl a wnaeth am y gwae, yr ochain, am y cynnen, am y dadwrdd, am y gweliau heb achos, am y llygaid cochion, am y brathu fel sarph a'r pigo fel neidr, am y canlyniadau ofnadwy i'r pechod? O nage; nid oedd yr un o'r pethau yna yn ei feddwl. Y cwbl a welai oedd difyrwch y gyfeddach, y cymdeithion llawen, y teimladau hyfryd, annghofio pob gofid; mwyniant y pechod yn unig oedd ger bron ei feddwl, gan daflu o'r ystyr-

iaeth bob peth arall a berthynai iddo. Ac felly y mae gyda'r demtasiwn i bob pechod. A chan mai mwyniant pechod yn unig a ddangosir gan yr hudoliaeth, chwi a welwch yr anmhosibilrwydd i neb gellwair â hi, heb syrthio yn ysglyfaeth iddi. "A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?"

V. Mae dyn, trwy gellwair â'r hudoliaeth, yn gwanhau ei nerth moesol yn erbyn y pechod, ac, yn raddol, yn myned mor eiddil fel nas gall ei wrthsefyll.

Y mae hyn yn hollol amlwg. Fel y dangosasom eisoes, nid ydyw cellwair â'r hudoliaeth yn ddim amgen nag ymestyniad y galon at y pechod, ac felly y mae ynddo ei hunan yn bechadurus, yn anafu y teimlad moesol, ac, o'r dechreuad, yn tueddu i'w wanhau a'i ddinystrio. Ac wrth gellwair â'r hudoliaeth, y mae y chwant at y pechod yn cynnyddu, gogwydd y meddwl ato yn myned yn gryfach, yr ystyriaeth o'r drwg sydd ynddo yn colli, ei fwyniant yn ymddangos yn fwy dymunol, hoffder y galon o hono yn ddyfeisgar i lunio esgusodion ymddangosiadus drosto, nes y mae yr hudoliaeth o'r diwedd yn cymmeryd mantais ar, ac yn ymuno â, chwant y galon i wneuthur y truan yn ysglyfaeth iddi ei hun. Nid yw yr hudoliaeth, ar y cyntaf—pa un bynnag ai oddiwrth yr un drwg, ai oddiwrth ddynion drwg, ai oddiwrth yr amgylchiadau neillduol y caffo dyn ei hunan ynddynt—ond yn awgrymu y pechod iddo, gan ei gyflwyno ger bron ei feddwl; can belled â hyny, nid ydyw y dyn yn gyfrifol am dani, nid ydyw yn bechod arno. Ond pan byddo yn hoffi yr awgrymiad, yn caniatau lle iddo yn ei feddwl, ac yn ymhyfrydu yn y ddelwedd halogedig sydd ger bron ei ddychymyg, dyna fo yn dechreu cellwair â'r demtasiwn, a dyna y nerth moesol yn dechreu cael ei wanhau. Y

mae y naill feddwl halogedig, trwy ei goledd, yn gwahodd un arall, a hwnw un arall, ac felly drachefn a thrachefn, nes aflaneiddio yr enaid yn hollol, a pheri nad yw y dyn yn gallu gweled ond defnyddiau aflendid yn mhob peth. Y mae yr ysbryd aflan, pan y mae yn cael y meddwl yn wâg, a digon o le ynddo, yn gwahodd saith ysbryd ereill, gwaeth nag ef ei hun, i gartrefu gydag ef yno, ac i'w feddiannu yn llwyr i aflendid. Wedi i'r dyn ymollwng i gellwair unwaith â'r hudoliaeth, a chael rhyw fwyniant yn hyny, y mae arno ei eisiau drachefn a thrachefn, nes yn raddol y mae yn dyfod yn anhebgorol iddo, ac yn rhywbeth y teimla yn hollol annghysurus hebddo. Ond cyfryw ydyw natur y mwyniant, fel, wrth gynnefino âg ef, y mae yn rhaid cael mwy o hono, ac ymroddi yn llwyrach iddo, er cael yr un teimlad hyfryd trwyddo; ac felly y mae chwant yn myned rhagddo mewn grym, ac yn ennill nerth aruthrol yn y meddwl. Eithr nis gall y fath gynnydd gymmeryd lle ond ar draul nerth moesol y meddwl. Wrth fwyta cryfder hwnw, a'i droi yn faeth ac yn nerth iddo ei hunan, y gall ennill unrhyw rym. Ond, ysywaeth, y mae cellwair â phechod yn ysu yni moesol yr enaid. Y mae y gydwybod, o'r diwedd, yn cael ei halogi i'r fath raddau, fel y mae yn caniatau yn ddiwarafun yr hyn unwaith a gondemnid ganddi yn groew ac yn bendant; ac y mae y chwant yn cymmeryd mantais ar bob caniatad felly, a wneir gan y gydwybod, i ennill rhyw ganiatad newydd o'r un natur; nes yn fuan y bydd holl diriogaeth foesol y meddwl wedi ei anrheithio ganddo. Ac felly, o radd i radd, heb yn wybod braidd iddo ei hunan, y mae y dyn yn ei gael ei hunan yn gwbl ddirym i wrthsefyll yr hudoliaeth, ac yn syrthio yn ysglyfaeth i'r pechod. Y mae deddfau naturiol meddwl y creadur yn dyfod yn rym i'w lygredigaeth, ac yn pleidio ac yn

prysuro ei ddinystr. Gan gellwair â'r hudoliaeth, y mae y truan yn cael ei dynu yn mlaen, yn mlaen, yn mlaen, nes ei ddal yn gwbl gaeth ganddi. Dyna fel y mae gyda phob pechod. Edrychwch ar y gwr ieuanc yn myned yn lleidr. Dechreuodd trwy roddi lle yn ei feddwl i'r hudoliaeth i ddefnyddio arno ei hunan yr hyn nad ydoedd yn eiddo iddo, i gymmeryd, dan rith benthyca, arian ei feistr. Aeth rhagddo felly am beth amser, ond gan eu had-dalu yn gyflawn yn ol. Ond y mae tynerwch cydwybod yn raddol yn colli, ac yn ngwyneb rhyw amgylchiad aeth yn ddigon hyf i'w cadw. Cyflawnodd y weithred o ladrata yn llythyrenol. Wedi gwneuthur hyny unwaith, aeth yn fwy eiddil i gyfarfod yr ymosodiad i wneuthur hyny drachefn, ac felly drachefn a thrachefn, nes gorphen ei yrfa yn y lle gwaethaf a chaletaf y cospir lladron ynddo.

Edrychwch ar y llall yn syrthio yn ysglyfaeth i odineb. Dyna yr hudoliaeth yn ymosod ar y meddwl, ac, ysywaeth, yn cael lle ynddo. Ond y mae y meddyliau aflan yn ymsefydlu yn fyfyrdodau anniwair; y mae y myfyrdodau anniwair yn cynnyddu yn ddymuniadau trythyll; y dymuniadau trythyll yn tori allan yn ymddyddanion anllad; a'r ymddyddanion anllad yn terfynu yn buteindra digywilydd. Fel y mae y chwant yn ennill nerth, y mae yn ymhyfhau yn ei honiadau; ni foddlonir mo hono heddyw â'r ymostyngiad a delid iddo ddoe; ac, fel y mae ei allu ef i ymosod yn cynnyddu, y mae gallu moesol y meddwl i'w wrthsefyll yn lleihau, nes o'r diwedd y mae yn gwbl ddirym i hyny.

Edrychwch ar y meddwyn yna. Pa fodd y daeth i'r agwedd yna? Ni anwyd mo hono yn feddwyn. Nid oedd yn arfer meddwi ar laeth ei fam. Yr oedd yn llencyn, fe allai, cyn profi blâs dim meddwol erioed. Ond, rywfodd, trwy ymuno, fe allai, â'r Gymdeithas

Ddarbodus a gynhelid yn y tŷ tafarn, neu rywfodd, dyna fo yn dechreu yfed. Yn fuan, dechreuodd gyrchu yn achlysurol ar adegau ereill, heblaw nosweithiau y Gymdeithas, i'r dafarn; y mae hyny yn raddol yn dyfod yn beth cyson ganddo; y mae yn hoffi y cymdeithion llawen a'r siarad gwâg, yn dechreu hoffi y ddiod, yn teimlo rhyw fwyniant dan ei dylanwad; y mae hwnw yn cynnyddu nes y mae yn dechreu bod yn annghysurus hebddo. Ond y mae natur ei gyfansoddiad, a natur y ddiod, y fath, fel nas gellir cael yr un teimlad cysurus drwyddi heb gynnyddu neu gryfhau y dogn. Nid oedd yr hyn a gynnyrchai y teimlad yna y mis neu ddau cyn hyny, yn ddigon i gynnyrchu teimlad cyffelyb yn awr. Rhaid cael ychwaneg, neu rywbeth cryfach, er sicrhau yr un effeithiau adlonol, fel yr oedd efe yn eu galw; ac, o'r diwedd, yr oedd yn rhaid cael cymmaint, fel, dan ei ddylanwad, y meddwodd. Aeth felly, o radd i radd, heb fwriadu dim o'r fath beth, ac heb feddwl dim am y perygl, ond gan gellwair â'r hudoliaeth, yn ysglyfaeth i'r pechod. Ac yna, aeth rhagddo o feddwdod i feddwdod. Y mae yn awr yn hollol gaeth ganddo. Y mae ei wanc am yr hyn sydd yn gwneyd y fath ddarostyngiad arno yn ofnadwy, ac anniwalladwy: "Pan ddeffrowyf, mi a âf rhagof; mi a'i ceisiaf drachefn" (Diar. xxiii. 35).

Os mynwch weled yr eiddilwch y mae dyn yn dyfod iddo trwy gellwair a'r hudoliaeth, edrychwch ar y rhai a gnoant *opium*, neu a yfant *laudanum*. Dan ddylanwad ychydig ronynau neu ddyferynau i ddechreu, y mae y creadur yn profi gradd o ymwared oddiwrth ryw anhwyledd oedd yn ei flino; y mae yr anhwyledd, pa fodd bynnag, yn dychwelyd eilwaith, ac yntau yn myned at y feddyginiaeth eilwaith, ac felly yn mlaen, y naill dro ar ol y llall. Ond y mae rhyw swyn rhyfeddol yn y teimlad i'r truan sydd dan ei ddylanwad: y mae ei

feddwl mor fywiog, a'i ddychymyg mor ffrwythlawn, fel y mae yn cael mwyniant newydd a dieithr hollol iddo ei hunan, tra y mae cynhyrfiad y dogn yn parhau. Y mae yn cael ei dynu ato eilwaith, a thrachefn, a thrachefn. Ond, tuag at gael yr un teimlad hyfryd trwyddo, y mae yn rhaid cynnyddu y dognedd a gymmerir, y naill dro ar ol y llall, hyd nes o'r diwedd y mae yn dyfod yn gymmaint ag i daflu y cyfansoddiad, tra dan ei effeithiau, i gysgadrwydd hollol, ac i wneuthur y dyn yn gwbl ddiymadferth. Edrychwch ar rai o gewri cryfaf athrylith a dysgeidiaeth—Coleridge a De Quincey —dan ei ddylanwad, wedi eu caethiwo ganddo, fel nad oes ganddynt unrhyw feddiant arnynt eu hunain; a'u galluoedd mawrion, am oriau lawer bob dydd, wedi eu cloi i fyny yn gwbl, fel nas gallent wneuthur un defnydd o honynt. Dacw De Quincey yn dechreu gydag ychydig ddyferynau er cael ymwared oddiwrth boen yn y wyneb oddiwrth y ddannodd. Y mae yn cael yr ymwared, ond yn cael rhyw foddiant hefyd yn y feddyginiaeth ag sydd ar unwaith yn ei ddarostwng iddi. Y mae yr hudoliaeth yn myned yn gryfach, ac yntau yn myned yn wanach i'w gwrthsefyll, fel y mae y dognedd a ddechreuodd, fe ddichon, gydag ugain o ddyferynau, yn cynnyddu i wyth mil o ddyferynau o *laudanum* yn y dydd!* Ac, yn ol tystiolaeth un a gafodd y fantais oreu am flwyddyn gyfan i sylwi ar ei arferion yn nhŷ ei thad, edrychwch arno, ar ol cymmeryd *ounce* o *laudanum* yn y boreu, ac andwyo ei holl nerth am y diwrnod, yn fynych yn gorwedd am oriau ar y *rug* o flaen y tân yn ei ystafell, a'i ben yn gorphwys ar ei lyfr, a'i freichiau wedi eu taflu dros ei ddwyfron, ac yntau wedi ymgolli yn hollol yn yr hûn annaturiol, dan ddylanwad y dogn dinystriol! †

---

* De Quincey's *Works*, Vol. I., p. 193, 194, 234. Edinburgh, 1862.

† Mrs. Gordon's *Memoirs of Prof. Wilson*, Vol. II., p. 158. Edinburgh, 1862

Wedi dechreu cellwair â'r hudoliaeth, aeth yn rhy wan i'w gwrthsefyll, ac o'r diwedd yn gwbl gaeth ganddi. A dyna y ddeddf fawr y mae meddwl dyn dani gyda golwg ar bob pechod.

Ac nid dyna y cwbl, ond y mae cellwair fel yna â'r hudoliaeth yn attal y dyn rhag yr unig foddion y gallai gael nerth trwyddo i fuddugoliaethu ar y pechod. Y mae y Bibl yn myned yn llyfr dieithr, cyfarfodydd crefyddol ac ymddyddanion sanctaidd yn myned yn ddiflas, y weddi ddirgel yn cael ei hesgeuluso yn gwbl, a phob ymarferiad âg addoliad a gwasanaeth Duw yn myned yn faich ac yn boen iddo. A phan, gan hen arferiad, neu er cadw i fyny yr ymddangosiad, y daw at ffurfiau y gwasanaeth, y mae y cellwair â'r hudoliaeth wedi lladd ei ysbryd yn hollol. Os daw i dŷ yr Arglwydd, y mae ei feddwl yn gwammalu ar ol ei chwant; os â, dan ryw ddylanwad, i geisio gweddio, y mae ei gydwybod yn ei gondemnio, fel nad oes grym ynddo i gydio am y fendith; os nesâ at Fwrdd yr Arglwydd nos Sabbath, nid oes "cymun corph" a "chymun gwaed Crist" iddo ef, wedi bod wrth ford y cythreuliaid yn ymhalogi nos Sadwrn. Ac felly y mae ei eiddilwch moesol yn myned ar gynnydd, a'r tebygolrwydd yn myned yn fwy fwy y syrthia yn ysglyfaeth hollol i'r pechod y mae yn cellwair âg ef. "A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?"

VI. Mae dyn trwy gellwair â'r hudoliaeth, yn temtio Ysbryd Duw i dynu ei amddiffyn oddiarno, ac i'w adael iddo ei hunan, ac yn ysglyfaeth i'w fai.

Mae yn amlwg, yn ngwyneb yr Ysgrythyrau sanctaidd, fod Ysbryd yr Arglwydd yn dylanwadu mewn gwahanol ffyrdd er attal dyn rhag pechu. Weithiau y mae yn llywodraethu ei amgylchiadau allanol yn y fath fodd ag

i'w gadw rhag y cyfleusderau i'r pechod y gallo efe fod yn dueddol iddo, fel, er i'r chwant, fe ddichon, fod yn gweithio yn gryf, ac yn gryf iawn, yn ei feddwl, nad ydyw y cyfleusdra i'w foddhau yn ei gyrhaedd. Felly yr oedd Judas Iscariot "ar fedr" bradychu Iesu Grist (Ioan xii. 4), ond âg eisiau "amser cyfaddas i'w fradychu ef" (Matt. xxvi. 16). Brydiau ereill, pan y byddo y cyfleusdra yn fanteisiol, a'r hudoliaeth *oddi allan* yn gref, y mae Ysbryd yr Arglwydd yn dylanwadu ar y meddwl, trwy ryw ystyriaethau, er peri nad yw yr hudoliaeth yn cael un effaith arno; yn hytrach, y mae ei feddwl, ar y pryd, nid yn unig yn annhueddol, ond yn wrthwynebol hollol i'r pechod. "Pa fodd," meddai Joseph, "y gallaf wneuthur y mawr-ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?" (Gen. xxxix. 9). Ac, weithiau, wedi dyfod i ymyl y pechod, y mae y Duw mawr yn cyfryngu yn rhyfedd er ei attal, fel ag y gwnaeth gydag Abimelech, er ei gadw rhag Sarah (Gen. xx. 2—9), a chyda Dafydd, er ei attal rhag tywallt gwaed gwirion (1 Sam. xxv. 13—35). O drugaredd Duw, y mae y fath ymwared yn cael ei rhoddi yn fynych eto. Y mae "gyda'r demtasiwn ddiangfa hefyd" (1 Cor. x. 13). Y mae y gwr ieuanc, yn ngwyneb rhyw hudoliaeth sydd yn ymosod arno yn ddisymmwth, rhyw wynt cryf o'r pydew diwaelod yn peryglu ei chwythu ar unwaith i'r llawr, yn cael gras, yn y fan, i adgofio yr addysgiadau duwiol a gafodd yn moreu ei oes, cynghorion a gweddiau tad a mam, eu pryder presennol o berthynas iddo, y gofid calon a barai iddynt pe clywent am dano yn gŵyro byth o lwybrau rhinwedd, pwysfawrogrwydd a gwerth cymeriad da iddo yn ei gysylltiad â'r byd a'r bywyd hwn, a'r canlyniadau ofnadwy, yn ymestyn i fyd arall, sydd i fywyd digrefydd ac annuwiol; a than ddylanwad rhyw ystyriaethau fel yna, y mae yn gorchfygu yr hudoliaeth yn gwbl, a'i

"enaid yn dianc, fel aderyn o fagl neu law yr adarwr" (Psalm cxxiv. 7; Diar. vi. 5). Ond, pan y byddo dyn yn parhau i chwareu â'r demtasiwn, yn gadael i'w galon redeg yn wastadol yn nghyfeiriad y chwant, yn dechreu ymollwng gyda'i gynhyrfiadau a'i geisiadau cyntaf, y mae yn tristau ac yn digio Ysbryd Duw, ac yn raddol yn ei ddigio yn gymmaint fel y mae yn cilio oddiwrtho, yn tynu ei amddiffyn oddiarno, ac yn caniatau i'r hudoliaeth ymosod yn ei holl nerth arno, ar adeg y byddo y chwant yn gryf, a'r cyfleusderau oddi allan yn hollol fanteisiol. A'r canlyniad ydyw, y mae yn syrthio yn ysglyfaeth i'r hudoliaeth. Edrychwch eto ar Judas. Y mae er's hir amser yn cellwair â'r hudoliaeth. Y mae eisoes yn lleidr, ac yn cymmeryd mantais hyd yn nod ar gyfleusdra ei swydd apostolaidd, ac yn nghymdeithas Iesu Grist, i borthi y chwant oedd yn arglwyddiaethu arno. Y mae, o'r diwedd, yn nerth yr un chwant, oedd erbyn hyn wedi cyrhaedd grym aruthrol yn ei feddwl, yn penderfynu bradychu ei Feistr i'w elynion. Pa hyd y bu yr hudoliaeth i hyny yn ymosod arno, cyn iddo gydsynio â hi, nis gwyddom. Ond dacw y cydsyniad wedi ei gael. Nid oes eisiau dim mwy ond yr "amser cyfaddas." A dyna Ragluniaeth yn rhoddi hwnw; dyna y caniatad rhyfedd yn cael ei gyhoeddi, "Hyn yr wyt yn ei wneuthur, gwna ar frys" (Ioan xiii. 27). O, y mae yn ofnadwy, pan y mae yr hudoliaeth a'r "amser cyfaddas" yn cydgyfarfod! y mae dinystr y dyn yn ymyl; y mae pechod yn gwneyd ysglyfaeth o hono! Edrychwch ar Samson yn cellwair â Dalilah, â'r demtasiwn yn nghylch datguddio ei fawr gryfder. Gan y cryfder hwnw, nid oedd y rhaffau cryfaf y rhwymid ef â hwynt ond fel "edau garth wedi cyffwrdd â'r tân." Eithr, o'r diwedd, ac yntau yn cysgu ar liniau Dalilah, dacw ei wallt yn cael ei dori; dacw ei Nazareaeth i

Dduw Israel yn colli; dacw ei nerth yn ymadaw âg ef. "Y mae y Philistiaid arnat ti, Samson. Af allan y waith hon fel cynt, ac ymysgydwaf. Ond ni wyddai efe fod yr Arglwydd wedi cilio oddiwrtho." A, druan, dacw fo wedi ei ddal, wedi ei rwymo, wedi cael tynu ei lygaid, wedi ei garcharu, yn malu yn y carchardy! (Barn. xvi. 5—21). Eneidiau anwyl, credwch nad oes bosibl cellwair â'r hudoliaeth i bechod heb syrthio yn ysglyfaeth iddo! "A ddichon gwr ddwyn tân yn ei fynwes, heb losgi ei ddillad? A ddichon gwr rodio ar hyd marwor, ac heb losgi ei draed?"

A oes yma rywun wedi "dwyn tân yn y fynwes," ac wedi "llosgi ei ddillad?" wedi ei ddarostwng dan bechod, a syrthio yn ysglyfaeth iddo? Bendigedig a fyddo Duw! nid yw dy gyflwr eto yn hollol anobeithiol. Y mae genym, yn yr Efengyl, Un sydd "yn derbyn pechaduriaid"; ac "y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef" (Eph. i. 7); ac y mae rhinwedd digonol, heno, yn ei waed ef, i dy lanhau dithau oddiwrth bob pechod. Os ydyw y tân yn cyneu, nid tân uffern ydyw eto; a thra ar y ddaear, er maint dy euogrwydd, er maint dy aflendid, er maint dy drueni, yr wyt ti yn nghyraedd darpariaeth â digon ynddi i symmud dy anwiredd oddiarnat, darostwng dy anwiredd ynot, a'th adnewyddu trwy ras i burdeb dihalog y Duwdod ei hun. Ond gwylia, er mwyn dy enaid anfarwol, oedi un munud yn hŵy gan gellwair â phechod, rhag i Ysbryd y Duw byw gilio oddiwrthyt, a dy adael am byth yn anrhaith i'th chwant.

Dyma fi yn terfynu. Cymmerwch y rhybudd. Peidiwch gadael hyn o gynghor yn yr eisteddleoedd yna. Ewch ag o adref gyda chwi. Meddyliwch yn ddifrifol am dano ar ol hyn. Ac er cymmaint o werth ag sydd mewn bod yn rhydd byth oddiwrth yr hyn sydd yn "hela yr enaid gwerthfawr," peidiwch chwareu âg un demtasiwn iddo.

# PREGETH XXIII.*

## TREFN GRAS YN WRTHWYNEBOL I BECHOD.

RHUFEINIAID vi. 1, 2.

"*Beth wrth hynny a ddywedwn ni? a drigwn ni yn wastad mewn pechod, fel yr amlhâo gras? Na atto Duw. A ninnau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn byw etto ynddo ef?*"

Y mae yn amlwg fod grym atebiad yr Apostol i'r wrthddadl yn dybynu ar yr ystyr a roddir i'r ymadrodd "marw i bechod." Fe ellir ei gymmeryd mewn ystyr bersonol, dufewnol, brofiadol, yn arwyddo *darfod â, bod heb ddim tuedd at, ymwrthod yn hollol â* phechod. Felly y mae yn cael ei ddeall gan nifer mawr o esbonwyr, ac nid oes un amheuaeth na oddef y geiriau, ac edrych arnynt wrthynt eu hunain, yr ystyr yna, os nad dyna yr ystyr gyntaf fe allai a roddid yn naturiol iddynt.

Ond y mae amryw bethau yn milwrio yn erbyn y golygiad yna fel yr un cywir ar feddwl yr ymadrodd yn y lle hwn.

1. Nid yw mewn un modd yn atebiad priodol i'r wrthddadl. Oblegyd ni byddai, mewn ystyr, ond dywedyd,—"A ninau wedi ymwrthod â phechod, pa fodd yr ymroddwn eto iddo?" Hawdd y gallasai y gwrthddadleuwr ateb,—"Pa sicrwydd sydd na bydd i chwi roddi heibio eich penderfyniad i ymwrthod â phechod a throi i'w wasanaethu mor ffyddlawn ag erioed? ac nid yn erbyn eich penderfyniad chwi y dadleuwn, ond yn erbyn tuedd yr athrawiaeth a ddysgir genych, sydd yn ymddangos fel yn cefnogi y rhai a'i derbyniont i fyw mewn pechod." Mae yr wrthddadl yna yn ddigon, dybygid, i ddangos mai nid "darfod â phechod" ydyw ystyr yr ymadrodd "marw i bechod" yma. 2. Heblaw

* Rhoddir yr amlinelliad hwn o'r Bregeth fel yr ysgrifenwyd ef gan yr Awdwr.

hyny, y mae Crist ei hunan wedi "marw i bechod" (adn. 10) yn y golygiad yn y testyn, ac ni hòna neb ei fod ef wedi marw iddo yn yr ystyr o ddarfod âg ef. 3. Y mae y farwolaeth hon gyda Christ. 4. Marwolaeth ydyw hon yn cyfiawnhau ei deiliaid oddiwrth bechod. 5. Marwolaeth â rhyddhad oddiwrth bechod yn amcan iddi. 6. Marwolaeth sydd yn sicrhau cyfranogiad yn niogelwch bywyd Crist, ac felly yn cyfansoddi y cymhelliad cryfaf i *ddarfod â*, *bod heb ddim tuedd at*, *ymwrthod yn hollol â* phechod. Mae yn amlwg fod yr Apostol yn ystyried fod y "marw i bechod" a olygir yma yn cynnwys rhagorfraint oruchel,—cyflwr, fel yr eiddo Crist ei hunan, sydd yn sicrhau ymwrthodiad hollol â phechod.

Beth ynte ydyw yr ystyr? Er mwyn canfod hyn ni allwn sylwi—

1. Nad ydyw yr Apostol yn defnyddio unrhyw arddodair mewn cysylltiad â'r gair pechod, hyny ydyw yr un gair sydd yn cyfateb i'r "i" yn y cyfieithiad Cymraeg. Yr oedd yr iaith yr ysgrifenai ynddi yn caniatau iddo roddi y sylweddair mewn ffurf neillduol fel ag i roddi ystyr fwy agored neu anmhenodol, fel y gall arwyddo "marw i," "marw trwy," "marw oblegyd," "marw o herwydd," "marw gyda golwg ar bechod,"—yr ystyr i'w benderfynu yn gwbl gan natur yr amgylchiad neu rediad cyffredin yr ymresymiad.

2. Yn awr y mae yr Apostol yma yn cyfarfod gwrthddadl a gyfodid yn erbyn trefn yr Efengyl am gyfiawnhad,—ei bod yn meithrin llygredigaeth neu yn cefnogi drwg-fuchedd,—trwy ddangos mai trefn ydoedd i roddi bywyd trwy farwolaeth y sawl oedd yn ei dderbyn;—eu bod yn marw, oblegyd pechod—nid yn eu personau eu hunain—ond yn eu cynnrychiolwr, yr hwn yr oeddent yn cael eu cyfiawnhau drwyddo, ac yn ganlynol fod y fath gymhelliad arnynt i sancteiddrwydd fel nad oedd

modd iddynt fyw mewn pechod. Marw yn gyfreithiol, yn ddirpwyol, ydyw yr ystyr, a hyny yn sicrhau bywyd sanctaidd.

A deall y geiriau felly, y maent yn cyflwyno ger ein bron ddau beth y dymunwn eich sylw atynt.

I. Fod rhyw neillduolrwydd yn nhrefn yr Efengyl am gyfiawnhad pechaduriaid ag sydd yn achlysur i rai dybied ei bod yn cefnogi llygredigaeth: "A drigwn ni yn wastad mewn pechod fel yr amlhâo gras?"

Edrychwn ar y drefn hon fel y mae wedi cael ei gosod o'n blaen gan yr Apostol yn y rhan flaenorol o'r Epistol.

1. Y mae yn gyfiawnhad yn hollol yn haeddiant un arall, heb fod dim o'i achos na'i ddefnydd yn ngweithredoedd goreu y pechadur ei hunan, "trwy ufudd-dod un"; "y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu";— "cyfiawnhau yr annuwiol"; "heb weithredoedd."

2. Y mae yn gyfiawnhad ar delerau mor isel fel nas gall y pechadur gael dim ynddynt i ymffrostio ynddo: "trwy ffydd."

3. Y mae yn gyfiawnhad tragywyddol fel ag y mae y pechadur trwy ffydd byth yn ddiogel: "Yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw." "Mwy ynte o lawer, a nyni yn awr wedi ein cyfiawnhau trwy ei waed ef, y'n hachubir rhag digofaint trwyddo ef." "Mwy o lawer wedi ein heddychu y'n hachubir trwy ei fywyd ef."

4. Y mae yn gyfiawnhad yn ol trefn ag y mae y Barnwr yn cael ei anrhydeddu ynddi yn ol graddau ysgelerder ac euogrwydd y sawl a'i derbynio: "Lle'r amlhäodd y pechod, y rhagor amlhäodd gras."

II. Fod y drefn hono, o'i hiawn ystyr, yn cau allan yn gwbl bob sail i'r cyfryw dybiaeth: "Na atto Duw. A ninau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn byw eto ynddo ef?"

Er gosod hyn allan, sylwer ar y gosodiadau canlynol

yn y rhai yr amcenir corphori ysbryd ymresymiad yr Apostol yn y bennod hon :—

1. Mai bendith ydyw cyfiawnhad sydd yn dyfod yn eiddo i bechadur yn unig trwy undeb ffydd â Iesu Grist: "Oni wyddoch chwi am gynnifer o honom ag a fedyddiwyd i Grist Iesu," &c. "Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth."

Y mae yn amlwg fod y gair bedyddio yn cael ei ddefnyddio weithiau yn yr Ysgrythyrau mewn ystyr ysbrydol, —fel ag y mae y geiriau enwaedu, puro, glanhau.

"O herwydd trwy un Ysbryd y bedyddiwyd ni oll yn un corph." 1 Cor. xii. 13.

"Canys cynnifer o honoch ag a fedyddiwyd yn Nghrist, a wisgasoch Grist." Gal. iii. 27.

Ac y mae yn amlwg iawn fod "bedyddio yn Nghrist," neu fel y dylid darllen "i Grist Iesu," yma yn golygu, nid yr arwydd a weinyddir yn y bedydd, megis ordinhad, ond yn hytrach yr hyn a dybir yn ngweinyddiad yr arwydd hwnw, a'r hyn a osodir allan yn ddarluniadol ynddo.

2. Y mae holl werth undeb ffydd er cyfiawnhad yn cyfodi oddiar undeb cyfammod a chynnrychioliad rhwng Crist a'i bobl yn ei ddioddefiadau a'i angeu, "croeshoeliwyd ein hen ddyn ni gydag ef."

3. Cynnwysiad cyfiawnhad yr Efengyl ydyw fod haeddiant marwolaeth Crist yn cael ei roddi yn mhlaid y pechadur er diogelwch tragywyddol iddo. "Canys y mae yr hwn a fu farw wedi ei ryddhau oddiwrth bechod. Ac os buom feirw gyda Christ, yr ydym ni yn credu y byddwn fyw hefyd gydag ef. Gan wybod nad yw Crist, yr hwn a gyfodwyd oddiwrth y meirw yn marw mwyach; nad arglwyddiaetha marwolaeth arno mwyach. Canys fel y bu efe farw, efe a fu farw unwaith i bechod: ac fel y mae yn byw, byw y mae i Dduw."

4. Amcan uniongyrchol y farwolaeth hon ydyw dinystrio llywodraeth pechod yn nghalonau a bucheddau ei deiliaid: "Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy fedydd i farwolaeth; fel megis ag y cyfodwyd Crist o feirw trwy ogoniant y Tad, felly y rhodiom ninau hefyd mewn newydd-deb buchedd. Canys os gwnaed ni yn gyd-blanhigion i gyffelybiaeth ei farwolaeth ef, felly y byddwn i gyffelybiaeth ei adgyfodiad ef: gan wybod hyn, ddarfod croesholio ein hen ddyn ni gydag ef, er mwyn dirymu corph pechod, fel rhagllaw na wasanaethom bechod."

5. Y mae y diogelwch y dygir y pechadur iddo trwy yr undeb hwn yn y drefn hon y fath ag sydd yn cyfansoddi y cymhelliad cryfaf i ymwrthodiad hollol â phechod ac ymgysegriad i sancteiddrwydd: "Felly chwithau hefyd, cyfrifwch eich hunain yn feirw mewn cyflwr o farwolaeth i bechod; eithr yn fyw i Dduw yn Nghrist Iesu ein Harglwydd. Na theyrnased pechod, gan hyny, yn eich corph marwol, i ufuddhau o honoch iddo yn ei chwantau. Ac na roddwch eich aelodau yn arfau annghyfiawnder i bechod: eithr rhoddwch eich hunain i Dduw, megis rhai o feirw yn fyw, a'ch aelodau yn arfau cyfiawnder i Dduw."

Mae y farwolaeth hon oblegyd bechod yn rhyddhau ei deiliaid oddiwrth allu condemniol pechod: "Y mae yr hwn a fu farw wedi ei ryddhau oddiwrth bechod," "wedi ei gyfiawnhau"; nid oes gan bechod ddim hawl arno, dim gafael ynddo; nis gall ei gondemnio na llywodraethu arno.

Mae y dyn, trwy yr undeb hwn â Christ, yn cael ei godi i'r un berthynas gyfreithiol â phechod a Christ Iesu ei hunan.

Mae yr undeb hwn â Christ yn undeb trwyadl, yn cymmeryd i mewn ddyben ei fywyd ef wedi ei adgyfodiad yn gystal a haeddiant ei angeu.

# PREGETH XXIV.*

## LLEFARU MEGIS GEIRIAU DUW.

### 1 PETR iv. 11.

"*Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw.*"

Mae y geiriau hyn, yn amlwg, yn eu cysylltiad â'r cyd-destyn, yn cael eu dwyn i mewn fel rhan o'r cyfarwyddyd a roddir yma gan yr Apostol i'r rhai a annerchir ganddo, pa fodd i arddangos y cariad hwnw at eu gilydd, a gymhellasid ganddo arnynt yn y geiriau blaenorol fel peth hanfodol er parotoad i gyfarfod y "diwedd," a olygid ganddo yn brysur yn nesâu. Wedi eu hannog, yn gyntaf, i ddangos y cariad hwnw trwy fod yn barod i

*Traddodwyd y Bregeth hon yn Nghymdeithasfa Bangor, Medi 6ed, 1871, fel Cynghor ar Ordeiniad tri-ar-ddeg o Weinidogion,—sef, o Sir Ddinbych, Mr. R. Hughes, Dyserth; o Gyfarfod Misol Sir Drefaldwyn, Mr. D. Williams, Machynlleth; o Fôn, Mri. W. Jones, Hermon; O. Owens, Elim; J. Williams, Amlwch; a Richard Williams, Llangwyllog; o Orllewin Meirionydd, Mr. Elias Jones, Maentwrog; o Ddwyrain Meirionydd, Mr. John Evans, Glynceiriog; o Leyn, Mri. John Evans, B.A., Dinas; William R. Jones, Ty Mawr; a Robert Roberts, Tydweiliog; o Henaduriaeth Trefaldwyn, Mri. J. H. Griffith, M.A., Berriew; a David Jones, Tabernacl.

Cyn cymmeryd ei destyn, cyfarchodd y Pregethwr y brodyr a neillduesid, fel y canlyn:—"Anwyl Frodyr,—Yr ydwyf fi yn sefyll yma, yn ol pennodiad y Gymdeithasfa, i draddodi gair o gynghor i chwi ar yr achlysur pwysig presennol. Yr ydych, yn awr, yn ol y drefn arferedig yn ein plith ni, a'r hon a olygir genym ni yn gwbl ysgrythyrol, wedi eich neillduo i'r swydd bwysicaf, ac i'r gwasanaeth anrhydeddusaf, a ymddiriedwyd erioed i ddyn,—i fod yn 'weinidogion i Grist, a goruchwylwyr ar ddirgeledigaethau Duw.' Y mae tymmor eich prawf, yn mhlith eich brodyr, wedi darfod; yr ydych wedi myned trwy bob arholiad o'r eiddynt hwy, a thrwyddynt yn llwyddiannus; ac, yn awr, can belled ag y mae a wnelo dynion â chwi, wedi eich 'gosod yn y weinidogaeth.' Yr ydych yn sefyll, gan hyny, heddyw, ar dir newydd,—tir na buoch arno erioed o'r blaen; y mae holl waith eich swydd yn awr yn agored i chwi; ac yr ydwyf yn gobeithio y canfyddir yn mhob un o honoch gysegredigaeth llwyrach nag erioed iddo; ac y profwch, yn eich ymroddiad iddo rhagllaw, eich gonestrwydd yn y broffes a wnaed genych yma heddyw, a'ch bod o ddifrif yn ymgymmeryd âg ef fel gorchwyl mawr eich oes. O'r amrywiol adnodau a'u cynnygiasant eu hunain i'm meddwl, i'ch cyfarch yn awr oddiwrthynt, yr wyf fi wedi cael fy nhueddu yn bennaf at eiriau a gewch yn 1 Petr iv. 11."

gynnorthwyo eu gilydd yn eu hamgylchiadau allanol, ac yn enwedig yn y llettygarwch ag yr oedd sefyllfa Cristionogion, ar y pryd, yn peri fod y fath bwys ynddo, —y mae yn myned rhagddo i'w cymmell i arddangos yr un cariad, yn yr ymarferiad o'u hamrywiol ddoniau ysbrydol, yn y fath fodd ag a wasanaethai yn oreu er llesâd eu gilydd :—"Pob un, megis y derbyniodd rodd ;" "Rhodd"—dawn — dawn ysbrydol — unrhyw ddawn ysbrydol; "Cyfrenwch â'ch gilydd,"—"Gweinyddwch yr unrhyw i'ch gilydd"—er lles eich gilydd. Cofiwch fod y ddawn wedi ei chyfranu i chwi, nid er eich mwyn eich hunain, yn gymmaint ag er mwyn ereill:—"Gweinyddwch yr unrhyw i'ch gilydd." "Fel daionus oruchwylwyr amryw ras Duw." Cofiwch mai nid eich eiddo eich hunain yw y ddawn, ond eiddo Duw ; dawn Duw ydyw, wedi ei rhoddi yn unig o ras Duw ; nid ydych chwi ond "goruchwylwyr,"—rhai mewn ymddiried tano ef, i'w gweinyddu yn ol ei ewyllys ef, ac i'w amcanion ef, a chyfrifol iddo ef ; ac y mae o'r pwys mwyaf i chwi, yn eich perthynas â'ch gilydd, ac yn eich perthynas â'ch cyfrif fel "goruchwylwyr Duw," eich bod yn rhai "daionus"—yn rhai ffyddlawn, yn rhai yn cyflawni eich goruchwyliaeth yn *rhagorol*, yn ol yr amcan a fwriedid iddi.

Ac yna, yn yr adnod y mae y testyn yn rhan o honi, y mae yn ymddangos i mi ei fod yn myned rhagddo i nodi, yn arbenig, y doniau cysylltiedig â'r ddwy swydd a ordeiniwyd gan y Pen Mawr i fod yn rhai parhaus yn ei eglwys, dan yr oruchwyliaeth efengylaidd :—"Os llefaru a wna neb :"—os y ddawn yma a dderbyniodd un,—y ddawn i lefaru yn gyhoeddus, y ddawn i ddysgu gwirioneddau crefydd yn y gynnulleidfa :—"Llefared megis geiriau Duw":—ystyried ei hunan yn rhwym i lefaru, nid ei eiriau ei hunan, ond y geiriau, "megis

goruchwyliwr Duw," a ymddiriedwyd iddo, ac a roddwyd tan ei ofal i'w llefaru er llesâd ereill. "Megis geiriau Duw"—"Megis *oraclau* Duw." Megis yr atebion uniongyrchol a roddid, neu y credai y bobl a roddid, gan y duwiau, yn eu temlau, i'r rhai a ymofynent â hwynt am gyfarwyddyd.

"Os gweini y mae neb." Y mae yn ymddangos i mi yn sicr, mai nid gan gyfeirio at *unrhyw* wasanaeth, neu *bob math* o wasanaeth, yn ystyr gyffredin y gair, y mae yr Apostol yn defnyddio y gair "gweini" yma: yn gymmaint a bod gwasanaeth felly yn cael ei dybied yn y "llefaru," a nodasid ganddo eisoes; ac, yn wir, wedi ei osod i lawr yn bendant ganddo yn yr annogaeth gyffredinol—"Cyfrenwch â'ch gilydd"—"Gweinyddwch yr unrhyw i'ch gilydd,"—lle y mae yr un gair yn cael ei arfer ag a ddefnyddir yma. Ond y mae y gair, yn y lle hwn, yn cael ei ddefnyddio yn ei ystyr eglwysig neillduol, gan gyfeirio at waith swydd y *diaconiaid*:—"Os gweini y mae neb"—"Os cyflawni gwaith *diacon* y mae neb";—yn llythyrenol, "Os *diaconeiddio* y mae neb":—"Gwnaed megis o'r gallu y mae Duw yn ei roddi":—Gweinydded, diaconeiddied, cyflawned waith ei swydd, "megis o'r gallu," o'r trysor, o'r hyn sydd dan ei law, at ba beth bynnag a berthyn i'w swydd: "y gallu y mae Duw yn ei roddi":—y mae Duw yn ei gyflenwi âg ef. Fel yr oedd y swyddog, appwyntiedig i hyny, yn cyflenwi pob peth oedd yn angenrheidiol tuag at y cyd-gôr yn y chwareudai yn Athen. Felly cyflawned y diacon waith ei swydd yntau, gan gofio mai goruchwyliwr Duw ydyw,—un wedi derbyn ei ddawn oddiwrtho ef, ac un rhwymedig i'w defnyddio drosto ef er llesâd ereill. "Fel yn mhob peth,"—neu, yn hytrach, "fel yn mhawb o honoch," megis goruchwylwyr drosto a gweinyddwyr iddo, "y gogonedder Duw, trwy

Iesu Grist":—y byddo y llesâd a dderbynier gan ereill trwy eich gwasanaeth, a'ch dull chwithau yn ei gyflawni, y fath ag i'w harwain yn naturiol i ogoneddu Duw trwy Iesu Grist. "I'r hwn"—Duw—"y byddo y gogoniant, a'r gallu, yn oes oesoedd. Amen."

Fe ganiatai yr adnod, gan hyny, yn dra naturiol, i ni wneuthur y cyfarchiad yn gyffredinol at yr holl swyddogion eglwysig sydd yma yn bresennol, diaconiaid yn gystal a gweinidogion; ond â chwi y mae a wnelwyf yn uniongyrchol ar hyn o bryd; ac felly ni a'n cyfyngwn ein hunain at y rhan gyntaf o honi:—"Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw."

Fel ag y dywedais, yr ydwyf fi yn golygu y "llefaru" yma yn cyfeirio at lefaru yn gynnulleidfäol neu yn gyhoeddus, ac, yn enwedig at bregethu yr Efengyl. Ac mi a ddymunwn i chwi gofio mai dyma eich gwaith mawr chwi. Yr ydych yn arbenig, megis gweinidogion Crist, i sefyll ger bron y byd, fel pregethwyr yr Efengyl. Yn y dyddiau hyn, pan y mae cymmaint o sylw—a sylw mor angenrheidiol—yn cael ei dalu i ryw ranau ereill o waith ein swydd, nid ydym, fel Cyfundeb, hwyrach, yn gwbl allan o berygl annghofio y peth pwysicaf a berthyn iddi, fel y peth pennaf a phwysicaf; ac, yn y gofal am gael ymweliadau teuluaidd rheolaidd,—a Chyfarfodydd Darllen, a Chyfarfodydd Duwinyddol, a Chyfarfodydd Llenyddol,—a cheisio cadw i fyny i ryw fesur â Llenyddiaeth a Gwyddoniaeth a Gwladweiniaeth yr oes, yr wyf yn ofni fod cryn berygl i ni esgeuluso, neu o leiaf golli yn, yr hyn a ordeiniwyd gan yr Anfeidrol ei hunan fel y prif foddion er dwyn oddiamgylch iachawdwriaeth y byd, a'r hyn a fendithiwyd mor arbenig yn ein gwlad ein hunain, er adnewyddiad ar ei gwedd grefyddol.

Mae yn gwbl angenrheidiol i ni dalu sylw neillduol i hyn. Mae pobl i'w cael yn ein gwlad sydd yn edrych

yn isel ar, ac yn llefaru braidd yn ddirmygus am, bregethu. Er ys blynyddoedd, yn Lloegr, y mae llawer yn siarad ac yn ysgrifenu fod oes y pulpud wedi darfod, ac y rhaid iddo bellach roddi lle i'r wasg. Y mae un blaid eglwysig, o ddylanwad mawr, yn dadleu mai "y sacramentau, nid pregethu, ydynt ffynnonau gras Dwyfol";* ac mai "Hanfod athrawiaeth sectaidd ydyw ystyried ffydd, ac nid y sacramentau, fel offeryn priodol cyfiawnhad a doniau ereill yr Efengyl."† Dyna fel yr ysgrifenai Newman tra eto yn Eglwys Loegr; a dyna syniadau y blaid y perthynai efe iddi, yn yr eglwys hono, hyd y dydd hwn. Yn ganlynol, y mae pwys mawr yn cael ei roddi gan lawer o honynt hwy ar ddefodau gwâg ac ynfyd, nad ydyw y Testament Newydd yn gwybod dim yn eu cylch—defodau sydd yn gwneuthur yr hyn sydd yn proffesu bod yn wasanaeth dwyfol, ac yn hòni bod yr unig wasanaeth dwyfol yn y plwyf, yn debycach i ystranciau y chwareudy nag i addoliad y Goruchaf.

Y mae ereill, sydd heb fyned yn llawn mor bell i dir defodaeth, yn gosod y pwys i gyd, braidd, ar y gweddiau a'r canu, ac yn gwthio y bregeth braidd o'r golwg; yn hòni fod ychydig funudau yn llawn ddigon iddi hi; ac yn dadleu fod addysg grefyddol y wlad i'w gweini yn yr ysgolion dyddiol, a thrwy ymweliadau teuluaidd o dŷ i dŷ, ac ymddyddanion personol ac uniongyrchol â'r bobl, gan ddylanwadu felly arnynt i beri iddynt ddychwelyd i'w hen gorlan, a pheidio cymmeryd eu twyllo yn hŵy gan au-fugeiliaid a gau-athrawon.

Yn awr, ni fynwn i er dim gymmaint ag awgrymu un gair, y gellid cymmeryd achlysur oddiwrtho, i leihau dim ar y parch a ddylem dalu i ranau defosiynol ein haddoliad, neu roddi lle i neb dybied ein bod yn edrych

* *Tracts for the Times.* Vol. I. Advertisement, page iv.
† *Ibid.* Vol. II. Advertisement, page vi.

yn isel ar ymddyddanion personol â'r bobl. Yn hytrach, yr wyf yn ofni ein bod wedi bod yn rhy esgeulus yn y naill a'r llall. Yr wyf yn ofni nad ydym wedi bod, mewn blynyddoedd a aethant heibio, a dichon nad ydym eto, mewn rhai manau, mor ofalus ag y byddai yn ddymunol am ranau uniongyrchol addoliad yn ein gwasanaeth cyhoeddus; nad ydyw y lle a ddylasid wedi cael ei roddi genym i *ddarlleniad* yr Ysgrythyrau sanctaidd; ac nad oes digon o ofal wedi cael ei gymmeryd am iddynt gael eu darllen yn y modd mwyaf manteisiol i ddwyn y gynnulleidfa yn gydnabyddus â'u hystyr, ac i deimlo oddiwrth bwysfawrogrwydd eu cynnwysiad; a dichon nad ydyw y weddi, bob amser, wedi dianc rhag cael ei darostwng i wasanaethu y bregeth, a bod yn unig yn rhywbeth rhagarweiniol iddi hi. A chyda golwg ar ymweliadau o dŷ i dŷ, y mae yn ddiammeu yn ddyledus arnom ymdrechu tuag at sicrhau cymmaint ag a fyddo yn bosibl o gymundeb uniongyrchol â'n holl wrandawyr, fel ag i'w rhybuddio yn bersonol gyda golwg ar eu hachos mawr, ac ymddyddan â hwynt law-law, am "y pethau a berthynant i'w heddwch." Ond, wedi y cwbl, y moddion arbenig, yn ol ordeiniad y Duw mawr ei hunan, i ledaenu crefydd yn y byd—i ddychwelyd pechaduriaid i'r ffydd, ac adeiladu y saint yn y ffydd—ydyw y pregethiad cyhoeddus o'r Efengyl; "Fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu" (1 Cor. i. 21). A dyma y moddion, uwchlaw pob peth, a fu yn offerynol i gyfodi Methodistiaeth yn Nghymru. *Ni a gawsom bregethu na chafodd y byd erioed ei well.* Ac, os collwn ni yn hyn, yr ydym yn sicr o golli yn ein gafael ar y wlad, pa ymdrech bynnag a gymmerer genym trwy lwybrau ereill i'w sicrhau. Ni wna addoldai mawrion a theg; ni wna canu celfydd a chywrain a soniarus; ni wna yr athrofeydd goreu; ni wna pregeth-

wyr dysgedig a graddoledig; ni wna unrhyw ffurf fugeiliol, hyd yn nod pe byddai yn gyffredinol;—ni thycia dim i ni er cadw ein dylanwad ar y genedl, os unwaith y syrthia y pulpud yn ein plith yn isel ac eiddil ac aneffeithiol. Ac fe fyddai yn dda iawn genyf allu dywedyd gair yma heddyw, a fyddai yn foddion i gyffroi eich meddwl chwi i benderfyniad difrifol, yn ngŵydd yr Anfeidrol, i wneuthur eich goreu nad elo felly byth. Cyfarwyddyd y testyn gyda golwg ar hyn, ydyw,—"Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw." Ac y mae hyn yn cynnwys tri pheth y dymunwn gael eich sylw atynt yn bresennol:—

I. Fod cynnwysiad y lleferydd yn gyson â, ac wedi ei godi o, "eiriau Duw."

Megis gweinidogion Duw, ac wedi eich anfon ganddo ef i'r gwaith mawr a ymddiriedwyd i chwi, yr ydych i gyflwyno ger bron y byd yr hyn a orchymynodd efe i chwi:—ei feddwl ef;—a'i feddwl ef, cofiwch, gyda golwg ar yr hyn, yn arbenig, y mae a wneloch chwi yn eich swydd âg ef. Y mae y meddwl hwnw wedi ei ddatguddio i ni yn "ngeiriau Duw." Dyna ydyw yr Ysgrythyrau sanctaidd—datguddiad o feddwl ac ewyllys Duw gyda golwg ar iachawdwriaeth pechaduriaid. "Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi trwy ysbrydoliaeth Duw; ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder: fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda" (2 Tim. iii. 16, 17). Ac y mae yr Ysgrythyrau sanctaidd yn "eiriau Duw" mewn ystyr arbenig. Nid cynnyrch naturiol meddwl yr Anfeidrol, os gallaf lefaru felly, ydynt; nid geiriau y naill Berson tragywyddol ar wahan oddiwrth y Personau Dwyfol ereill;—ond ffrwyth ymgynghoriad, ac ymgyfammodiad y Drindod Sanctaidd â'u gilydd, gyda golwg ar iachawdwriaeth pech-

aduriaid. Yn y cyfammod hwnw, fe'u hymddiriedwyd i'r Mab, fel y Gair tragywyddol, megis Prophwyd mawr, i'w datguddio a'i dysgu i'r byd; a chanddo yntau i'r Ysbryd tragywyddol megis Ysbryd Crist, i'w hegluro a'u cymhwyso at galonau pechaduriaid. Yn ganlynol, nid oedd yr Arglwydd Iesu Grist ei hunan, fel Prophwyd, yn llefaru ei eiriau ei hunan, ond yr hyn a ymddiriedasid iddo:—"Fy nysgeidiaeth," meddai, "nid eiddof fi ydyw, eithr eiddo yr hwn a'm hanfonodd i. Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru" (Ioan vii. 16, 17);—"Yr wyf fi yn llefaru yr hyn a welais gyda'm Tad i" (Ioan viii. 38);—"Canys myfi ni leferais o honof fy hun; ond y Tad yr hwn a'm hanfonodd i, efe a roddes orchymyn i mi, beth a ddywedwn, a pha beth a lefarwn. Ac mi a wn fod ei orchymyn ef yn fywyd tragywyddol: am hyny y pethau yr wyf fi yn eu llefaru, fel y dywedodd y Tad wrthyf, felly yr wyf yn llefaru" (Ioan xii. 49, 50):—"Y geiriau yr wyf fi yn eu llefaru wrthych, nid o honof fy hun yr wyf yn eu llefaru; ond y Tad yr hwn sydd yn aros ynof, efe sydd yn gwneuthur y gweithredoedd." "Yr hwn nid yw yn fy ngharu i, nid yw yn cadw fy ngeiriau: a'r gair yr ydych yn ei glywed, nid eiddof fi ydyw, ond eiddo y Tad a'm hanfonodd i" (Ioan xiv. 10, 24);—"Canys y geiriau a roddaist i mi, a roddais iddynt hwy; a hwy a'u derbyniasant." "Myfi a roddais iddynt hwy dy air di" (Ioan xvii. 8, 14).

Yr un modd, y mae lleferydd yr Ysbryd yn cael ei osod allan, nid fel ei leferydd ei hunan, ond yn unol â'r Tad a'r Mab:—"Ond pan ddêl efe, sef Ysbryd y gwirionedd, efe a'ch tywys chwi i bob gwirionedd: canys ni lefara o hono ei hun; ond pa bethau bynnag a glywo a lefara efe: a'r pethau sydd i ddyfod a fynega efe i chwi

Efe a'm gogonedda i: canys efe a gymmer o'r eiddof, ac a'i mynega i chwi. Yr holl bethau sydd eiddo y Tad ydynt eiddof fi: o herwydd hyn y dywedais, mai o'r eiddof fi y cymmer, ac y mynega i chwi" (Ioan xvi. 13, 14, 15). Ystyr hyn oll, dybygid, ydyw, fod y datguddiad a roddir i ni yn yr Efengyl, fel y drefn ei hunan am iachawdwriaeth pechaduiaid a osodir allan ynddo, yn ffrwyth rhyw gyd-ymgynghoriad rhyfedd, ac anamgyffredadwy i ni, o eiddo y Personau Dwyfol â'u gilydd, sydd yn gwneuthur y cwbl mewn rhyw wedd neillduol annghyffredin yn "eiriau Duw."

Yn awr, "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw." Y geiriau hyn a ddylent fod cynnwysiad eich lleferydd. Nid ydych, fel gweinidogion Duw, i lefaru ond "geiriau Duw." Nid eich meddyliau eich hunain, ond "meddwl Crist." Wedi "ymddiried" i chwi "am ymadroddion Duw," eich dyledswydd arbenig ydyw bod yn ffyddlawn i'r ymddiried hwnw. Yr ydym yn gwybod, ysywaeth! fod "ymadawiad" dirfawr oddiwrth hyn wedi cymmeryd lle yn mhlith llawer o'r rhai a elwir, ac a hònant eu bod, yn weinidogion Duw. Y mae un dosbarth yn siarad am eiriau yr "eglwys," a "gwrandewch ar yr eglwys"; ac yn dysgu, gyda hòniad o anffaeledigaeth, fel gwirioneddau dwyfol, athrawiaethau nad oes hanner sill o sail iddynt yn "ngeiriau Duw," a chwbl groes i ystyr amlwg a diammwys eu tystiolaethau mwyaf pendant.

Y mae dosbarth arall yn gwrthod pob peth goruwchnaturiol a gwyrthiol, ac, yn wir, yn gwadu fod yn yr Ysgrythyrau ddim ag y gellir ei olygu yn ddatguddiad dwyfol; yn hòni nad yw y gwirioneddau a ddysgir ynddynt ond cynnyrch sylw eu hysgrifenwyr ar eu teimladau crefyddol eu hunain, wedi eu cyffroi gan yr amgylchiadau neillduol yr oeddent hwy ynddynt, ac felly nad oes unrhyw

awdurdod yn perthyn iddynt ar ffydd ereill, ond yn unig can belled ag y cymmeradwyont eu hunain i'w rheswm a'u cydwybod hwy; y rhai a olygir ganddynt fel unig fesur y gwirionedd a dderbyniont i'w credo, ac a ddysgir ganddynt i ereill.

Y mae dosbarth arall, y dyddiau hyn, tra, dybygid, yn caniatau awdurdod ddwyfol yr Ysgrythyrau, a'u cydnabod fel rheol fawr ffydd, eto, oddiar ryw syniad fod eisiau mwy o eangder ac amrywiaeth yn nysgeidiaeth y pulpud, a'i gyfaddasu yn fwy at ysbryd yr oes, a chan dybied fod y pregethwr i fod yn fath o ddysgawdwr cyffrediniol,—am ddwyn pynciau ereill i mewn i'w gweinidogaeth,—Hanesiaeth, Llenyddiaeth, Gwladweiniaeth, Daeareg, Daearyddiaeth, Seryddiaeth—unrhyw beth—pob peth,—a hyny, nid er eglurhau rhai o wirioneddau mawrion yr Efengyl, ond yn eu lle; ac er mwyn gwneuthur i fyny, trwy y fath gyfoeth o amrywiaeth dyddorol sydd i'w gael ar dir natur, am y tlodi a'r sychder a'r diflasdod, braidd, a deimlir ganddynt hwy, a berthyn i wirioneddau datguddiad, wrth aros gyda hwynt Sabboth ar ol Sabboth!

Ond, anwyl frodyr, yr wyf yn hyderu am danoch chwi, y cedwir chwi byth rhag ymollwng gyda pha demtasiwn bynnag a all ymosod arnoch, i ddwyn dim i'ch gweinidogaeth ond sydd yn perthyn i Efengyl Crist. Eich awdurdodiad ydyw,—"Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr Efengyl i bob creadur" (Marc xvi. 15). "Pregetha'r gair" (2 Tim. iv. 2). Eich gwaith yw,—"Mynegi holl gynghor Duw" (Act. xx. 27); "Efengylu anchwiliadwy olud Crist" (Eph. iii. 8). "Megis gweision y Duw Goruchaf," yr ydych i "fynegi ffordd iachawdwriaeth" (Act. xvi. 17). Eich arwyddair fyddo,—"Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith, ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio" (1 Cor. ii. 2). Nid traddodiadau y

tadau; nid llais yr eglwys; nid deddfau Cynghorau a Chymanfäoedd; nid darganfyddiadau rheswm; nid goleuni tufewnol; nid moesoldeb natur; nid gwersi gwyddoniaeth; nid eich dychymygion eich hunain;—ond "geiriau Duw." "Y prophwyd sydd â breuddwyd ganddo, myneged freuddwyd; a'r hwn y mae ganddo fy ngair, llefared fy ngair mewn gwirionedd: beth yw yr ûs wrth y gwenith? medd yr Arglwydd" (Jer. xxiii. 28). "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw."

II. Y mae hyn yn golygu, fod y wedd neu y ffurf neillduol ar y gwirionedd dwyfol yn ein lleferydd, yn cyfateb i'r wedd y cyflwynir ef ger ein bron yn "ngeiriau Duw."

Nid wyf yn gwybod i ba raddau y gallaf lwyddo i osod hyn ger eich bron; ond yr wyf yn teimlo fod pwys mawr yn perthyn iddo er cyflawni yn briodol yr hyn a gymhellir arnom yn y testyn; a bod rhai o'r gwersi gwerthfawrocaf i'w cael, yn y *wedd* y mae "geiriau Duw" yn dysgu gwirioneddau crefydd i ni, yn nghylch y modd goreu a mwyaf effeithiol i ninau, fel pregethwyr, i lefaru "geiriau Duw" i'n gwrandawyr. Ac wrth i ni sylwi ar y wedd y mae y gwirionedd yn cael ei gyflwyno ger ein bron yn "ngeiriau Duw," ni a ganfyddwn ei fod yn cael ei ddysgu,—

1. Gydag awdurdod a hyfdra dwyfol. Y mae yn anmhosibl i'r darllenydd mwyaf arwynebol beidio sylwi ar y nodwedd hwn yn nysgeidiaeth yr Ysgrythyrau. Y mae eu lleferydd yn groew, yn bendant, ac yn awdurdodol. Nid oes yma ddim ammwysedd; dim amheuaeth; dim o bryder yr efrydydd ymchwilgar; dim arwydd o amcan neu awydd celu unrhyw syniad anmhoblogaidd; dim arswyd canlyniadau; dim ymgais i foddio y lliaws; dim ofn digio neb. Duw sydd yma yn llefaru. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd." Y mae y lleferydd yn gyfraith. Y mae awdurdod gorsedd yn ei holl gynnwysiad. Nid

ydyw "geiriau Duw" yn cydnabod hawl dynion i annghrediniaeth ynddynt, nac anufudd-dod iddynt, ond dan boen cospedigaeth gwrthryfel yn erbyn y llywodraeth fawr. "Edifarhewch, a dychwelwch, fel y dilëer eich pechodau" (Act. iii. 19; "Onid edifarhewch, chwi a ddyfethir oll" (Luc xiii. 3). "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi" (Act. xvi. 31); "Oni chredwch chwi mai myfi yw efe, chwi a fyddwch feirw yn eich pechodau" (Ioan viii. 24). "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol; a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wel fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef" (Ioan iii. 36).

Yn awr, "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw." Mae gweinidogion yr Efengyl i gofio mai nid drostynt eu hunain y maent yn llefaru, ond dros Dduw; a bod rhyddid iddynt, ïe, fod yn ddyledswydd arnynt, "fod yn hŷf yn enw yr Arglwydd Iesu" (Act. ix. 29). Mae rhyw rai yn gwneyd hòniadau mawrion o *awawdurdod*,—awdurdod trwy ddynion; eu bod hwy yn yr olyniaeth; fod dwylaw yr esgob wedi bod ar eu pen, a rhyw rinwedd rhyfedd, a dynwyd trwy fudreddi ac aflaneiddiwch Rhufain, wedi treiddio trwy ei fysedd—y fath rinwedd ag i wneyd y creadur anwybodus, anraslawn, ac anfoesol, yn unig weinidog awdurdodedig i Iesu Grist yn y plwyf; ac nad ydyw pawb ereill ond ymyrwyr dihawl ac ansanctaidd â'r hyn na pherthyn iddynt, "canlynwyr Corah, Dathan, ac Abiram";* a phawb a wrandawont arnynt, i'w gadael heb obaith, ond yn unig yn y trugareddau hyny a allont fod y tu allan i gylch y cyfammod.

Yr ydych chwi, o'ch calon, yn dirmygu y fath ymhonwyr. Ond y mae yn bosibl i rywbeth tra thebyg lithro i mewn i'n plith ninau:—rhyw fath o deimlad ac

* *Tracts for the Times*. No. 35, page 3.

arddangosiad o awdurdod, yn cyfodi oddiar y swydd; yn peri i'r creadur ffol, nad ydyw eto ei hunan, fe allai, ond yn ei dymmor prawf gyda golwg arni, edrych i lawr ar ei gynnulleidfa, fel pe byddai bod ei fod ef, trwy ryw gam-gymmeriad dybryd, wedi cael ei gyfodi, ar y pryd, i sefyllfa uwch na phawb ereill yn yr addoldy, a chael siarad y cwbl ei hunan, heb fod gan neb hawl i'w ateb,—wedi ei wneuthur, trwy hyny, yn gallach, yn dduwiolach, ac yn barchedicach na hwynt oll!

Mae rhyw fath o hyfdra gwaeth, hyd yn nod, na hwn:—hyfdra gwarthus a phechadurus; hyfdra cnawdol ac ansanctaidd; yn gyru y pregethwr i gellwair gyda phethau Duw, ac yn tuedddu i beri i'r annuwiol a'r anystyriol gellwair gydag ef; ond i'r crefyddol—y duwiol a'r ysbrydol—gywilyddio o hono a'i ffieiddio.

Ond y mae hyn oll yn dra gwahanol, ïe, yn hollol wrthwynebol i'r hyn y dymunwn i yn awr ei gymmell arnoch chwi,—yr awdurdod a berthyn i "eiriau Duw." Yn nheimlad y pregethwr, y mae hyn yn rhywbeth sydd yn cyfodi oddiar argyhoeddiad dwfn a dwys o wirionedd yr Efengyl, o bwys annhraethol ei chenadwri, ac o'i pherthynas uniongyrchol â bywyd tragywyddol y gwrandawyr. Y mae y teimlad hwn, o'i feithrin gyda chysondeb, ac ymroddiad i lafur meddwl yn ngwirioneddau yr Efengyl, yn sicr o gynnyddu yn "hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu" (1 Tim. iii. 13).

Mae yn bosibl i bregethwr ieuanc,—a hen hefyd, o ran hyny,—yn y gwylder sydd yn gweddu i un gyda gwirioneddau dwyfol, fyned i ryw ffurf o feddwl ac o eirio, ac i ddull o siarad, a fyddont yn tueddu braidd i arwain rhyw rai i dybied nad yw ei ffydd ef ei hunan ynddynt ond arwynebol a gwanaidd iawn. Gall y fath dybiaeth fod yn gwbl ddisail. Ond os unwaith y meddianna feddwl unrhyw wrandawr, gyda golwg ar bregethwr,

odid na bydd ei allu ef i wneyd nemawr ddaioni i hwnw wedi ei golli am byth. Mynwch argyhoeddiadau dyfnion a chryfion, fel y byddo eich lleferydd yn ddiammwys. Nid oes dim a all roddi awdurdod a hyfdra gwirioneddol i ddyn, ond argyhoeddiadau dyfnion a sefydlog; ac nid oes dim a all roddi y fath argyhoeddiadau iddo, yn gystal a phrofiad. "Ond un o'r milwyr a wanodd ei ystlys ef â gwaewffon: ac yn y fan daeth allan waed a dwfr. A'r hwn a'i gwelodd a dystiolaethodd; a gwir yw ei dystiolaeth: ac efe a ŵyr ei fod yn dywedyd gwir, fel y credoch chwi" (Ioan xix. 34, 35). "Yr hyn a glywsom, yr hyn a welsom â'n llygaid, yr hyn a edrychasom arno, ac a deimlodd ein dwylaw am air y bywyd; canys y bywyd a eglurhawyd, ac ni a welsom, ac ydym yn tystiolaethu, ac yn mynegi i chwi y bywyd tragywyddol, yr hwn oedd gyda'r Tad, ac a eglurhawyd i ni: yr hyn a welsom ac a glywsom, yr ydym yn ei fynegi i chwi" (1 Ioan i. 1, 2, 3). "Canys ni allwn ni na ddywedom y pethau a welsom ac a glywsom" (Act. iv. 20). "Canys nid gan ddilyn chwedlau cyfrwys, yr hysbysasom i chwi nerth a dyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist, eithr wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid. Canys efe a dderbyniodd gan Dduw Dad, barch a gogoniant, pan ddaeth y cyfryw lef ato oddiwrth y mawr ragorol ogoniant, Hwn yw fy anwyl Fab i, yn yr hwn y'm boddlonwyd. A'r llef yma, yr hon a ddaeth o'r nef, a glywsom ni, pan oeddym gydag ef yn y mynydd sanctaidd. Ac y mae genym air sicrach y prophwydi; yr hwn da y gwnewch fod yn dal arno, megis ar ganwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll, hyd oni wawrio'r dydd, ac oni chodo'r seren ddydd yn eich calonau chwi" (2 Petr i. 16—19). Y "gweled," y "clywed," y "teimlo" yma, yn ein hysbryd ninau,—mewn profiad dwfn a dwys o ddylanwad y gwirionedd ar ein meddyliau a'n calonau ein hunain,

a roddai i ni argyhoeddiadau cryfion o'i ddwyfoldeb, ac a'n gwnelai yn hyf ac yn awdurdodol, yn nerth yr Ysbryd Glân, yn y cyhoeddiad o hono.

Nid ydyw llefaru fel hyn mewn un modd yn annghydweddol â'r tynerwch ac â'r gostyngeiddrwydd mwyaf. Yn wir, y mae hyny yn hanfodol iddo. Yr oedd yr "addfwyn a'r gostyngedig o galon" ei hunan, yn dysgu "fel un âg awdurdod ganddo." Ac nis gall yr ymwybyddiaeth sydd gan yr hwn y "gosodwyd ynddo air y cymmod," ei fod yn "genad dros Grist"—yn *ambassador*—yn genadwr llys, yn genadwr gorsedd, yn cynnrychioli, ac yn meddu awdurdod oddiwrth y Brenhin tragywyddol,—mewn cysylltiad â'i ymdeimlad o fawr bwys ei genadwri, a chan gofio yn wastadol ei annheilyngdod ei hunan,—nis gall hyn lai na pheri iddo *ymddangos*, a *bod*, mewn taerni a thosturi a thynerwch, "megis pe byddai Duw yn deisyf" trwyddo ar ei wrandawyr,—a pheri iddo "erfyn dros Grist" arnynt, ar iddynt dderbyn y cymmod sydd ganddo i'w gyhoeddi a'i gynnyg iddynt. Ac, yn y taerineb hwn, yn anad dim, y bydd awdurdod Duw ei hunan yn cael ei deimlo yn ei weinidogaeth. "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw."

2. Mae y gwirionedd yn "ngeiriau Duw" yn cael ei gyflwyno yn y neillduolrwydd nodwedd a berthynai i feddyliau yr amrywiol ysgrifenwyr.

Y mae y briodoledd hon eto mor amlwg yn yr Ysgrythyrau, fel nad oes fodd braidd i neb fethu ei chanfod. Er eu hòniad gwastadol o'u hawdurdod ddwyfol, ni cheir ynddynt un amcan i guddio eu teithi dynol; yn hytrach fe geir ynddynt bob amrywiaeth ag sydd bosibl mewn ysgrifeniadau cyffredin. Y mae nodweddau neillduol yr amrywiol awdwyr yn dyfod i'r golwg,—yn netholiad eu pynciau, yn newisiad eu geiriau, yn ffurfiad eu brawddegau; yn y cymhariaethau a ddefnyddir ganddynt;

yn nosbarthiad eu materion; yn nhrefn eu hymdriniaeth. Fe geir ynddynt yr hanesiaeth fwyaf syml, a'r areithyddiaeth fwyaf hyawdl; yr ymresymiad mwyaf manwl, a'r farddoniaeth fwyaf hedegog; y cywreinrwydd mwyaf celfydd, a'r naturioldeb mwyaf gwledig a diaddurn; y symledd tlysaf a'r coethder puraf;—y rhamantus a'r tyner; y prydferth a'r nerthol;—pob amrywiaeth arddull y gallwn braidd feddwl am dano, y mae i'w gael yma mor wirioneddol a hollol, a phe na buasai yr awdwyr ond ysgrifenwyr cyffredin, heb unrhyw ysbrydoliaeth amgen nag ysbrydoliaeth naturiol athrylith.

Yr ydych yn teimlo mawrhydi ac arddunedd Job ac Esaiah; yn cael eich swyno gan dynerwch a thlysni Dafydd; yn arswydo mewn syndod, heb wybod i ba le y cewch eich tynu, gan wylltineb dychymyg Ezeciel; yn barod i wylo dagrau o gydymdeimlad â Jeremïah yn ei ofid a'i alar; ac yn mwynhau iechyd ac yni a hyfrydwch awelon balmaidd mynydd-dir Judea, gydag Amos, yn mysg bugeiliaid Tecöa. Mae Ioan yn ymdreiddio yn naturiol a didrafferth i'r gwirioneddau dwyfol, ac â llygaid eryraidd yn eu canfod, yn eu cartref tragywyddol, yn Mherson y Gair; mae Paul yn eu hymresymu allan, yn eu cysylltiadau prydferth â'u gilydd, a'u perthynas neillduol âg amgylchiad pechadur; ac Iago yn sylwi yn arbenig ar ddylanwad y derbyniad o honynt ar y galon a'r fuchedd. Y mae y gwirionedd yn ngeiriau Duw, yn amlwg yn cael ei gyflwyno ger bron y byd, yn y nodwedd neillduol a berthynai i feddyliau yr amrywiol ysgrifenwyr.

Yn awr, "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw." Yn y cyflawniad o'ch gweinidogaeth, ceisiwch adnabod yn dda eich dawn naturiol eich hunain, a rhoddwch y ffrwyn yn hollol, yn ddirwgnach, ac yn ddiarswyd iddo. Peidiwch byth ag ymgais at unrhyw

ragoriaeth annghydweddol â nodwedd neillduol hwnw. Byddwch fel chwi eich hunain, a pheidiwch a cheisio bod fel neb arall. Y mae cymmaint, o leiaf, o wahaniaeth rhwng meddyliau dynion â'u gilydd, ag sydd rhwng eu cyrph; ac ynfydrwydd hollol i'r naill ymdrechu rhagori yn rhagoriaeth y llall. "Od ymdrech neb hefyd, ni choronir ef onid ymdrech yn gyfreithlawn" (2 Tim. ii. 5). Mae deddfau yn perthyn i'r ymdrech, a rhaid cadw atynt: ac un o honynt ydyw, nodwedd naturiol meddwl yr ymdrechwr;—ac, "ni choronir neb,"—hyny yw, ni lwydda, fel ag i ragori, ac i ennill y gamp, a chael y goron, heb gadw at y ddeddf hon fel y deddfau ereill. Ond y mae pob un a fyddo yn onest hollol iddo ei hunan, a *wnelo y goreu a allo* o'i neillduolrwydd ei hunan, yn y *neillduolrwydd hwnw*, yn sicr o ragori, i ryw fesur, ac ennill lle iddo ei hunan, na fydd, ac nas gallasai fod, gan neb arall, yn mhlith holl weinidogion Crist. Marchnatewch, gan hyny, yn ffyddlawn â'r dalent a roddwyd i chwi. Os na roddwyd i chwi adenydd barddoniaeth, i ymddyrchafu ac ehedeg a chwareu mewn elfen ysgafnach, boddlonwch ar fod yn wyr traed, i fyned rhagddoch, fel y galloch, ar brif-ffordd gyffredin galed y ffeithiau symlaf. Peidiwch gwrthod y meddwl cywir, y gwirionedd pwysig, am nad yw wedi ei ddatguddio ei hunan i chwi dan gymhariaeth dlws, ac mewn gwisg brydferth. Diolchwch yn fawr am dano, a gwnewch y defnydd goreu o hono, yn mha ffurf bynnag y dangoso ei hun. Y "manna" oedd defnydd yr ymborth, nid y "gaenen wlith" oedd arno.

Y mae un yn fwy medrus i ganfod y gwirionedd, i dreiddio i mewn i'w ystyr; y mae y llall yn rhagori mewn gallu i eglurhau ei gysylltiadau; a'r trydydd yn nerthol i'w ddangos yn ei berthynas âg amgylchiad pechadur. Y mae un â dawn arbenig ganddo i lefaru

yn erbyn pechodau cyhoeddus; mae y llall yn alluocach i ymosod yn erbyn llygredigaethau y galon:—cnawdolrwydd a bydolrwydd yn y serchiadau; delweddau halogedig a dieflig yn y dychymyg; chwerwedd ansanctaidd ac annedwydd yn y dymher; crwydriadau ofer a gwâg y meddwl oddiwrth bethau Duw. Y mae un a gallu neillduol ganddo i ddarlunio cyfoeth yr Efengyl,—digonedd anfeidrol darpariaeth gras ar gyfer amgylchiad pechadur; mae y llall wedi ei gynnysgaeddu yn arbenig â gallu i gymmell y drefn, yn ei holl helaethrwydd, ar feddwl a chalon y pechadur, ac i'w ymresymu allan o'i holl au-esgusodion, nes ei ennill at y bwrdd, i gyfranogi o'r swper mawr; rhoddi ei holl noddfëydd celwydd ar dân, fel na byddo ganddo ddim i'w wneuthur ond "ffoi i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'i flaen,"—dianc am ei fywyd at "yr hwn a osododd Duw yn iawn." Nis gall un ond adrodd yn syml hanes yr Arglwydd Iesu, gan wneyd rhyw fân-sylwadau bywiog, a thlysion fe allai, arno; mae y llall yn treiddio i mewn, yn ysbryd yr athronydd Cristionogol, i'r egwyddorion a'r gwirioneddau tragywyddol sydd yn gorwedd yn yr hanes; a'r trydydd, gan gysylltu y nodweddiad a arddangosid yn ei fywyd, âg elfenau yr aberth a offrymodd yn ei angeu, yn gallu cyflwyno ei esiampl, gyda grym ac effeithiolrwydd, ger bron ei wrandawyr, er eu dwyn i fawrygu ei gymeriad, a pheri iddynt ddilyn ei ôl. "I bob un o honom y rhoed gras yn ol mesur dawn Crist" (Eph. iv. 7). Ceisiwch, fel y dywedais eisoes, adnabod "y gras"—y dawn neillduol a roddwyd i chwi, a gwnewch y defnydd goreu o hono. "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw."

3. Mae y gwirionedd yn "ngeiriau Duw" yn cael ei gyflwyno gyda chyfaddasder arbenig i amgylchiadau y

rhai, yn uniongyrchol, a annerchid ynddynt. Y mae hyn eto yn amlwg yn "ngeiriau Duw." Yr ydym yn ei ganfod yn yr ieithoedd neillduol yn y rhai yn wreiddiol yr ysgrifenwyd hwynt; yn y cymhariaethau cyffredin a ddefnyddir ynddynt; yn yr arferion a'r defodau y maent yn cyfeirio atynt; yn y pechodau neillduol a waherddir, a'r rhinweddau neillduol a ddysgir, gan yr amrywiol ysgrifenwyr; ac, hyd yn nod, yn y gwirioneddau ysbrydol a goruwchnaturiol a ddygir ger ein bron ynddynt, yr ydym yn gweled eu bod yn cael eu dysgu yn raddol, ac yn ol amgylchiadau a gallu y rhai y cyflwynid hwynt ger eu bron i'w derbyn; fel y mae yr holl ddatguddiad dwyfol yn dwyn y nodwedd hwn. "Y mae genyf eto," meddai ein Harglwydd wrth ei ddysgyblion, "lawer o bethau i'w dywedyd i chwi, ond ni ellwch eu dwyn yr awrhon" (Ioan xvi. 12). Ac y mae y geiriau yna yn nodedig o deilwng o'n sylw fel y maent yn dangos i ni un egwyddor fawr oedd yn rheoleiddio cyflwyniad y datguddiad o feddwl Duw i'r byd. Yr ydym yn gweled yn eglur fod hyny yn ol amgylchiadau. Lledaeniad syniadau cyfeiliornus am Berson Crist, tua diwedd yr oes Apostolaidd a achlysurodd gyhoeddiad yr Efengyl yn ol Ioan. Cymmysgiad rhyw au-philosophi genhedlig â Christionogaeth, yn eglwysi Asia Leiaf, a achlysurodd gyhoeddiad yr Epistol at y Colossiaid. Caredigrwydd y Philippiaid at yr Apostol a'u gofal am dano yn y carchar, a achlysurodd yr Epistol tyner, serchiadol, atynt hwy. Ymddiried yr Iuddewon yn ngweithredoedd y ddeddf am gyfiawnhad, a achlysurodd yr eglurhad gogoneddus a gawn ni ar yr athrawiaeth hono yn yr Epistol at y Rhufeiniaid. Gwaith y gau-athrawon yn ceisio cymmysgu Iuddewiaeth â Christionogaeth a achlysurodd yr ammddiffyniad i drefn syml yr Efengyl a gawn ni yn yr Epistol at y Galatiaid. Y

camddefnydd a wneid gan ryw rai o'r athrawiaeth hono, fel ag i "droi gras ein Duw ni i drythyllwch," ac ymddiried mewn proffes y ffydd heb ddim bywyd ynddi, a achlysurodd Epistol Iago. Y mae pregeth Petr yn Jerusalem ar ddydd y Pentecost (Act. xii. 14—36), pregeth Paul yn Antiochia yn Pisidia (Act. xiii. 16—41), cyfarchiad Paul i'r Atheniaid yn Areopagus (Act. xvii. 22—31), a phregeth Paul o flaen Felix, y barnwr annghyfiawn, halogedig, a digrefydd, a'i wraig odinebus Drusilla (Act. xxiv. 24, 25), yn engraifftiau nodedig o gyfaddasiad y gwirioneddau dwyfol at amgylchiadau neillduol y rhai a annerchid yn uniongyrchol ynddynt. Ac felly y mae yn mhob man. Wrth ysgrifenu at eglwysi Groegaidd yn unig y mae Paul yn cyfeirio at gampau Olympia; wrth ysgrifenu at y Rhufeiniaid, y mae yn esbonio mabwysiad. Y mae "geiriau Duw" yn cyflwyno y gwirionedd yn ol amgylchiadau y rhai a annerchid ynddynt, gan ei gyfaddasu i'r amgylchiadau hyny.

Yn awr, "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw." Bydded y nodwedd hwn yn amlwg yn eich gweinidogaeth. Amcenwch yn gywir at ei chyfaddasu at amgylchiadau neillduol y rhai a annercher genych. Y mae yn anmhosibl i chwi astudio eich pregeth yn iawn heb astudio eich gwrandawyr hefyd. Ymdrechwch, hyd ag y galloch, ymgydnabyddu â'u dull o feddwl; y syniadau a goleddir ganddynt; yr egwyddorion neillduol sydd yn eu llywodraethu; y pechodau neillduol y maent yn fwyaf agored a darostyngedig iddynt; y rhinweddau arbenig y maent yn fwyaf diffygiol ynddynt. Dysgwch edrych ar bethau oddiar eu safle hwynt, a rhoddi eich hunain, hyd ag y galloch, mewn cydymdeimlad meddyliol â hwynt. Ac, yn y pulpud, peidiwch rhedeg heibio iddynt, na cheisio ehedeg uwchlaw iddynt. Ceisiwch

fod mor eglur, fel y gallo y rhai mwyaf anwybodus eich deall; ac mor ddillyn, ag y gallo y rhai coethaf eich mwynhau. Yn y gwirioneddau neillduol a draddoder genych, yn y geiriau a arferer genych, yn y cymhariaethau a ddefnyddioch, yn ffurf y bregeth, yn holl arddull y cyfansoddiad, ymdrechwch yn wastadol at gyfaddasu y gwirionedd at ansawdd neillduol meddwl eich cynnulleidfäoedd. "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw."

4. Y mae yr holl wirionedd yn "ngeiriau Duw" yn cael ei gyflwyno yn ei gysylltiad â Iesu Grist. Nis gall fod un amheuaeth mewn un meddwl efengylaidd ar hyn. Iesu Grist ydyw Alpha ac Omega, dechreu a diwedd, cyntaf a diweddaf, "geiriau Duw." Efe ydyw canolbwnc yr holl Ysgrythyrau. Efe ydyw sylwedd y cysgodau, gwrthddrych mawr y prophwydoliaethau, testyn mawr yr holl Efengyl. Am dano ef yr ysgrifenodd Moses; llinellau ei achau ef sydd yn y Croniclau; emynau mawl iddo ef yw Psalmau Dafydd; iddo ef "y mae yr holl brophwydi yn dwyn tystiolaeth"; ac efe yn unig a bregethai yr Apostolion. Efe ydyw cwbl y datguddiad dwyfol i bechadur. Efe sydd yma yn sylfaen, ac efe yn benconglfaen. Efe yn ddoethineb; efe yn gyfiawnder; efe yn sancteiddrwydd; efe yn brynedigaeth. "Crist sydd bob peth, ac yn mhob peth" (Col. iii. 11). "Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith, ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio" (1 Cor. ii. 2). "Na ato Duw i mi ymffrostio, ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist" (Gal. vi. 14). Nid yw yr ysgrifenwyr sanctaidd yn gweled pethau mwyaf y byd yn werth edrych arnynt, ond i'r graddau y maent yn dal perthynas âg ef; ond y mae y pethau lleiaf, yn y berthynas hono, yn myned yn bwysig yn eu golwg, ac yn cadwyno eu sylw yn hollol. Ychydig awgrymiadau a

gawn ni am greadigaeth pob peth; ond dyna lyfr cyfan braidd ar babell Moses; y mae hanes pob ystyllen, pob mortais, pob hoelen i hono genym. Paham? Onid oblegid y cysylltiad neillduol ac arbenig oedd rhwng y cwbl o honi â Christ?

Yn awr, "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw." Arferwch eich hunain i edrych ar bob gwirionedd yn ei berthynas á Christ. Gwnewch ef yn ganolbwynt eich duwinyddiaeth, ac yn destyn mawr eich gweinidogaeth. Fe ddechreuodd Mr. Andrew Fuller gyhoeddi cyfres o lythyrau, er Cyfansoddi Corph o Dduwinyddiaeth, ar yr egwyddor o edrych ar bob gwirionedd yn ei berthynas â chroes ein Harglwydd Iesu Grist,—a gresyn na chawsai fyw i'w gorphen. Nid ydwyf yn hollol ddiobaith na chawn yn ein hiaith ein hunain, cyn hir, gyfundraeth dduwinyddol, o nodwedd uwch, ar yr un egwyddor; ond i aros hyny, mi a ddymunwn eich annog i gymmeryd Person a Chyfryngdod ac Aberth ein Harglwydd Iesu Grist, yn arbenig fel eich safle i edrych ar bob gwirionedd yn bynciol, yn gystal ag fel eich bywyd a'ch cynhaliaeth, a'ch nerth, a'ch gobaith, yn eich crefydd bersonol ac yn eich llafur gweinidogaethol. Cofiwch mai gweinidogion yr Efengyl ydych, ac mai "Efengyl Crist" ydyw; ac na fydded arnoch "gywilydd" byth o honi. Cofiwch mai efe ydyw y Ceidwad, ac y bydd eich pregethu yn unig o werth i'r graddau y byddo amcan a chymhwysder ynddo i gael eich gwrandawyr ato. Os darn o hanes fydd dan eich sylw, ceisiwch ddangos ei gysylltiad â Christ, ac amcenwch ddenu eich gwrandawyr trwyddo ato ef. Os cangen o athrawiaeth fydd genych i'w hegluro, cofiwch y gwreiddyn oddiar yr hwn y mae yn tyfu, ac o'r hwn yn unig y gall fod ffrwyth arni. Os cyhoeddi y bygythion y byddwch, eich amcan syml fyddo,—dychrynu pech-

aduriaid i ffoi i'r cysgod sydd yn Nghrist Iesu rhag y ddamnedigaeth. Os yr addewidion fydd eich testyn, gwyliwch eu hysgar oddiwrth Grist Iesu, yn yr hwn y maent "oll yn ïe, ac ynddo ef, Amen" (2 Cor. i. 20). Os gweithredoedd da fydd yn cael eu cymmell genych, cofiwch y "creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da" (Eph. ii. 10). Os priodas fydd y pwnc, cofiwch, uwchlaw pob peth, "yn unig yn yr Arglwydd" (1 Cor. vii. 39). Os dyledswyddau gwŷr a gwragedd i garu eu gilydd fydd y testyn,—pa beth bynnag a ddyweder genych, fel yr hen philosophyddion gynt, am y priodoldeb o hyny, eu haddewidion i'w gilydd, y cysur a ddeillia iddynt oddiwrth hyny, y gwarthrudd a dynant arnynt eu hunain ac ar eu teuluoedd trwy yr hyn sydd wrthwyneb,—peidiwch er dim annghofio y cymhelliad mawr o'r groes:—"Megis y carodd Crist yr eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti" (Eph. v. 25). Pan y byddoch yn pregethu y farn, cofiwch mai "hwn a ordeiniwyd gan Dduw yn Farnwr byw a meirw" (Act. x. 42). Wrth bregethu uffern, cofiwch elfenau llymaf y gospedigaeth ofnadwy yno—"A hon yw y ddamnedigaeth" (Ioan iii. 19), ac mai y pwysau trymaf ar y gydwybod fydd, "llid yr Oen" (Dat. vi. 16). Wrth bregethu y nefoedd, cofiwch yr "Oen yn sefyll megis wedi ei ladd, yn nghanol yr orsedd-fainc" (Dat. v. 6), ac mai y gwynfyd mawr yno fydd, "bod gyda Christ" (Phil. i. 23). Cofiwch fod rhinwedd, a gwerth, ac addasrwydd, ac effeithiolrwydd pob gwirionedd i bechadur, yn cyfodi oddiwrth ei gysylltiad â Iesu Grist. "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw."

5. Y mae y gwirionedd yn "ngeiriau Duw" yn cael ei gyflwyno, nid yn bynciol a chyfundraethol, ond mewn dull poblogaidd, rhydd, a dilyfethair. Nid ydwyf wrth ddywedyd hyn yn golygu nad oes cyfundraeth reolaidd

a chyson yn yr Ysgrythyrau, ac nad yw pob gwirionedd a ddysgir ynddynt yn berffaith unol â phob gwirionedd arall. Y cwbl wyf fi yn olygu yw, mai nid yn y wedd ffurfiol, gyfundraethol yna, y mae y gwirioneddau dwyfol yn cael eu dysgu ynddynt. Yn hytrach, y mae y gyfundraeth ynddynt hwy megis ag y mae yr amrywiol gyfundraethau gwyddonol yn y byd naturiol; fel ag y mae Seryddiaeth yn y ffurfafen, Daeareg yn haenau y ddaear, Fferylliaeth yn yr amrywiol sylweddau elfenol; y mae defnyddiau y gyfundraeth yno, ond nid y dosbarthiad cyfundraethol arnynt. Yn "ngeiriau Duw" y mae pob gwirionedd yn cael ei ddysgu megis ffaith annibynol, yn gorphwys ar ei brawf ei hun,—y dystiolaeth ddwyfol,—ac i'w dderbyn, nid oblegyd ei gysondeb ymddangosiadol â gwirioneddau ereill, ond ar y prawf dwyfol a berthyn iddo ei hunan, fel rhan o "eiriau Duw." A phe byddem ni yn gwbl analluog i ganfod cysondeb yr amrywiol athrawiaethau a ddysgir ynddynt â'u gilydd, nid ydym, o herwydd hyny, i fod yn llai sicr o'u gwirionedd; oblegyd y mae y sicrwydd hwnw i orphwys, nid ar ein gallu ni i ganfod eu cysondeb a'u gilydd, ond ar y dystiolaeth anffaeledig sydd genym am y cwbl yn "ngeiriau Duw." Ac ni a allwn fod yn berffaith sicr yn ein meddyliau o'u cysondeb â'u gilydd, oblegyd eu cyd-gysondeb â "geiriau Duw."

Oddiar y nodwedd hwn a berthyn i'r prawf o'r gwirionedd, y cyfyd y ffurf neillduol sydd arno yn "ngeiriau Duw." Y mae y naill wirionedd yn cael yma ei ddysgu megis yn annibynol ar y lleill, ac heb un pryder na gofal yn cael ei ddangos am gymmedroli y cyhoeddiad o hono, rhag ei fod yn sangu ar diriogaeth, neu yn taro yn erbyn rhyw wirioneddau ereill; ond y mae pob gwirionedd, ar y pryd, yn cael ei ddysgu megis heb un gofal am hawliau a therfynau unrhyw wirionedd arall.

Yn awr, "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw." Peidiwch a chadwyno a llyfetheirio y gwirionedd yn eich pregethau. Gadewch iddo fod yn hollol rydd, o fewn cylch ysbrydoliaeth, i gymmeryd ei gyfeiriad ei hunan. Astudiwch yr Ysgrythyrau yn fanwl, er mwyn ceisio cael gafael, trosoch eich hunain, ar y gyfundraeth sydd yn gorwedd ynddynt, ac y mae yr holl wirionedd dwyfol yn rhan o honi; ond peidiwch, er dim, ag ofni ysbryd, nac iaith, na rhyddid, nac eangder, nac hyd yn nod eithafoedd ac annghysonderau *ymddangosiadol* yr Ysgrythyrau eu hunain. Pregethwch Undod a Thrindod yr Anfeidrol; Duwdod a Dyndod Person y Cyfryngwr mawr. Na phetruswch hòni yn ddifloesgni ras rhydd, a rhad, a phenarglwyddiaethol y Goruchaf; cyhoeddwch mor ddibetrus rwymedigaeth a chyfrifoldeb dyn. Deliwch ddigonedd diderfyn ac anfeidrol yr Iawn ar gyfer dynolryw yn gyffredinol a diwahaniaeth; deliwch mor gadarn y gosodiad neillduol o hono, fel pridwerth, er prynedigaeth yr Eglwys. Byddwch yn gryf yn y gwirionedd am barhad y credadyn mewn cyflwr o ras; ond mor gryf ar y perygl iddo "dynu yn ol i golledigaeth," a'r angenrheidrwydd parhaus sydd arno, gan hyny, i "wneyd ei oreu ar ei gael ganddo ef mewn tangnefedd," ac "ymgadw rhag cael ei arwain ymaith trwy amryfusedd yr annuwiol, a chwympo o hono oddiwrth ei sicrwydd ei hun" (Heb. x. 38, 39; 2 Petr iii. 14, 17). Peidiwch ammeu maddeuant o ras oblegyd ei fod yn faddeuant trwy Iawn; a pheidiwch a gwadu na chuddio gwobr gweithredoedd oblegyd cyfiawnhad trwy ffydd. Pe methech a chael gafael ar unrhyw egwyddor arall i'w cysoni, credwch eu cysondeb â'u gilydd yn eu cydgysondeb â "geiriau Duw."

Nis gallaf ymattal yma rhag adrodd un hanesyn er eglurhad ar, a chadarnhad i hyn, mewn cysylltiad â'm

hen barchedig dad-yn-nghyfraith. Mewn Cymdeithasfa yn Amlwch, yn y flwyddyn 1838, yr oedd y diweddar anwyl William Charles, a brawd arall sydd eto yn fyw, yn cael ymddyddan â hwynt gyda golwg ar eu derbyn yn aelodau o'r Gymdeithasfa. Yr oedd ein gwlad y pryd hyny yn llawn berw yn nghylch athrawiaeth, a llawer o'n pregethwyr yn cael eu hammeu a oeddent yn gwbl "iach yn y ffydd." Yr oedd William Charles wedi syrthio dan amheuaeth gan rai o'r hen frodyr, ei fod yn gŵyro oddiwrth y gwirionedd, ac yr oeddent yn ymosod yn galed arno, er ceisio ei wasgu i adrodd ei gyffes yn eu geiriau cyfyng hwy. Yr oedd Mr. Roberts yno yn ddistaw, yn pallu dywedyd gair; ac, er ei gymmell unwaith ac eilwaith, yr oedd yn nacâu cyfodi i ddywedyd dim, tra yn amlwg, yn ei agwedd, yn annghymmeradwyo cyfeiriad yr ymddyddan. O'r diwedd fe gododd; ac wrth ei weled yn ysgogi at hyny,—"Mi a deimlwn," meddai William Charles, "fod fy ymwared i yn nesâu." Ac yna, yn ei ddull cyffrous ac effeithiol ei hunan, fe ddywedodd,—"Ni fydd dim yn fy *mhlesio* i yn fwy mewn pregethwr na'i weled o yn bur ddiofal uwchben y Bibl. Nid diofalwch ysgafnder ydwy'n feddwl, ond diofalwch ffydd. Y mae ambell i bregethwr, fe feirniada awr uwchben y gair '*byd*'; y mae o bron colli ei wynt wrth ddywed '*pawb*'; fe amgylcha fôr a thir rhag cyfarfod â '*phob dyn*'; ond am y Bibl, y mae o yn dyweyd '*byd*' mor groew â '*defaid*'; '*pawb*' yr un fath ag '*eglwys*'; '*pob dyn*' fel '*etholedigion*.' *Trustiwch* gryn lawer i'r Bibl, da chwi." "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw."

6. Y mae y gwirionedd yn "ngeiriau Duw" yn cael ei gyflwyno yn hollol ymarferol a chymhwysiadol. Mi a ddymunwn yn arbenig eich sylw at hyn. Nis gall neb gam-gymmeryd y nodwedd hwn a berthyn i "eiriau

Duw." Y mae pob cwestiwn cywrain yn cael ei osgoi yn hollol ynddynt, neu os cyfeirir at ddim o'r fath, fe gymmerir mantais ar unwaith oddiwrtho i ryw amcan ymarferol. "Arglwydd, ai ychydig yw y rhai cadwedig?" Pa un ai yn y nefoedd ai yn uffern y bydd y nifer mwyaf yn y diwedd? Maent yn dadleu y cwestiwn yn ein hysgolion ni. Beth wyt ti yn ddywedyd arno? Fe allasai ef ddywedyd; ond nid ydyw yn gwneyd un sylw arno felly, ond yn ei droi ar unwaith i amcan ymarferol: "Ymdrechwch am fyned i mewn trwy y porth cyfyng" (Luc xiii. 23, 24). 'Peidiwch treulio eich amser gyda chwestiynau dibwys ac anmherthynasol; defnyddiwch o i ymdrechu bod yn gadwedig eich hunain. Os llawer fydd yn gadwedig, ni sicrhâ hyny eich cadwedigaeth chwi; os ychydig, nid oes angenrheidrwydd i chwi fod yn golledig. Y mae y "porth" yn agored o'ch blaen; "Ymdrechwch am fyned i mewn trwyddo."' Ac felly am bob peth. Y mae y goleuni cryfaf yn tywynu yma ar y pethau pwysig, ond nid oes yma yr un pelydryn o lewyrch ar yr hyn sydd gywrain. Nid oes yma ddim i foddio cywreinrwydd *(curiosity)* dynion, hyd yn nod am Iesu Grist ei hunan, gwrthddrych mawr yr holl ddatguddiad. Nid oes yma ddim chwedleuon dyddorol am dano yn ei febyd; dim am yr efrydiau neillduol yr ymroddai iddynt yn ei ieuenctyd; dim, ond prin awgrymiad, am y dull cyffredin y treuliai ei flynyddoedd boreuol, a'r rhan annghyoedd o'i oes yn Nazareth. Nid oes yma gymmaint a gair am ei ymddangosiad allanol; dim un ateb i'ch cwestiynau,—beth oedd lliw ei wallt? beth oedd ffurf ei ben? beth oedd lliw ei lygaid? beth oedd llun a gwedd ei wyneb? pa faint oedd ei daldra? beth oedd ei ddull? ei osgo yn cerdded? beth oedd tôn ei lais? a mil o bethau ereill y buasai cywreinrwydd diniwed dynol yn hoffi gwybod rhywbeth yn eu cylch. Ond y

mae yma bob peth am fawredd ei Berson, perffeithrwydd ei gymeriad, haeddiant ei aberth, cyfoeth ei ras, a'i ewyllysgarwch i gadw. Beth oedd tôn ei lais? Ni wn i ddim; ond mi wn beth ddywedodd: "Deuwch ataf fi bawb a'r sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch" (Matt. xi. 28); "A'r hwn a ddêl ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim" (Ioan vi. 37).

Yr un modd am y byd arall, y farn fawr, uffern, y nefoedd,—y mae yma ddatguddiad eglur ar yr hyn sydd o ddefnydd ymarferol, ond nid oes yma ddim i foddhau cywreinflys dyn, ac i ateb y lliaws cwestiynau dyddorol iddo ef y mae yn barod i'w gofyn gyda golwg arnynt. Pa bryd y bydd dydd y farn? Beth a fydd y dydd hwnw? Ai dydd cyffredin, ynte ysbaid maith o amser yn cael ei alw felly? Yn mha le y bydd yr orsedd? Yn mha wedd y bydd pawb yn cael eu cyflëu o flaen y fainc? Yn mha fodd y bydd gweithrediadau y dydd yn cael eu dwyn yn mlaen? Nid oes yma yr un ateb i'r cwestiynau hyn a'u cyffelyb; ond y mae y dystiolaeth yn bendant,—"Rhaid i ni oll ymddangos ger bron brawdle Crist; fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph, yn ol yr hyn a wnaeth, pa un bynnag ai da ai drwg" (2 Cor. v. 10). Y mae yr hyn sydd ymarferol yn ddigon eglur. Yr un modd gyda golwg ar y nefoedd a sefyllfa bresennol y rhai a ymadawsant â'r byd hwn yn Nghrist. Yn mha le y mae y nefoedd? Pa gymundeb, os oes rhywfaint, sydd rhwng y rhai anwyl ydym wedi golli â ni a adawyd ganddynt ar ol? A ydynt yn gwybod rhywbeth am danom? A ydynt yn parhau i gymmeryd rhyw ddyddordeb ynom? A ydyw ein hanwyl frodyr, Mr. Henry Rees a Mr. Edward Morgan, y rhai oeddent gyda ni yn Nghymdeithasfa ddiweddaf Bangor, yn ogoneddus yn neheulaw eu Harglwydd, ac a fuant gyda ni mor fynych,—a ydynt yn cymmeryd

rhyw ddyddordeb ynom heddyw? Yr oedd yr hen Williams yn holi rhyw bobl dduwiol oeddent wedi ymadael o'i flaen ef:—

"D'wedwch im' pa olwg hyfryd
Sydd ar Dywysog mawr y bywyd?
A yw ôl yr hoelion yno,
Yn ei draed ac yn ei ddwylo?
P'un ai cariad ynte ofni
Sydd yno bennaf yn teyrnasu?
Cariad mwy, yn llosgi trwy
Eu calon, wy' 'n credu;
Mae yno hefyd hyfryd ofni,
Ac anfeidrol faith ryfeddu.

A yw 'n bleser gan angylion
Ganu anthem hyfryd Sïon?
A yw angeu 'r croesbren poenus,
I'r rhai safodd gynt, yn felus?
Ai gwir bod yr angylion penna'
A'u sail ar gopa bryn Calfaria?
Yno 'n cael perffaith hael,
Gadernid diffaelau,
Wedi eu c'lymu â'r holl seintiau,
Yn yr un Pen, yn yr un clwyfau.

A ydych chwi yn gwybod yna
Am ein gofid ni sydd yma?
Neu a fedrwch gydymdeimlo
A'r rhai hyn sy'n cael eu temtio?
A oes rhai oddiyna, weithiau,
Yn d'od yma ar negesau
Mawrion, maith, fel y daeth
Moses ac Eli,
Ar newidiad gwedd yr Iesu,
Mewn gogoniant i ryfeddu?"

Eithr nid oes yn "ngeiriau Duw" na llef, na neb yn ateb, unrhyw gwestiwn o'r fath. Y cwbl a wyddom yw, eu bod yn "cartrefu gyda'r Arglwydd" (2 Cor. v. 8); a'u bod "gyda Christ," mewn sefyllfa sydd yn "llawer iawn gwell" (Phil. i. 23) na dim a allasent fwynhau yn y fuchedd hon. Ond pa faint bynnag o dywyllwch sydd yma ar y nefoedd ei hunan, y mae y goleuni cryfaf yn

tywynu ar y ffordd sydd yn arwain iddi. Ac felly am bob peth. Y mae "geiriau Duw" yn hollol ymarferol. Y maent yn llawn appeliadau at y gydwybod a'r galon, ac wedi eu bwriadu i gaethiwo pob meddwl i "ufudd-dod Crist." Y mae eu hathrawiaethau dyfnaf yn troi yn gymhelliadau nerthol; a'u hanesion dyddorol, yn rhybuddion difrifol a phwysig. Nid ydynt yn dysgu yr un gwirionedd i'w dderbyn i'r deall yn unig, ac heb ddylanwadu ar y galon a'r fuchedd. Amcan a thuedd y cwbl ydyw troi dynion o gyfeiliorni eu ffordd; eu dwyn at Grist Iesu am iachawdwriaeth; a'u gwneyd yn etifeddion bywyd tragywyddol.

Yn awr, "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw." Pa beth bynnag a fyddo yn eisiau, na fydded y nodwedd hwn ar goll yn eich gweinidogaeth. Peidiwch byth a boddloni ar lefaru yn unig yn nghlyw eich gwrandawyr, heb lefaru wrthynt. Ac na foddlonwch byth ar gael y gwirionedd fyddo genych dan sylw megis gosodiad sych i'w ddeall; penderfynwch ei gael yn saeth loew i'w cydwybod, ac yn deimlad byw yn eu calon. "Cenhadau dros Grist" ydych, a bydded eich pregeth bob amser yn genadwri. Mynwch i'r bobl deimlo fod genych neges neillduol ac arbenig atynt hwy. Amcenwch at hyn. Ymboenwch i gyrhaedd hyn. Ond i hyn fod yn amcan teg genych, na ddigalonwch—fe'ch cyflenwir â defnyddiau i'w sicrhau. Chwi a gewch eich meddyliau yn naturiol yn cymmeryd y cyfeiriad cymhwysiadol, ond i chwi wneyd hyny yn amcan. "*To be sure,*" meddai Wordsworth wrth Emerson, wrth siarad am ryw arddull, "*To be sure, it was the manner, but then you know the matter always comes out of the manner.*"* Byddwch yn bregethwyr. Mynwch y syniad cywir am bregeth yn

* *English Traits*, page 204. Boston, 1863.

eglur ac yn ddwfn yn eich meddyliau. Mi a glywais, weithiau, ambell un y tybiwn y byddai defnyddiau pregethwr ardderchog ynddo, ond yn ymddangos megis heb gael gafael erioed ar y drychfeddwl cywir am bregeth. Cofiwch mai nid traethawd ydyw pregeth; mai nid athroniaeth ydyw areithyddiaeth; mai nid barddoniaeth ydyw hyawdledd. Goreu pa fwyaf o'r cwbl fyddo yn treiddio trwy y bregeth,—yn nerth ac yn addurn iddi; ond, cofiwch, yn ddarostyngedig iddi hi ei hunan, ac er gwasanaethu ei hamcan mawr. Ymogelwch, yn enwedig, rhag y cam-gymmeriad y mae ambell un, fe ellid meddwl, wedi syrthio iddo,—fod eisiau iddo fod o olwg y bobl er mwyn bod yn bregethwr mawr. Y mae eich rhagoriaeth chwi, cofiwch, i'w ddatguddio ei hunan mewn eglurhau yr hyn sydd dywyll, ac nid mewn tywyllu yr hyn sydd amlwg. Os bydd dysglaerni yn y gymhariaeth, gadewch iddo fflachio yn llewyrch ar y ffordd i'r bywyd, er gwneuthur yn eglurach i ryw bechadur tlawd pa fodd i'w chael. Os ydych wedi eich bendithio â llymder arddansoddol, gadewch i'r galon galed gael profi ei awch. Dychrynwch rhag y meddwl am i'ch pregeth byth fyned yn arddangosiad i synu eich gwrandawyr, neu yn degan i chwi a hwythau chwareu â hi. Bydded iddi fod, bob amser, yn arf gweithio, a phrisiwch ei gwerth wrth y gwaith a wna. A ydyw y diofal yn cael ei gyffro, y gwammal yn cael ei ddifrifoli, yr anystyriol yn cael ei sobri, y caled yn cael ei ddwyn i deimlo? A ydyw yr anwybodus yn cael ei ddysgu, y gwan yn cael ei nerthu, y trallodedig yn cael ei gysuro? A oes rhai o'r newydd yn cael eu hennill i'r ffydd? A ydyw y credinwyr "yn eu hadeiladu eu hunain ar eu sancteiddiaf ffydd?" Cofiwch mai ffrwyth priodol hyawdledd ydyw ymarferiad. Wedi gwrandaw Demosthenes, y mae yr Atheniaid yn gwaeddi,—"Awn, ac

ymladdwn â Philip." Byddwch yn annhraethol uwchlaw chwilota am ganmoliaeth y bobl; yn hytrach, gan amcanu yn gywir am eu llesâd, llawenhewch os gellwch eu gyru gartref mewn distawrwydd. Un o'r effeithiau hynotaf y darllenais i am danynt braidd erioed i bregeth, ydyw yr hyn a gawn yn hanes Henry Venn, un o'r Hen Dadau Methodistaidd yn Eglwys Loegr. Y mae y diweddar Mr. Hey, o Leeds, yr hwn, pan oedd Mr. Venn yn Huddersfield, a elai yn fynych yno i wrandaw arno, yn adrodd i ni am dano ei hunan a chyfaill mynwesol iddo unwaith yn dychwelyd adref wedi bod yn gwrandaw felly, nad ynganodd y naill yr un gair wrth y llall, nes oeddent o fewn tua milltir i Leeds, wedi teithio gyda'u gilydd tua phymtheg milltir, mewn distawrwydd hollol dan argraffiadau y bregeth.* Ymdrechwch chwithau am gyflwyno y gwirionedd fel ag i sicrhau effeithiau cyffelyb. Ymryddhewch, hyd y galloch, oddiwrth bob gofal am danoch eich hunain, ac oddiwrth bob gofal pa beth a feddylia neb am danoch chwi. Annghofiwch eich hunain yn gwbl trwy ymgolli yn eich amcan mawr. Ac os byddwch mor lwyddiannus ag i beri i'ch gwrandawyr hefyd eich annghofio chwi mewn ymdeimlad â phwys, ac mewn ymroddiad i gydymffurfiad âg amcan eich cenadwri,—"mawr a fydd eich gwobr yn y nefoedd." "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw."

III. Mae hyn yn golygu fod y dull y llefarer yn gyfryw ag sydd yn gweddu i gysegredigaeth ac awdurdod a phwysfawrawgrwydd "geiriau Duw."

Nid oes angenrheidrwydd am i ni aros llawer ar hyn: ond y mae yn eglur yn cael ei gynnwys yn y testyn, ac y mae y fath bwys ynddo, mewn cysylltiad âg effeithiolrwydd eich gweinidogaeth, neu, yn hytrach, â'i chymhwysder i effeithiolrwydd, fel ag y mae yn arbenig yn

* *Venn's Life*, page 27. London, 1834.

teilyngu eich sylw. Mae yn hysbys i bawb fod yr effeithiau a gynnyrchir ar feddwl a theimlad cynnulleidfa trwy unrhyw siarad, yn cyfodi nid yn gymmaint oddiar gynnwysiad yr hyn a draddodir, ag oddiar y modd neu y dull neillduol y byddo yn cael ei lefaru. Mae hyny yn wirionedd am bob siarad—pa un bynnag ai yn y senedd, ai yn y llys barn, ai ar yr esgynlawr mewn rhyw gyfarfod plwyfol cyffredin,—y mae dirgelwch y llwyddiant, rywfodd, nid yn gymmaint yn y *peth* a ddywedir ag yn y *modd* y mae yn cael ei ddywedyd. Y mae yr un peth yn wirionedd hefyd am y pulpud. Nid oes dim y mae holl hanes yr Eglwys yn dwyn tystiolaeth fwy pendant iddo, na'r berthynas agos sydd rhwng y *dull*, neu y *modd* y cyflwynir gwirionedd yr Efengyl ger bron y byd, a'i dderbyniad gan y byd. Edrychwch pwy sydd wedi bod, trwy yr holl oesoedd, yn fwyaf llwyddiannus fel pregethwyr, a chwi a gewch weled mai nid y deall treiddgar, nid y rheswm cryf, nid y dychymyg bywiog, nid y ddysgeidiaeth eang, nid y dduwinyddiaeth ddofn, nid y feirniadaeth fanol, nid y cyfansoddiad destlus,—nid yr un o'r rhai hyn, na'r cwbl o'r rhai hyn gyda'u gilydd,—sydd wedi bod yn gwneuthur grymusderau yn y pulpud, yn gymmaint â rhyw symledd a difrifwch ac eglurder a nerth,—rhywbeth annysgrifiadwy—yn null y pregethwr o draddodi y gwirionedd, yn cyfodi oddiar brofiad dwfn a dwys o'i ddylanwad ar ei feddwl a'i galon ei hunan; crediniaeth ddiysgog yn ei awdurdod a'i darddiad dwyfol; llwyr argyhoeddiad o berthynas uniongyrchol ei gynnwysiad â chyflwr y byd; ac ymdeimlad gwastadol â'i gyfrifoldeb ofnadwy i'r hwn a'i hanfonodd, am y modd y cyflwynir ef ganddo ger bron y byd.

Yn awr, nis gallaf fi feddwl am yr un cyfarwyddyd mwy diogel i chwi, fel pregethwyr, er cyrhaedd hyn,

na'r un a gawn yn y testyn,—"Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw." Un o ddeddfau cyntaf areithyddiaeth ydyw, fod nodwedd y siarad i gyfateb i ystyr ac amcan yr hyn a lefarer. Y mae natur ei hunan, ar unwaith, yn ein dysgu, fod gwahaniaeth pendant i'w wneuthur yn nhôn y llais ac yn ngwedd y wyneb-pryd rhwng y modd y traddoder yr adroddiad syml, y gwahoddiad tyner, a'r bygythiad ofnadwy; rhwng y cwynfan galarus, a'r newydd cysurlawn; rhwng dychryn enaid dan ymdeimlad o'i haeddiant, mewn ofn yn gwaeddi,—"Fy nghraig, na ddistawa wrthyf: rhag, o thewi wrthyf, i mi fod yn gyffelyb i rai yn disgyn i'r pwll" (Psalm xxviii. 1),—a hyder tawel ysbryd llawn o dangnefedd yr Efengyl a "chwant i'w ddattod a bod gyda Christ"; rhwng arswydau creadur mewn anobaith yn dolefain,—"Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi: a Duw a gilodd oddiwrthyf fi, ac nid yw yn fy ateb mwyach" (1 Sam. xxviii. 15), a gorfoledd meddwl yn codi oddiar ei liniau, wedi bod o flaen yr orsedd fawr a chael ei wrando yno, yn ddiolchgar yn gwaeddi,—"Bendigedig fyddo Duw, yr hwn ni throdd fy ngweddi oddiwrtho, na'i drugaredd ef oddiwrthyf finau" (Psalm lxvi. 20). Trosedd uniongyrchol yn erbyn pob rheol am siarad fyddai fod geiriau yn dynodi teimladau mor wahanol yn cael eu traddodi yn yr un dôn ac yn yr un dull. Y mae cywair a thôn y llais, edrychiad y llygaid, cyfodiad y llaw, gostyngiad y pen, tarawiad y troed, holl ystum ac ymddangosiad y llefarwr, i gyfateb i gynnwysiad a nodwedd ac amcan yr hyn a lefarer ganddo. Ond cam-gymmeriad echrys fyddai i chwi dybied fod dim o hyn yn rhywbeth i'w *weled* genych, neu yn gynnyrch uniongyrchol bwriad, ar y pryd, o'r eiddoch. Ni byddai dim yn fwy sicr o ddinystrio effaith y cwbl ar feddwl y gwrandawyr, na thybiaeth fod y pregethwr yn amcanu at y fath beth. Can

gynted ag y tybiant hyny, y mae y pregethwr yn cael ei golli ganddynt yn y chwareuwr. Rhaid i'r cwbl, tuag at fod yn effeithiol, fod, heb i chwi feddwl dim am dano; heb i chwi, hyd yn nod, fod yn ymwybodol o hono. A'r unig ffordd i sicrhau hyny ydyw, i'r pregethwr fod wedi ei golli ei hunan yn ei bregeth. Ac ond i hono feddiannu ei feddwl yn iawn, nid megis gwirionedd i fyfyrio arno ganddo ei hunan, ond megis cenadwri bywyd ganddo i'w thraddodi i ereill, a'i enaid ef ei hunan wedi ei drwytho yn ei chynnwysiad, y mae pob peth arall yn sicr o ddilyn. Nis gall fod ysgafnder yn agwedd un yn cymdeithasu â phethau mor bwysig a difrifol; nis gall fod hyfdra ansanctaidd yn null un yn credu ac yn teimlo gwirioneddau mor gysegredig. Fe ddyry hyn ryw ddifrifwch yn y wedd, rhyw dynerwch a threiddgarwch a nerth yn y llais, a rhyw ddylanwad ar yr holl ymddangosiad, nas gellir ei roddi gan ddim arall. "Os llefaru a wna neb, llefared megis geiriau Duw."

Yn awr, anwyl frodyr, y mae yn rhaid i mi derfynu. Mi a ddymunwn "eich gorchymyn i Dduw, ac i air ei ras ef" (Act. xx. 32). Y mae y gwaith a ymddiriedwyd i chwi yn fawr, a'r cyfrif sydd yn eich aros yn ofnadwy. Ie, *y cyfrif sydd yn eich aros*. Mi a ddywedais, ar y dechreu, eich bod wedi myned trwy bob arholiad o eiddo eich brodyr, a thrwyddynt yn llwyddiannus. Ond y mae un eto yn ol;—manylach, caletach, pwysicach, nag yr un a fu yn y Bala, na Chorwen, na Bangor;—fe'n "gosodir ni oll ger bron gorsedd-fainc Crist" (Rhuf. xiv. 10). Y Duw trugarog a baro na byddo cymmaint ag un o honoch yn methu yn yr arholiad mawr! Ymroddwn oll, yn fwyfwy, yn enw Crist, i'n cael yn gymmeradwy yn y dydd hwnw.

---

## PREGETH XXV.

### Annghrediniaeth y Galon.

Hebreaid iii. 12.

"*Edrychwch, frodyr, na byddo un amser yn neb o honoch galon ddrwg anghrediniaeth, gan ymadaw oddiwrth Dduw byw.*"

Y mae goruchwyliaethau yr Arglwydd tuag at y genedl Iuddewig, a'u hymddygiadau hwythau tuag ato yntau, yn nghyda'r barnau a ddaeth arnynt yn y canlyniad, yn cael eu cymmeryd yn fynych yn ddefnyddiau rhybuddion difrifol i Gristionogion rhag bod yn euog o'r un pechodau, a thynu arnynt eu hunain yr un dinystr. Ni gawn engraifft o hyny yma; dyma bobl wedi gweled gweithredoedd rhyfedd o eiddo Duw; wedi derbyn daioni lawer oddiwrtho, wedi cael profion lawer o'r perygl o fod yn anffyddlawn iddo, eto dan ddylanwad annghrediniaeth a chalongaledwch wedi gwrthryfela i'w erbyn,—ei ddigio mor fawr, nes tyngu o hono yn ei lid na chyrhaeddent byth yr orphwysfa a addawsid iddynt ac y dygasid hwynt o'r Aipht a thrwy y Môr Coch ar y ffordd iddi,—ac o'r diwedd yn cwympo yn y diffaethwch dan farn. Yn awr y mae awdwr yr Epistol yn gweled yr Hebreaid Cristionogol yr ysgrifenai atynt wedi eu dwyn i amgylchiadau tra thebyg o ran breintiau i'w tadau gynt; a'r amgylchiadau yr oeddent ynddynt—y blinderau y cyfarfyddent â hwynt—yn eu proffes Gristionogol, yn gweithredu yn dra thebyg er eu profi, ac y mae felly yn eu hannog i ochel, gyda'r gwyliadwriaeth mwyaf, rhag diwedd cyffelyb: "Edrychwch, frodyr, na byddo un amser yn neb o honoch galon ddrwg annghred-

iniaeth,"—calon dan lywodraeth—calon yn cael ei dylanwadu a'i harwain gan—annghrediniaeth—"gan ymadaw oddiwrth Dduw byw"; gwyliwch rhagddo yn ei elfenau cyntaf, oblegyd os na lethir ef yn ei ddechreuad, yn hyn y terfyna,—ymadawiad hollol â Duw,—gwadiad o bob crefydd ac anffyddiaeth hollol. Neu "calon ddrwg annghrediniaeth, gan ymadaw oddiwrth Dduw byw"—yn ei ddatguddio ei hunan trwy ymadaw âg ef, trwy gilio oddiwrtho.

Oddiwrth y geiriau edrychwn ar ANNGHREDINIAETH CALON A'I GANLYNIADAU OFNADWY.

I. Annghrediniaeth calon. Y mae llawer yn golygu ffydd fel peth heb un berthynas rhyngddi â'r galon,—nad yw yn ddim amgen na chynnyrch naturiol ac angenrheidiol cyfarfyddiad y deall â'r dystiolaeth, ac yn ganlynol nas gall fod ffydd yn ddyledswydd ar neb, nac annghrediniaeth ychwaith yn bechod. Yn awr, yr ydym yn caniatau mai dyna ydyw ffydd mewn amgylchiadau na byddo y galon yn gallu ymyraeth â hwy; ond lle y mae y gwirioneddau a gyflwynir ger bron y meddwl o natur sydd yn tynu y galon i ddylanwadu yn ol ei hansawdd foesol yn bleidiol neu yn wrthwynebol i'r derbyniad o honynt, y mae gwadu fod a wnelo ffydd â'r galon gyda golwg ar y gwirioneddau hyny yn hollol anysgrythyrol. Y mae y pwys mwyaf yn cael ei roddi yn y Bibl ar agwedd y galon; yn wir, yn ol y Bibl, y mae eisteddle ffydd yn amlwg yn y galon. "A'r galon y credir i gyfiawnder"; "O ynfydion a hwyrfrydig o galon i gredu"; felly y gelwir credu yn ufuddhau o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd i ni; felly hefyd y mae y rhai sydd yn cael eu gollwng yn farnol i gredu celwydd yn cael eu gosod allan fel rhai heb dderbyn cariad y gwirionedd fel y byddent cadwedig. Y

mae yn amlwg iawn wrth yr ymadroddion hyn fod a wnelo ffydd â'r galon.

Yn awr, megis ag y mae ffydd yn perthyn i'r galon yn gystal a'r deall, y mae annghrediniaeth o ddau fath, neu fe ddichon ei eisteddle yn y meddwl fod yn ddyblyg,—yn y deall a'r teimladau. Y mae yn y deall pan y byddo dyn yn gwadu yn bynciol wirionedd y tystiolaethau a gyflwynir ger ein bron yn sail i'n ffydd. Yn y wedd hon y mae yn cael ei alw genym yn gyffredin yn anffyddiaeth.

Ond y mae annghrediniaeth o fath arall,—annghrediniaeth y galon, annghrediniaeth y teimlad,—annghydweddiad rhwng agwedd y galon â'r gydnabyddiaeth a wneir gan y deall; pan na byddo y gwirioneddau a gydnabyddir gan y deall yn cael eu sylweddoli gan y meddwl yn eu mawredd, a'u pwys, a'u gogoniant, nes gadael ar y meddwl yr argraff briodol i'w natur.

Fe ddichon yr annghrediniaeth hwn yn y teimlad gydsefyll â ffydd gref yn y deall; hyny ydyw, fe ddichon y dyn fod yn gadarn iawn yn ngwirionedd hanesiol yr Efengyl—yn gydnabyddus â'r holl wrthddadleuon yn ei herbyn, ac yn gwbl alluog i'w hateb, ac yn dra eiddigus yn mhlaid awdurdod yr Efengyl ar ffydd ereill,—ac eto dan lywodraeth annghrediniaeth calon; gwirioneddau mawr yr Efengyl erioed heb eu sylweddoli ganddo yn eu perthynas âg ef ei hun yn bersonol. Yn wir, y mae gormod o le i ofni am awdwyr rhai o'r amddiffyniadau medrusaf sydd genym i wirionedd hanesiol yr Efengyl nad oeddent erioed wedi cael eu dwyn dan ddarostyngiad calon i'w hawdurdod. Pa fodd bynnag, am danom ni sydd yma yn bresennol, nid oes dim dadl nad dyma ein perygl, ac y mae yn amlwg nad ydyw proffes o'r Efengyl, ïe, bod wedi dioddef llawer drosti yn ddigon i'n diogelu rhag y perygl o'i fod yn aros ynom ac yn

llywodraethu arnom. Y mae y gocheliad yn y testyn yn cael ei roddi i rai felly. Y mae annghrediniaeth y galon yn gweithredu—

1. Trwy gymmylu rhwng y meddwl â gogoniant yr Efengyl, fel nad yw ei ddirnadaeth o hono ond anmherffaith. Y mae dyn yn dyfod i gyfarfyddiad â phob gwrthddrych trwy y cyfrwng priodol i'w natur. Y mae yn dal cymundeb â gwrthddrychau y byd elfenol trwy gyfrwng ei synwyrau corphorol. Hyd ag y gwelwn ni, nis gallai fod ganddo, yn ei amddifadrwydd o'r synwyrau hyn, unrhyw ddirnadaeth am danynt. Heb y llygad ni byddai ganddo un syniad am liwiau; heb y glust byddai yn ddieithr hollol i seiniau; heb archwaeth byddai yn gwbl anwybodus am flas, &c. Rhaid iddo, tuag at gydnabyddiaeth â'r byd elfenol, yn ei wahanol ddosbarthiadau, wrth y synwyrau a ordeiniwyd iddo yn ei sefyllfa bresennol yn gyfrwng cymundeb âg ef; a rhaid iddo ddefnyddio y synwyr priodol i'r gwrthddrych, onide, bydd yn ddieithr iddo byth.

Drachefn, am y gwrthddrychau a berthyn i'r deall, y mae yn anmhosibl cael un ddirnadaeth am danynt ond trwy y deall. Nid rhagoriaeth synwyrau corphorol, nid llygad craffach, nid clust deneuach, nid esgeiriau cryfach; nid dim felly sydd yn galluogi un i ddadrys cwestiynau dyrys,—i egluro dirgeledigaethau dyfnion natur;—ond deall cryf wedi hir ymarfer. Felly am holl gorph gwybodaeth dyn,—yn y gwyddorion, a'r celfyddydau, hanes y byd, seryddiaeth, daearyddiaeth, a holl gylch athroniaeth,—y mae y cwbl i'w canfod trwy y deall. Yr un modd hefyd am ystyr allanol y Bibl,—y profion sydd genym o'i ddwyfoldeb,—ystyr feirniadol y testyn,—cynnwysiad yr amrywiol lyfrau,—yr arferion a'r defodau y cyfeirir atynt,—y gwledydd a'r dinasoedd,—y mynyddoedd a'r dyffrynoedd a'r afonydd a'r llynau

a'r moroedd—sydd yma y naill ffordd neu y llall yn cael eu dwyn dan ein sylw. Y mae yn anmhosibl dyfod i gydnabyddiaeth á'r pethau hyn ond trwy ymarferiad y deall.

Felly, yn wir, am wirioneddau mawr yr Efengyl ei hunan,—am Dduw,—am ddyn,—am bechod,—am gosp,—am golledigaeth,—am Geidwad,—am Iawn,—am faddeuant,—am sancteiddiad,—am nefoedd,—a'r holl wirioneddau a berthyn i'n hiachawdwriaeth. Nid oes yn bosibl i neb gael un ddirnadaeth am y rhai hyn heb weithrediad dyfal y deall ar y datguddiad a roddwyd i ni gan y Duw mawr o honynt yn ei Air sanctaidd. Fel hyn y mae yr holl wrthddrychau a berthyn i'r deall i'w hadnabod trwy y deall. Yr un modd, ac at hyn yr oeddwn am eich arwain, y mae yr holl bethau a berthyn i'r *galon* i'w *dirnad trwy y galon.* Y mae yn anmhosibl byth i neb godi i'w golwg nes dyfod i edrych arnynt oddiarni; a byddai creadur heb galon dan angenrheidrwydd o fod byth yn ddieithr iddynt. Pa fodd y gallech chwi byth esbonio cariad neu gasineb, tristwch neu lawenydd, digllonedd neu ymhyfrydiad, ofn neu dangnefedd, i un heb y teimladau hyn? Byddai yr un mor hawdd i chwi roddi dirnadaeth am Elfenau Mesureg Euclid i'r anifail direswm. Megis ag y byddai y geiriau hallt a chroew, sur a pheraidd, merfaidd a chwiblaidd, melus a chwerw, yn gwbl ddiystyr i ddyn heb archwaeth ganddo; a'r geiriau coch, glas, melyn, gwyrdd, &c., yn hollol ddiystyr i ddyn heb lygaid ganddo; felly byddai y geiriau hyn i ddyn heb galon ganddo. Y mae yn rhaid i ddyn berchenogi y teimladau cyn y gall fod ganddo un ddirnadaeth am danynt.

Yn awr, pan y byddo unrhyw wrthddrych a wnelo â'r teimladau yn cael ei gyflwyno ger bron y meddwl, os na bydd y galon mewn ansawdd gymmwys i edrych arno,

y mae dan angenrheidrwydd o fethu cyrhaedd unrhyw ddirnadaeth am dano yn yr hyn sydd briodol i'w natur. Yn wir, nis gall dyn weled i mewn i unrhyw beth ond trwy y galon. Y mae y deall yn canfod y ffurf, ond y galon eill ganfod yr ysbryd. Y galon eill dreiddio trwy yr ymddangosiad allanol a chanfod y sylwedd tufewnol. Edrychwch ar y ddwy wraig yn sylwi ar y llun yna ar y pared. Y mae y ddwy yn edrych ar yr un ffurf, yn canfod yr un lliwiau, yn gweled yr un darlun. Y mae un yn fwy cydnabyddus o lawer na'r llall â'r gelfyddyd, —yn fwy cymmwys o lawer i farnu y llun fel gwaith celfyddyd; mewn gwirionedd, nid yw y llall yn gwybod dim am hyny; yr un pryd, y mae yn gweled llawer mwy yn y llun na'r llall. Y mae yn gweled yn y llygaid yna lygaid fu yn pelydru gwenau siriol filoedd o weithiau i'w llygaid hi; yn y gwefusau yna wefusau y diferodd drostynt filoedd o eiriau tyner i'w chlustiau hi. Y mae yn troi draw, a'r dagrau yn llanw ei llygaid,—darlun ei phriod ydyw, sydd yn y bedd oer bellach er's pum' mlynedd. Yr oedd hi yn edrych â'i chalon arno, ac felly yn gweled ynddo lawer mwy nag a welai y llall,—cariad ei phriod ati, ei ofal mawr am dani, ei holl enaid ef trwyddo yn dyfod i gyfarfyddiad â'i henaid hi. Fel hyn y mae gyda phob peth. Ni wel neb yr oll sydd mewn dim yn nghreadigaeth Duw, oni bydd yn edrych arni trwy y galon.

Ond am bethau mawr yr Efengyl, y maent yn arbenig yn bethau y galon. Yn ganlynol, y mae y Bibl bob amser yn cysylltu eu dirnad hwy âg agwedd y galon. "Gwyn eu byd y rhai pur o galon, canys hwy a welant Dduw"; "Deall â'u calon"; "Canys ni ddeallasant am y torthau hyny, am fod eu calonau hwy wedi caledu"; "Eu calon annealllus hwy a dywyllwyd"; "Hyd y dydd heddyw pan ddarllenir Moses y mae y

gorchudd ar eu calonau hwynt"; "Duw, yr hwn a orchymynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, yw yr hwn a lewyrchodd yn ein calonau ni, i roddi goleuni gwybodaeth gogoniant Duw yn ngwyneb Iesu Grist"; "Hyd oni wawrio y dydd ac oni chodo y seren ddydd yn eich calonau chwi." Ac y mae iaith y Bibl yn hyn yn berffaith gydweddol â'r athroniaeth fanylaf. Y mae yn anmhosibl adnabod pethau moesol ac ysbrydol ond trwy y galon. Nid oes posibl gweled Duw ond trwy y galon,—"Y rhai pur o galon a welant Dduw." Chwi ellwch â'r deall ganfod mawredd, gallu, gwybodaeth, doethineb, a holl briodoliaethau naturiol Duw; ond os mynwch chwi weled daioni, sancteiddrwydd, a chyfiawnder Duw, rhaid i chwi edrych trwy y galon arno; nid oes yn bosibl cael unrhyw ddirnadaeth am y perffeithrwydd moesol ysbrydol a berthyn i'r Duwdod mawr ond trwy gymundeb calon âg ef.

Yr un modd am bechod. Nid oes dim modd cael unrhyw ddirnadaeth am dano ond trwy y galon. Gellwch trwy y deall weled ei ganlyniadau; gellwch ddyfod i gyfarfyddiad á galar a gruddfan a gwae; y carchar yn cael ei gloi, y pryf ni bydd marw yn cnoi, y tân ni ddiffydd yn llosgi;—ond nid ydych yn gweled hanfod pechod yn yr holl ddrygau hyn; y mae y drwg mwyaf yn ddyfnach; rhaid edrych arno trwy y galon; gwrthwynebiad hono i awdurdod—gwrthdarawiad hono yn erbyn sancteiddrwydd—y Llywodraethwr mawr. Yn awr, fel hyn y mae gyda holl wirioneddau yr Efengyl; y mae rhyw wedd arnynt nad oes yn bosibl trwy y deall noeth cael dirnadaeth am dano. Y mae y deall yn abl i ganfod ei rwymedigaeth i farw, ond y galon fedr weled ei fod yn haeddu marw. Gall y deall weled ei fod dan gondemniad, ond y galon eill ganfod uniondeb y ddedfryd. Gall y deall weled fod drws y nefoedd

wedi ei gau yn ei erbyn a drws uffern yn ymagor iddo, ond y galon eill ganfod ei fod yn annghymmwys i'r nefoedd, ac y byddai y nefoedd ei hunan yn ansawdd bresennol ei natur yn uffern iddo. Trefn yr iachawdwriaeth, drachefn, a osodir allan yn yr Efengyl ar gyfer dyn yn y cyflwr hwn; rhaid i'r galon ddyfod i gyfarfyddiad â hi er cyrhaedd unrhyw ddirnadaeth o'i gogoniant. Y mae Iesu Grist yn ymddangos i'r meddwl yn y cymundeb hwn, o ran ei ogoniant, yn gyfryw ag nas gall iaith ei ddarlunio: "Mawr ragorol ogoniant"; "Gogoniant megis yr unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd"; "Yn ddiammeu, yr wyf yn cyfrif pob peth yn golled o herwydd ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd."

Ond y mae annghrediniaeth y galon yn gweithredu fel niwl ysbrydol i guddio yr holl ogoniant hwn oddiwrth y meddwl. Y mae y gwrthddrychau yn dyfod yn achlysurol dan sylw y deall; y mae yn gweled rhywbeth; y mae ynddo ryw gydsyniad o'u bod, a'u mawredd, a'u gwerth, a'i angen yntau o honynt; ond y mae fel yn eu gweled trwy niwl,—golwg aneglur, golwg ddiddylanwad, sydd yn gadael y meddwl i ymddwyn tuag atynt fel pe na byddai un pwys ynddynt. Fel pe byddai gwrthddrychau yn cael eu hargraffu ar y *retina*, y daflen sydd yn ngwaelod y llygad, a'r dyn, er hyny, heb weled. Felly y mae gyda'r dyn marw cyn i'r llygad lygru; y mae y gwrthddrych oddi allan yn gadael ei argraff fel o'r blaen, ond y mae angeu wedi tori y cysylltiad rhwng y gieuyn gweled â'r meddwl fel nad oes yna un cyffro, un sirioldeb, dim gwahaniaeth yn y wedd wrth dderbyn ar y llygad ddelw y plentyn neu y priod, rhagor y gelyn. Felly y mae gyda miloedd yn ysbrydol dan ddylanwad annghrediniaeth calon. Y mae y gwrthddrychau rhyfeddaf erioed yn cael eu har-

graffu ar y deall,—Duw, deddf, pechod, cosp, Ceidwad, tragywyddoldeb, nefoedd; ond nid oes unrhyw effaith yn canlyn. Duw, yn ei fawredd a'i allu a'i gyfiawnder, ond nid yw yn ofni ger ei fron; deddf, yn ei hawdurdod a'i sancteiddrwydd a'i melldith, ond nid oes un arswyd; pechod, yn ei ddrwg a'i ganlyniadau, ond eto yn ei fwyta fel bara, yn yfed anwiredd fel dwfr; colledigaeth, yn ei hechryslonrwydd a'i sicrwydd, ond heb ddim gwaedd, "Beth a wnaf fel y byddwyf cadwedig?" Iesu Grist yn Geidwad, yn unig Geidwad, ond ymaith âg ef, ni fynwn ni hwn i deyrnasu arnom; uffern, yn lle ofnadwy, ac eto rhedeg y ffordd sydd yn arwain yno; nefoedd, yn annhraethol ddedwydd, ond eto yn cael ei gwario am bleserau gwâg y llawr.

2. Y mae annghrediniaeth y galon yn gweithredu trwy dynu y meddwl o dir cymdeithas â gwirioneddau yr Efengyl. Nid oes dim yr ydym yn fwy ymwybodol o hono na'r cysylltiad agos sydd rhwng y galon â'r myfyrdod. Pa beth bynnag fyddo â lle mawr iddo yn y galon,—pa un bynnag ai mewn ofn ai mewn gobaith,—y mae yn sicr o gael lle mynych yn y meddwl. Os bydd arswyd rhyw berygl ar y dyn, i'r graddau y bydd yn ei arswydo y bydd yn meddwl am dano: "Dy galon a fyfyria ofn." Y mae yn fwy felly gyda gwrthddrychau serch. Y mae y meddwl yn naturiol yn rhedeg at y rhai hyny. Felly y mae y fam am y plentyn. Y mae y bachgen wedi myned i'r America, neu i Australia; y mae miloedd o filldiroedd rhyngddi âg ef, ond y mae ei meddwl ganwaith yn y dydd yn ymweled âg ef—yn pryderu yn ei gylch—yn dymuno ei lwyddiant—yn awyddu ei weled drachefn; y mae ei chalon ato yn swyno yn ddiarwybod iddi ei hunan ei meddwl ar ei ol. Yr un modd y mae gyda pha wrthddrych bynnag fyddo yn uchel yn y galon. Nid oes dim a all attal cymundeb y

meddwl â hwnw. Nid yw pellder lle na meithder amser yn effeithio dim er rhwystro y gymdeithas. Y mae y galon yn gallu tori cloion angeu, a dattod pyrth y bedd, a gollwng y meddwl ar ol ei gwrthddrych i ganol y byd anweledig. Yn awr, pan y byddo y galon wedi ei meddiannu gan bethau crefydd y maent yn gadael yr un dylanwad ar y myfyrdod. "Mor werthfawr yw dy feddyliau genyf, O Dduw; mor fawr yw eu swm hwynt! Pe cyfrifwn hwynt, amlach ydynt na'r tywod: pan ddeffröwyf, gyda thi yr ydwyf yn wastad." Y mae gwerth y meddyliau yn gwneyd eu swm yn fawr, a'u nifer yn aml. "Yr ydwyf yn wastad gyda thi: ymaflaist yn fy llaw ddehau; â'th gynghor y'm harweini; wedi hyny y'm cymmeri i ogoniant. Pwy sydd genyf i yn y nefoedd ond tydi? ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi." "Ti a gedwi mewn tangnefedd heddychol yr hwn sydd a'i feddylfryd arnat ti, am ei fod yn ymddiried ynot,"—y mae ei feddylfryd arnat yn codi yn naturiol o'i ymddiried ynot. Os bydd yr ewyllys *(delight)* yn nghyfraith yr Arglwydd, bydd yn myfyrio ynddi ddydd a nos. "Bu mor llawen genyf ffordd dy dystiolaethau â'r holl olud." Yr oedd gwerth mawr arni genyf, yr oeddwn yn cael pleser ynddi,—beth a wnei di wedi hyny, Dafydd? "Yn dy orchymynion y myfyriaf, ac ar dy lwybrau yr edrychaf, yn dy ddeddfau yr ymddigrifaf; nid annghofiaf dy air." "Ymddigrifaf yn dy orchymynion, y rhai a hoffais." "Mor gu genyf dy gyfraith di! hi yw fy myfyrdod beunydd." Dyma effaith naturiol teimlad priodol tuag at wirioneddau yr Efengyl. Pan y byddont yn cael derbyniad gan y galon y mae y myfyrdod yn aros ynddynt. I'r gwrthwyneb, y mae gwrthodiad y *galon* o honynt yn ei ddatguddio ei hunan trwy ddiffyg sylw arnynt a bod yn ddifeddwl am danynt. Ac i'r graddau y byddo y dyn

heb feddwl am bethau crefydd, mae yn arwyddo fod annghrediniaeth, os nad yn egwyddor y galon, yn dra chryf ynddi, ac yn galw am iddo fod yn wyliadwrus rhag bod dan ei lywodraeth yn hollol.

3. Y mae annghrediniaeth y galon yn ei ddatguddio ei hunan trwy ddiffyg cymhwysiad o gynnwys yr Efengyl at y dyn yn bersonol. Y mae perthynas uniongyrchol rhwng yr holl Efengyl â phob dyn ar ei ben ei hun. Y mae achos gan bob dyn iddo ei hunan rhyngddo â Duw. Y mae yr achos hwnw gan bob dyn arno ei hunan yn ddrwg; ac y mae yr Efengyl yn cynnwys cenadwri bennodol, â neges neillduol ynddi, at bob dyn yn bersonol, ar yr achos hwn. Nid oes ynddi ddim all cymmaint ag un hepgor; ac y mae croesaw—cymhelliad taer—ar bob un i gymmeryd meddiant o'i holl fendithion. Yn awr y galon sydd yn perchenogi; y galon sydd yn gwneyd unrhyw beth yn eiddo i chwi. Fe eill y deall nodi y peth allan, eich cyfeirio ato; dyna fo; y mae yn fawr—y mae yn hardd—y mae yn werthfawr—y mae yn fuddiol; geill ei ddarlunio—o ba le y daeth—pa fodd ei cafwyd—i ba beth y mae yn wasanaethgar; ond y galon sydd yn dywedyd—"Myfi a'i piau—rhaid i mi ei gael—nis gallaf wneyd hebddo—ni chaiff neb fy rhwystro i'w feddiannu"; y galon sydd yn gwneyd y gwrthddrych yn eiddo i'r dyn. Yn awr y mae gwir ffydd—ffydd y galon—yn gwneyd pob peth yr Efengyl yn eiddo i'w pherchen. Y mae yn cymhwyso y cwbl ato ef ei hunan yn bersonol. Y mae y darluniad sydd yma o'r colledig nid yn unig yn cael ei gydnabod yn wir, ond y mae ffydd y galon yn dangos i'r dyn y cynddelw o hono yn ei berson ei hunan; nid rhyw un tu hwnt i'r môr—nid ei gymmydog, nid ei frawd; ond efe ei hunan. Y mae y cyhoeddiad sydd yma o Waredwr, nid yn unig yn cael ei addef ganddo yn eglur, yn werthfawr, yn teilyngu

sylw; ond yn cael ymaflyd ynddo; y mae yn cymmeryd gafael yn y bywyd tragywyddol; yn ymaflyd yn nerth Duw i wneyd heddwch âg ef; yn gwaeddi, Caffer fi ynddo, cuddier fi yn ei gysgod. Y mae yn gwneyd gwahaniaeth mor fawr—a phe caffech fyned i *Doctors' Commons* yna i ddarllen, neu i glywed darllen ewyllysiau, chwi welech fod rhai â miloedd lawer ynddynt i ryw rai; ond dyna un, nid rhyw lawer sydd ynddi, ond y mae eich enw chwi ynddi; y mae mwy o bwys yn hwnw yn ngolwg y meddwl nag sydd yn y lleill oll. Yn awr, dyma y mae ffydd y galon yn wneyd: y mae yn rhywbeth sydd yn cymhwyso yr holl Efengyl at y dyn yn bersonol. Y mae y Gair trwy ffydd yn cael ei dderbyn i'r meddwl, ei ddefnyddio gan y meddwl, yn ymwäu âg elfenau ei fod, yn dyfod yn rhan o hono. I'r gwrthwyneb y mae annghrediniaeth y galon yn troi y cwbl draw: "Ni fynwn ni hwn i deyrnasu arnom *ni*." "Perwch i Sanct yr Israel beidio â *ni*."

II. Y canlyniad ofnadwy i feithriniad yr annghrediniaeth hwn yn y galon,—"ymadaw oddiwrth y Duw byw." Y perygl mawr yr oedd yr Hebreaid hyn ynddo oedd gwrthgilio oddiwrth Gristionogaeth,—ymadael oddiwrth y ffydd. At hyny y cyfeirir trwy yr holl Epistol, a cheisio rhagflaenu hyny ydyw amcan yr holl athrawiaethu a'r holl rybuddio ynddo. Yn awr, yn y testyn y mae yr awdwr am eu cael i ochelyd elfenau y gwrthgiliad hwn, trwy ddwyn ger eu bron y gwirionedd ofnadwy mai ei ddiwedd fyddai ymadawiad â phob crefydd,—annuwiaeth hollol, yn terfynu mewn cwbl ysgariaeth oddiwrth y Duw byw. Y mae y gair a ddarllenir yma ymadaw, yn arwyddo yn llythyrenol, *sefyll ar wahan;* y mae yn cael ei ddarllen weithiau *gadael llonydd*, ac weithiau *cilio*, *gochel*.

1. Sefyll ar wahan oddiwrth y Duw byw,—ymddieithrio

iddo. Y mae y dyn yn dyfod at yr ordinhadau,—at y Gair. Y mae y Duw byw ynddynt hefyd, ond nid oes dim cymundeb rhwng y dyn â'r Duw byw ynddynt; nid yw yn tori trwodd i'w gymdeithas; rhyw ganlyn o hirbell; nid yw yn cael dim o'i gyfrinach; nid yw yn ymddangos yn awyddus am hyny. Y mae rhyw bared rhyngddo â'r Duw byw. Pan yn myned at y Bibl, nid yw yn myned ato i gyfarfod â Duw, i ddeall ei feddwl yn well, i gael allan yn fanylach ei rwymau iddo;—mae yn myned ato o gywreinrwydd,—myned ato o arferiad, —myned ato i gael defnydd ymddyddan er ei ddangos ei hunan,—y mae yn sefyll ar wahan oddiwrth y Duw byw.

2. *Gadael llonydd* i'r Duw byw. Bu amser pryd yr oedd yn myned weithiau ato,—yn ymddangos fel yn trafferthu ychydig arno, yn dywedyd ei gŵyn wrtho, yn ceisio rhywbeth ganddo; ond yn awr, y mae yn gadael llonydd iddo; nid yw byth yn myned at ei borth; nid yw un amser yn curo wrth ei ddôr; nid yw yn rhoddi ei hunan i'w ofal y nos, nac yn ceisio ei amddiffyn drosto y dydd. Ni byddai gan y Duw byw, o'i ran ef, ddim i'w wneyd,—gallai yn hawdd ei hebgor o'r greadigaeth. Y mae ei gymmydog yn bwrw ei faich arno, yn rhoddi ei holl ofal arno ef; yn gorchymyn ei enaid iddo megis i Greawdwr ffyddlon; yn rhoddi ato ryw lawer iawn i'w gadw erbyn y dydd hwnw; ond am dano ef, nid yw yn trafferthu dim arno,—y mae yn gadael llonydd i'r Duw byw.

3. Cilio oddiwrth, gochel, osgoi, y Duw byw. Y mae gan y Duw byw fanau lle y mae yn arfer rhodio ynddynt; y mae yn osgoi y rhai hyny rhag ei gyfarfod ef ynddynt:—ei Air, ei dŷ, ei ordinadau,—nid yw yn dyfod yn agos iddynt. Bu yno yn gyson, ond ni welir mo hono braidd un amser yn awr yn agos i'r fath le. A phan y byddo

y Duw byw yn cyfarfod âg ef, y mae yn ei osgoi. Fel y gwelir dyn weithiau yn gochel cyfarfyddiad âg un y bu unwaith yn teimlo yn gyfeillgar tuag ato, ond y cyfeillgarwch wedi oeri, a'r meddwl wedi ymddieithrio. Pan y gwel ef yn dyfod i'w gyfarfod ar yr heol, y mae yn myned y tu arall heibio, neu yn troi y gongl yn lle ei wynebu. Fel yna y mae dyn dan ddylanwad annghrediniaeth yn cilio oddiwrth Dduw byw. Pan y mae yr Arglwydd yn dyfod i'w gyfarfod trwy ei Air, y mae yn troi ymaith oddiwrtho; pan yn galw arno yn ngoruchwyliaethau ei Ragluniaeth i ystyried, mae yn troi clust fyddar i'w alwadau. Nid yw yn gwadu ei fôd; nid ydyw yn proffesu diystyru ei awdurdod; nid yw yn ammeu nac yn dadleu ei hawliau. Y mae yn barod i gydnabod llywodraeth deddfau y Goruchaf,—ond y mae yn osgoi dyfod i gyfarfyddiad â Duw byw,—â bôd personol y gall gymdeithasu âg ef. Mae dynion dan ddylanwad annghrediniaeth calon yn hir ar feddwl cilio oddiwrth Dduw; ac o'r diwedd y maent yn myned i'r fath galedwch ag i ddywedyd wrtho, "Cilia oddiwrthym; canys nid ydym yn chwennych gwybod dy ffyrdd." "Edrychwch, frodyr, na byddo un amser yn neb o honoch galon ddrwg annghrediniaeth, gan ymadaw oddiwrth Dduw byw."

---

# PREGETH XXVI.

## Gwahoddiad i'r Pechaduriaid Mwyaf i dderbyn Maddeuant yn Nhrefn Duw.

Esaiah i. 18.

"*Deuwch yr awr hon, ac ymresymmwn, medd yr Arglwydd; pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cyn wynned a'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlan.*"

Dau eithaf cwbl groes i'w gilydd y mae dynion yn dra thueddol i redeg i'r naill neu y llall o honynt, gyda golwg ar eu hachos tragywyddol, ydyw diofalwch, anystyriaeth, a rhyfyg, ar y naill law, ac anobaith ar y llaw arall. Yn y naill eithaf, yn ngwyneb y cyhoeddiad mwyaf difrifol o eiriau y felldith yn erbyn yr anedifeiriol, y mae y dyn yn ymfendithio yn ei galon ei hunan gan ddywedyd, "Heddwch fydd i mi, er i mi rodio yn nghyndynrwydd fy nghalon, ac ychwanegu meddwdod at syched." Yn yr eithaf arall, yn ngwyneb y cyhoeddiad graslonaf o drugaredd, y mae yn gwaeddi—"Mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu." Y mae y ddau eithaf hyn yr un mor ddinystriol, ac nid yw o nemawr wahaniaeth gan y diafol i ba un o'r ddau y llwydda i dynu meddwl y dyn; y mae mor sicr o'i fywyd trwy ei dynu i, a'i suddo yn nghors anobaith ag ydyw trwy ei daflu dros graig rhyfyg. Pan y mae y pechadur yn pellhau y dydd drwg, y mae yn nesâu eisteddle trais; a phan yn gwaeddi, "Nid oes obaith," y mae yn gwaeddi hefyd—"Cerais ddieithriaid, ac ar eu hol hwynt yr âf fi" (Jer. ii. 25). "Ar ol ein dychymygion ein hunain yr awn, a gwnawn bob un ddrwg amcan ei galon ei hun" (Jer. xviii 12). Y mae y Bibl, fel y gallesid dysgwyl, yn

cyflwyno ger ein bron y manteision goreu er gochel y ddau eithaf hyn. Y mae yn datguddio y graslonrwydd mwyaf yn y Duwdod, ar y naill law, i faddeu ac i arbed, er ein cadw rhag digaloni ac anobeithio; ac ar y llaw arall, yn cysylltu cyfranogiad o'r maddeuant hwn bob amser âg edifeirwch a dychweliad, i'n cadw rhag dideimladrwydd, anystyriaeth, a rhyfyg. A dyna, dybygaf, ystyr y geiriau yn y testyn. "Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn, medd yr Arglwydd," &c.

Y mae y geiriau yr "awr hon," yn nechreu yr adnod, yn cyfeirio nid at amser ond at drefn. Yr oedd y genedl y pryd hwn wedi suddo i'r pechodau gwaethaf, a barnau ofnadwy wedi eu hanfon gan yr Arglwydd arnynt o'u plegyd. Yn eu cyfyngder gan y barnau hyn, yr oeddent wedi troi i ddyfalwch mawr gyda phethau allanol crefydd; yn estyn eu dwylaw at Dduw, yn gweddio llawer arno,—ond yr oedd y cwbl yn hollol annigonol i foddhau yr Arglwydd—"Beth ydyw lliosowgrwydd eich aberthau i mi? Pwy a geisiodd hyn ar eich llaw? Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer; arogl-darth sydd ffiaidd genyf; ni allaf oddef y newydd loerau na'r sabbothau, cyhoeddi cymanfa; anwiredd ydyw, sef yr uchel ŵyl gyfarfod. Eich lleuadau newydd, a'ch gwyliau gosodedig a gasâodd fy enaid: y maent yn faich arnaf; blinais yn eu dwyn. A phan estynoch eich dwylaw, mi a guddiaf fy llygaid rhagoch: hefyd pan weddioch lawer, ni wrandawaf: eich dwylaw sydd lawn o waed." 'Nid ydwyf fi am un cymundeb â chwi; ni fynaf fod dim a wnelwyf â chwi mewn agwedd fel yna; nid oes arnaf eisiau un gair oddiwrthych, tra byddoch yn glynu yn eich pechodau, ac â dwylaw gwaedlyd yn halogi fy ngwasanaeth. Y mae genych rywbeth arall i'w wneyd yn gyntaf, "Ymolchwch, ymlanhewch, bwriwch ymaith ddrygioni eich gweithredoedd oddi ger bron fy llygaid: peidiwch â

gwneuthur drwg. Dysgwch wneuthur daioni: ceisiwch farn, gwnewch uniondeb i'r gorthrymedig, gwnewch farn i'r amddifad, dadleuwch dros y weddw." Peidiwch a nesâu i'm haddoli â'm deddf dan eich traed; peidiwch a meddwl y gwnaf fi edrych yn siriol arnoch yn fy nghoroni âg addoliad, a'ch gweled chwi yr un pryd yn y galon yn parotoi i ryfela i'm herbyn. Ni chymmeraf fi rodd o'ch llaw tra y gwelaf y ddagr yn y llall. Diwygiwch eich ffyrdd, ymadewch â'ch pechodau—ymdrwsiwch â rhinweddau. "Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn, medd yr Arglwydd,"—yn y gofid yna oblegyd pechod, gan gilio oddiwrtho ac ymdrech yn ei erbyn; yn yr agwedd yna mi ymddyddanaf â chwi; mi faddeuaf i chwi; ynoch chwi eich hunain yr oedd holl achos eich aflwyddiant yn ceisio arbediad; deuwch chwi ataf fel hyn, a chwi gewch weled nad rhaid i chwi farw; ac os byddwch feirw, bydd yr holl fai arnoch eich hunain. "Pe byddai"—neu yn hytrach, "er fod eich pechodau fel ysgarlad,"—wedi eu hadliwio o'r lliw cryfaf, dyfnaf, anhawddaf ei symmud ymaith a'i lanhau, "ânt cyn wynned a'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlan."' Dyna, dybygaf, ydyw ystyr y geiriau, ac oddiwrthynt, o'u deall fel yna, gwelwn

I. Fod gwahoddiad yn yr Efengyl ar y pechaduriaid mwyaf i dderbyn maddeuant ac iachawdwriaeth. Y mae yn ymddangos oddiwrth y gwahanol ffurfiau a roddir ar y gwirionedd hwn yn yr Ysgrythyrau sanctaidd fel pe buasai amcan arbenig gan y Goruchaf i adael argraff o'i ystyr a'i bwys ar feddwl y byd. Weithiau y mae yr iaith fwyaf eang yn cael ei defnyddio. Y mae yr alwad yn cymmeryd gwedd hollol gyffredinol—"pob un y mae syched arno"—"holl gyrrau y ddaear"—"pawb sydd yn flinderog ac yn llwythog"—"pwy bynnag"—"yr hwn a ddêl." Weithiau y mae y taerineb

mwyaf yn swnio yn yr alwad—"Oh! deuwch!"—"deuwch, prynwch, a bwytewch"—"dychwelwch, dychwelwch, paham y byddwch feirw?"—"Yr ydym ni yn erfyn dros Grist"—"Cymhellwch hwynt i ddyfod i mewn."

Yma ni a allwn weled yr un peth yn nghymeriad y gwrthddrychau a annerchir. Edrychwch ar y rhai y llefarir wrthynt yn y testyn hwn, a thrwyddynt hwy ni a allwn weled graslonrwydd gwahoddiadau gras a'r prawf cryfaf nad rhaid i'r pechaduriaid mwyaf anobeithio am iachawdwriaeth. Y mae holl ddynolryw yn bechaduriaid—pawb a bechasant ac a aethant yn ol am ogoniant Duw. "Yr Arglwydd a edrychodd i lawr o'r nefoedd ar feibion dynion, i weled a oedd neb deallgar, yn ymgeisio â Duw. Ciliodd pawb; cyd-ymddifwynasant: nid oes a wnel ddaioni, nac oes un." "Nid oes neb yn deall; nid oes neb yn ceisio Duw. Gwyrasant oll, aethant i gyd yn anfuddiol; nid oes un yn gwneuthur daioni, nac oes un: bedd agored yw eu ceg; â'u tafodau y gwnaethant ddichell: gwenwyn aspiaid sydd dan eu gwefusau." Ond y mae yn amlwg nad yw pawb wedi cyrhaedd yr un graddau mewn drygioni. Y mae amgylchiadau gwahanol yn gosod ar bechodau ysgelerder gwahanol. Ond fel pe buasai y Goruchaf wedi bwriadu calonogi y pechaduriad gwaethaf i ddysgwyl trugaredd, y mae yn y testyn yn gwahodd rhai yr oedd bron bob elfen o ysgelerder y gallwch feddwl am dani yn cydgyfarfod yn eu pechodau.

1. Yr oeddent wedi pechu yn ngwyneb amlygiadau neillduol o ddaioni rhagluniaeth Duw. "Megais a meithrinais feibion, a hwy a wrthryfelasant i'm herbyn" (adnod 2). 'Y maent nid yn unig yn blant i mi, nid yn unig y mae y berthynas agosaf rhyngom â'n gilydd, ond yr ydwyf fi yn mhob ystyr wedi ymddwyn yn deilwng o'r berthynas hono. Rhoddais nawdd fy rhagluniaeth

drostynt, dangosais bob gofal am danynt. Bu'm iddynt fel y fammaeth dyner,—yn eu gwylio ar bob llaw rhag peryglon fyrdd,—"Myfi hefyd a ddysgais i Ephraim gerdded, gan ei gymmeryd erbyn ei freichiau";—y fi fu yn ei helpu i fwyta—bwriais ato fwyd; ac mi barheais yn fy ngofal am dano nes y daeth yn fawr ac yn uchel; ymddygais ato ef fel at blentyn, pryd yr oeddwn yn ymddwyn at ereill, mewn cymhariaeth iddo ef, fel estroniaid. Gwneuthum bethau mawrion erddo,—perthais y môr; diodwyd ef yn wyrthiol; cafodd fara o'r nefoedd; rhoddais wlad Canaan yn etifeddiaeth iddo, nad oedd ei chyffelyb ar holl wyneb y ddaear—gwlad yn llifeirio o laeth a mel,—gwlad afonydd a ffrydiau dyfroedd,—gwlad yr oedd fy llygaid i arni o ddechreu y flwyddyn hyd ddiwedd y flwyddyn,—"Megais a meithrinais feibion, a hwy"—y rhai hyn—hyd yn nod y rhai hyn—"a wrthryfelasant i'm herbyn."' Byddai yn beth trwm iawn i dad weled ei blant ei hunan yn oer tuag ato,—yn annghofus o hono—yn ddieithr iddo; ond anoddefol y meddwl am danynt yn gwrthryfela i'w erbyn. Nid bychan gan Dafydd fuasai clywed Simei yn ei felldithio ar ryw adeg arall yn ei fywyd, ond yr oedd yn diflannu bron yn ddim yn yr amgylchiadau yr oedd ynddynt ar y pryd,—"Wele, fy mab, yr hwn a ddaeth allan o'm hymysgaroedd yn ceisio fy einioes i, ac yn awr pa faint mwy y cais y Benjaminiad hwn? Gadewch iddo; melldithied." Yn awr, fel hyn y gwnaeth y meibion hyn; nid yn unig nid ydynt yn dyfod allan yn wresog ac yn benderfynol yn erbyn y gelynion, ond y maent yn ymrestru yn eu byddinoedd, yn ymladd dan eu banerau. Nid diymdrech yn unig yn mhlaid yr orsedd, ond yn cyngreirio â'r gelynion. Y maent yn ymddwyn islaw i anifeiliaid, yn fwy afresymol na'r ych, yn llai eu synwyr na'r asyn. "Gwrandewch, nefoedd,"—a glybuwyd erioed

am beth mor annynol? a ddarfu i chwi erioed dywynu ar y fath anniolchgarwch? "Clyw dithau, ddaear,"—oes yn mhlith y miliynau creaduriaid sydd ar dy wyneb un euog o'r fath ymddygiad?

Y mae pechu yn ngwyneb caredigrwydd a daioni yn ychwanegu yn ddirfawr at ysgelerder y camwedd. Y mae troseddu deddf cyfiawnder noeth yn arddangos cymeriad diegwyddor; ond y mae maeddu caredigrwydd, diystyru daioni, yn gosod ffurf ar y drwg nas gall pechod y diafol ei gymmeryd, y mae yn anniolchgar a drwg. Ond beth a wneir i'r fath rai? Eu damnio â dymchweliad, a hyny heb un arbediad;—nage; nid yn unig y mae oediad ar eu cosp, ond dyma y rhai a elwir i dderbyn maddeuant.

2. Yr oeddent wedi pechu yn ngwyneb y manteision helaethaf i wybod eu dyledswydd. Y mae mantais yn un o elfenau mawrion cyfrifoldeb dyn. Byddai amddifadrwydd o bob mantais i wybod yn rhyddhau y dyn yn hollol oddiwrth bob rhwymedigaeth. Ac yn ol graddau y manteision a fyddo yn nghyraedd y dyn, os bydd pethau ereill yn gyfatebol, y bydd ei gyfrifoldeb. Dyna gyfarwyddyd rheswm; dyna deimlad ac arferiad cyffredin y byd; a dyna dystiolaeth uniongyrchol yr Ysgrythyrau. "Pe deillion fyddech, ni byddai arnoch bechod." "Y gwas yr hwn a wybu ewyllys ei Arglwydd ac nis gwnaeth, a gurir â llawer ffonod." Po mwyaf y manteision, felly mwyaf y pechod, trymaf yr euogrwydd, a mwyaf anesgusodol y pechadur. Yn awr, edrychwch ar y cymeriadau a gyferchir yma,—"Gweledigaeth Esaiah mab Amos, yr hon a welodd efe am Judah a Jerusalem" (adnod 1). "Israel nid edwyn" (adnod 3). "Merch Sion" (adnod 8), pobl y cynteddau. Ganddynt hwy yr oedd y manteision crefyddol uchaf yn y byd. Nid oedd y Duw mawr wedi gadael ei hun yn ddidyst

i'r byd yn gyffredin. "Yr oedd ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed i'w gweled yn amlwg,"—digon i wneyd pawb yn ddiesgus. Ond, "Hynod yw Duw yn Judah; mawr yw ei enw ef yn Israel. Ei babell hefyd sydd yn Salem, a'i drigfa yn Sion" (Psalm lxxvi. 1, 2; Psalm xlviii. 2; Psalm l. 2). "Pa genedl mor fawr, yr hon y mae Duw iddi i nesâu ati, fel yr Arglwydd ein Duw ni, yn mhob dim ar y galwom arno?" (Deut. iv. 7, 8; Rhuf. iii. 1, 2; Rhuf. ix. 4). "Mi a ysgrifenais iddo bethau mawrion fy nghyfraith." "Y mae efe yn mynegi ei eiriau i Jacob, ei ddeddfau a'i farnedigaethau i Israel. Ni wnaeth efe felly âg un genedl; ac nid adnabuant ei farnedigaethau ef." Dyma y fath oedd manteision y bobl hyn. Fe anfonodd yr Arglwydd atynt ei holl weision y prophwydi, gan fore godi ac anfon; ond ni ogwyddasant eu clust, ac ni wrandawsant,—"Ond gwatwar cenhadau Duw, tremygu ei eiriau ef, a gwawdio ei brophwydi." "Wedi ysgrifenu iddynt bethau mawrion y gyfraith, fel dieithr-beth y cyfrifwyd,"—pechu â'u llygaid yn agored,—yn gwybod hawl Duw, ac eto yn ei gwadu,—y llusern yn eu llaw, ond yn defnyddio ei goleuni yn fantais i bechu mwy. Gwinllan mewn bryn tra ffrwythlawn,—pob trafferth wedi ei gymmeryd gyda hi,—pob triniaeth angenrheidiol a chyfaddas tuag at ddwyn grawnwin, hithau yn dwyn grawn gwylltion; pobl lwythog o anwiredd—had y rhai drygionus,—meibion yn llygru; ac eto, y mae rhai fel hyn yn cael eu galw yn uniongyrchol yn yr Efengyl,—"Deuwch ac ymresymwn, medd yr Arglwydd."

3. Yr oeddent yn pechu pan dan gyfammod a'r Arglwydd i ufuddhau iddo. Y mae cydnabyddiaeth dyn o'i rwymedigaeth, yn cyfansoddi cymhelliad ychwanegol arno i ufuddhau. Os bydd y dyn wedi ei ddwyn ei

hunan, neu gael ei ddwyn gan ereill, i gylch cyfammod, dan ymrwymiad i unrhyw beth, y mae holl rym ffyddlondeb dyn iddo ei hunan yn dyfod yn mlaen yn blaid iddo i gyflawni y rhwymedigaeth y byddo tani. Yn ganlynol, y mae pechu yn ngwyneb y fath ymrwymiad, o angenrheidrwydd, yn gosod ar y pechod ysgelerder nas gallasai fod arno heb hyny. Yn awr, dyma y fath oedd y rhai hyn,—"Fy mhobl" (adnod 3); "Gwrthodasant yr Arglwydd, ciliasant yn ol" (adnod 4). Yr oedd yr holl genedl, mewn modd difrifol, wedi ei dodi ei hunan dan gyfammod Duw—yr oedd arwydd y cyfammod hwnw yn eu cnawd; yr oedd yr holl ragorfreintiau a feddiennent yn deilliaw iddynt o'u perthynas â'r cyfammod hwnw—plant y cyfammod,—eu heiddo arbenig hwy oedd y cyfammodau, a'r gwasanaeth, a'r addewidion. Yn ganlynol, yr oedd eu pechodau hwy yn enciliad oddiwrth Dduw yn fradwriaeth iddo; nid yn unig y plentyn yn gwrthryfela yn erbyn ei dad; ond fel y milwr wedi tyngu llw o ffyddlondeb, yn troi drachefn yn erbyn ei frenhin. Pe gwnelai un o filwyr Prydain hyny, fe'i saethid yn y fan; ond y mae y Goruchaf yn gwahodd rhai felly i dderbyn maddeuant.

4. Yr oeddent wedi amlhau anwiredd i'r fath raddau, ac mor ymroddedig i ddrwg, fel nad oedd ynddynt ddim y gellid ei gymmeradwyo a'i roddi i wrth-bwyso eu camweddau. Trwy drugaredd, er gwaethed ydyw y byd, ychydig sydd o'r cyfryw i'w cael. Nid oes odid un na chewch chwi ryw ochr dda arno; rhywbeth y mae y meddwl yn gallu gorphwys arno gydag ychydig foddlonrwydd, gan ddymuno na buasai yr oll o'r cymeriad fel y linell hono. Y mae y dyn yn feddwyn, ydyw ond y mae y caredicaf yn fyw; y mae yn ddrwg nodedig ei dymher, ydyw ond y mae yn hollol onest. Y mae rhywbeth da yn y dyn—rhywbeth ag sydd yn enyn

tosturi nodedig ynom ato yn yr holl ddrwg y mae ynddo. Y mae y fath rai bob amser yn cael eu hystyried yn llai drygionus na'r rhai fyddont wedi cyrhaedd y gradd hwnw mewn annuwioldeb ag na byddo y fath eithriad i'w gael yn eu cymeriad. Ond am y rhai hyn y maent heb ddim eithriad o'r fath—dim y gellid ei gymmeradwyo—dim ynddynt ellid ddadleu yn eu plaid er tyneru teimlad tuag atynt—"cenhedlaeth bechadurus," nid *wedi pechu ryw bryd*, ond *yn pechu (sinning)*—pobl lwythog o anwiredd; pobl trymaidd gan anwiredd—beichus—y mae yn rhyfeddd pa fodd y maent yn dal—pa fodd y mae y meddwl heb ymddryllio dan y fath bwysau; had y rhai drygionus—hiliogaeth hen bechaduriaid—"meibion yn llygru"—gwneyd yn waeth na'u tadau—"y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg: o wadn y troed hyd y pen, nid oes dim cyfan ynddo; ond archollion a chleisiau, a gweliau crawnllyd." Y mae yr holl gyfansoddiad yn ddolurus trwyddo; nid oes yna ddim heb fod yn afiachus, ac nid oes unrhyw ymdrech yn cael ei wneyd at eu gwella, "Ni wasgwyd hwynt, ac ni rwymwyd, ac ni thynerwyd âg olew." Y mae llygredigaeth wedi gordoi yr holl natur fel nad oes ynddi ddim heb ei anurddo ganddo. Y mae holl alluoedd yr enaid dan ei lywodraeth, a holl aelodau y corph at ei wasanaeth. Nid oes un gyneddf anesmwyth tan ei iau,—yr un aelod anufudd i'w lywodraeth,—nid oes dim tynerwch yn y galon,—dim ymostyngiad yn yr ewyllys,—dim purdeb yn y dychymyg—dim cywirdeb yn yr egwyddor,—y mae y deall yn wyrog, y galon yn galed, un cyfanswm o lygredigaeth, ac heb un gogwydd at ddiwygiad—drwg drwyddynt—drwg i gyd—drwg diobaith—holl fwriad meddylfryd y galon yn unig yn ddrygionus bob amser—dim pryder o'r plegyd na gofid o'r herwydd—dim yn addaw diwygio ryw bryd rhag-

